# CEINION LLENYDDIAETH GYMREIG.

DAN OLYGIAD

Y. PARCH. OWEN JONES.

CYF. II.



E Corbould W Wrankmore

ACHUB LAURA GAN [illegible] DE MORNEY.



BLACKIE A'I FAB,
LLUNDAIN, GLASGOW AC EDINBURGH.

# CEINION LLENYDDIAETH GYMREIG:

YN CYNNWYS DETHOLION O WEITHIAU PRIF FEIRDD
AC YSGRIFENWYR RHYDD-IEITHOL Y DYWYSOGAETH, O'R BEDWAREDD
GANRIF AR DDEG HYD YR OES HON;

YN NGHYDA
DARNAU DETHOLEDIG O GYFANSODDIADAU RHAI O'R AWDWYR SEIS'NIG, WEDI EU CYFIEITHU
YN FWRIADOL I'R GWAITH HWN.

DAN OLYGIAD Y
PARCH. OWEN JONES,
GOLYGYDD "CYMRU," ETC.

YN ADDURNEDIG A LLAWER O GERFLUNIAU TRA HARDDWYCH.

CYFLYFR II.




LLUNDAIN:
BLACKIE A'I FAB, PATERNOSTER BUILDINGS, E.C.;
GLASGOW AC EDINBURGH.
1876.

# CYNNWYSIAD Y CYFLYFR II.

# RHESTR O'R CERFLUNIAU.

## CYFLYFR II.



---

# LIST OF THE ENGRAVINGS.

## VOLUME II.



PARCH. THOMAS JONES,

("GLAN ALUN."

1811 to 1866.

BLACKIE & SON: LONDON, GLASGOW, AND EDINBURGH.



EBENEZER THOMAS.

'EBEN VARDD."

1802 to 1859.

BLACKIE & SON: LONDON, GLASGOW, AND EDINBURGH.

# CEINION

# LLENYDDIAETH GYMREIG.

## BARDDONIAETH GYMREIG.

"Un Awen a adwen i,
Da oedd, a phorth Duw iddi,—
Mae'n amgenach ei hachau
Hŷn ac uwch oedd nag âch Iau;
Nefol gler a'i harferynt,
Yn nef y ca'i gartref gynt;
A phoed fad i wael adyn,
O nef, ei hardd gartref gwyn;
Dod, Ion, im ran o honi,
Canaf ei chlod hoewglod hi;
Llwyddai yn well i eiddil
Borth tau, na thafodau fil."—Gro. Owain.

Ni bydd amcan y nodiadau hyn yn gymaint fel eglurhad ar elfenau hanfodol Barddoniaeth, ag i argymhell ei rhagoriaethau i sylw a meithriniad y genhedlaeth ieuangc, yn mysg llenorion lluosog ein gwlad. Y mae yspryd yr "Awen wir," yn un, mewn amryw ystyriaethau, yn mhlith pob cenedl ar y ddaear, ond yn amrywio o ran ei chymeriad neillduol, yn mhob hinsawdd a bro; ac felly yn neillduol yn ein gwlad ni: Y mae yr Awen Gymreig yn meddu ei nodweddau arbenig ei hun. Y mae i'r ddawn ei delweddau priodol, a'i dylanwad naturiaethol, ar wahan oddi wrth yr eiddo pob cenedl arall. Os efelychir, neu os cyfieithir barddoniaeth y Cymry i unrhyw dafodiaith arall, y mae yn ddiau yr argrapha ar feddwl a theimlad y darllenydd a'r gwrandawr estronol, i raddau mawr, yn ol yr amgylchiadau, ond nid gyda'r un effeithioldeb ag y gwna y gwreiddiol arnom ni; mwy nag y gwna unrhyw waith dieithrol arnom, mewn cymhariaeth a'r hyn a argrapha ar feddwl y priodor, dan ddylanwad barddoniaeth ei wlad gysefin ei hun. Y mae ansawdd naturiaethol gwlad, dull arbenig dygiad i fynu, a'r osgo naturiol a rydd y naill a'r llall ar feddyliau dynion, yn eu cymhwyso i dderbyn yr argraphiadau sydd briodol i'w dylanwad: fel y mae darpariad y dalenau, drwy weithrediad fferyllol, gan y portreadwr, i dderbyn y gwawl-argraph oddiwrth lewyrch yr haul.

Y mae i'r Farddoniaeth Gymreig, fel yr awgrymwyd, ei chymeriad arbenig ei hun. Y mae llawer cais wedi ei wneud o bryd i bryd, er egluro elfenau hanfodol yr Awen yn gyffredinol, a chymeriad y ddawn Gymreig yn neillduol. Y mae amryw o honynt wedi bod yn llwyddianus yn eu hamcan, i gryn raddau; ac wedi casglu yn nghyd syniadau amrywiaethol nifer o awdwyr ar y pwnc. Ond er cymaint sydd wedi traethu eu llen, nid ymddengys fod neb wedi dyhysbyddu y testyn, yn ei holl berthynasau; nac wedi gosod terfynau i'r ymofynydd, a dywedyd, "Hyd yma yr a'i, ac nid yn mhellach." Ni amcenir at hyny yn y nodiadau hyn ychwaith. Gorchwyl anhawdd ydyw ei olrhain yn deg yn ei holl gysylltiadau. Ni chynnygir yma ddim amgen na gosod ger bron, rai sylwadau sydd yn dynodi natur a chymeriad neillduol awen ein gwlad. Y mae gan ansawdd pob bro, o ran ei ffurfiad naturiaethol, ddylanwad ar gymeriad ei hawenydd. Y mae yr addysgiadau a gawsom yn barod ar hyn yn werthfawr iawn. Y mae prydyddiaeth y gwledydd breision, tawel, llonydd, yn dwyn llawer o ddelw y man lle ei meithrinir. Felly y mae gan y cymydogaethau mynyddig a chribog, gyda eu copäau gwynion, eu hafonydd gloewon, eu rhaiadrau gwylltion, eu llynau disglaer, a'u dyffrynoedd ffrwythlon, ddylanwad o'r un natur amrywiaethol ar feddyliau y brodorion, ac ar eu dull o ymadroddi. Y mae arwynebedd y fro yn sicr o adael rhyw argraph neillduol ar gymeriad y bobl. Ni ellir disgwyl y fath amrywiaeth yn anianawd athrylith trigolion gwastadedd Lloegr, ag a ddisgwylir yn Nghymru, neu yr Alban fryniog a phigdyrol; a phob gwlad arall, mewn cymhariaeth yr un modd. Y mae y naill a'r llall i'w hadnabod, yn ol ansawdd naturiaethol y wlad lle y genir, y megir, ac y meithrinir eu talentau.

Amcanwyd amryw weithiau yn ein gwlad ni,

i osod y mater ger bron mewn goleuni boddhaol; a buwyd i raddau yn llwyddianus yn yr ymdrech. Ar y cynnygiad cyntaf disgwylid canlyniadau pwysig; ond ni chafwyd hamdden i gwblhau y gwaith yn drwyadl hyd yn hyn. Dyma dystiolaeth un a ymgymerai a'r gorchwyl yn ddiweddar;—"Amcan yr ysgrifenydd yn y gwaith hwn, yw cynnyg sylwadau beirniadol ar athrylith a gweithiau barddonol rhai o brif-feirdd y Dywysogaeth. Y mae yn ymwybodol o'r anhawsderau sydd ar ei ffordd, ac nid yw wedi ymosod ar y gorchwyl heb dalu ystyriaeth briodol i'w bwysigrwydd.—Y mae yn meiddio rhoddi ei syniadau cydwybodol a diduedd ger bron y darllenydd." Dywed hefyd, "y gwyr," nad yw y rhai y pwysir eu gwaith, "yn honni eu bod yn meddu galluoedd goruwch naturiol, nac yn ewyllysio diangc, yn nghysgod eu huwchafiaeth dybiedig, rhag cael eu pwyso yn yr un clorianau, ag y mae rhai o honynt wedi arfer pwyso eraill." Crybwylla wedi hyny, y byddai sylwadau pellach yn y dyfodol. Yn y nodiadau a wnaeth, y mae wedi tracthu yn helaeth ar olygiadau a llafur eraill, fel Beirniaid, a Beirdd, yn eu rhagoriaethau a'u diffygion. Wedi gwneud cyfeiriad at ddarnodiadau eraill o Farddoniaeth, dŷd yr eiddo ei hun i ddilyn, fel clo ar y cyfan; ond nid ymddengys fod y pwnc wedi ei drafod yn orphenol eto. Y mae hyn yn peri i ni ofidio rywfodd, na chawsid gweled olrheiniad pellach ar y pwnc. Yn awr, y darnodiad ydyw hwn, "Barddoniaeth yw meddwl a theimlad wedi eu haddurno â darfelydd; ac fel canlyniad, rhyddiaith yw meddwl a theimlad, heb eu haddurno felly." Nid yw y darllenydd cyffredin yn gallu gweled y darnodiad yn ddigon trwyadl. Y mae yn awgrymu nad ellir gosod allan feddwl a theimlad yn addurnol mewn rhyddiaith, er nad ydyw yn dywedyd hyny mewn cynnifer o eiriau. Nid ydym yn deall pa ham nad ellid gwisgo meddwl yn addurnol mewn iaith rydd, er chwilio yr holl resymau a gynnygir fel profion. Pe buasai y darnodiad wedi ei eirio fel hyn, buasai yn haws i'w dderbyn,—"Y mae barddoniaeth yn cynwys meddwl a theimlad wedi ei addurno â darfelydd;" ac ni buasai un achos petruso yn ei gylch. O blegid hyn, tybiwn fod y pwnc yn aros eto yn yr un man ag y cafwyd ef cyn cyhoeddi y nodiadau crybwylledig. Gan nad beth a olygir am y gweithiau y bwriadwyd eu gwrthwynebu a'u dynoethi; ac yr addawyd eu harddangos yn eu hannheilyngdod, gyda thegwch, "hyd at holltiad y blewyn," ni allem yn ein byw, eu dilyn er ein boddhad. Er ceisio profi nad yw y gwaith y cyfeirir ato yn farddoniaeth, dywedir, "Y mae yr holl gyfansoddiadau yn ddarniol, (*fragmentary*) a gellir cymeryd ymaith haner rhai o honynt, heb i neb wybod eu colli. Nid oes ynddynt ddim o'r adeiladaeth farddonol (*poetic Architecture*) hono, sydd yn rhoddi bri ar weithiau y Prif-feirdd." Er gwneud ymdrech, methasom a deall amcan yr awdwr, ie, er iddo ail ddywedyd yr un peth, yn yr un geiriau yn Gymraeg, a Saesonaeg rhwng cromfachau. Ychydig iawn o addysgiadau gwir fuddiol a geir yn gyffredin mewn cywrain orfanylu. Gwelsom lawer gwaith, ar amgylchiadau cyffelyb eraill, ymosodiadau mor ddiarbed ar gyfansoddiadau, fel y disgwylid weithiau y chwelid y cyfan fel llwch llawr-dyrnu haf, heb adael dim yn ol; ond wedi i gyffro y moment fyned heibio, ac i'r ystorm liniaru, ac i deimladau siomedig feddianu eu hunain, y ceid enwau yr awdwyr a'u gwaith, yn bur agos yn yr un fan. Pell ydym oddiwrth amcanu i'r sylwadau hyn fod yn un math o sarhad ar y naill na'r llall, ond yn hytrach ddatgan nad yw athroniaeth y pwnc wedi ei gwbl egluro eto.

Ymdrechwn i ddodi ger bron, mewn cylch byr, rai o'r prif ddarnodiadau a geir gan wahanol awdwyr ar "Farddoniaeth." Y maent oll yn cyrchu at y nod, eto heb ei gwbl gyrhaedd. Y maent oll, efallai yn awgrymiadol, eto heb fod yn brofion terfynol. Wrth olrhain nodiadau y Saeson ac eraill ar y pwnc, yr ydym yn gorfod addef, nad oes ynddynt oll yn nghyd, nemawr ddim nad ydyw yn cael ei rag-dybio yn yr hen Drioedd Cymreig. Gallem gyfeirio at ychydig o'r naill a'r llall, fel egluriadau. Dywed un, "Wrth farddoniaeth y deallwn, draddodiad mewn geiriau mydryddol, wirioneddau dychymyg a theimlad:"—Un arall—"Y mae barddoniaeth mewn cerfwaith, adeiladaeth, a darluniadaeth." Eto:—"Iaith naturiol teimlad cyffroedig ydyw;" a gwaith y dychymyg wedi ei ddwyn i ffurf gan gelfyddyd:—"Hyawdledd gwirionedd:"—"Barddoniaeth ydyw Cerddoriaeth mewn geiriau; a Cherddoriaeth ydyw Barddoniaeth mewn sain:"—"Dawn uniongyrchol oddiwrth Dduw, fel y gwelir yn noniau y prophwydi:"—"Iaith ddynwaredol:"—"Iaith y nwydau:"—"Geiriau yn y drefn orcu ydyw rhyddiaith; ond y geiriau goreu yn y drefn oreu ydyw barddoniaeth:"—"Meddwl ar dân ydyw:"—"Gwirionedd wedi ei ysprydoli gan deimlad, ac wedi ei anadlu i ffurf o brydferthwch ydyw Prydyddiaeth," &c. &c. Gellid dyfynu yn y ffordd hon hyd amrywiaeth diderfyn. Diehon fod hyn yma yn ddigon at yr amcan presenol. Gwedi cyfeirio at y rhai uchod, gan mai â Barddoniaeth y Cymry y mae a wnelom yn benaf, teg yw gosod ger bron, "Drioedd Cerdd," yn ol doethineb ein hynafiaid, fel y galler cael mantais i weled, a oes llawer wedi cael ei ddwyn allan, drwy yr ymchwiliadau diweddar, nad ydynt yn gyn-

wysedig yn yr hen Gofnodau, mewn awgrymiad, neu ymadrodd eglur:—

"Tri pheth a wnant brydydd; awen, gwybodaeth, a chynhyrfiad.

Tair cynneddf awen; hardd feddwl, priodol feddwl, ac amrywedd feddwl.

Tri chyfeillion awen; nwyf, callineb, a digrifwch.

Tair effaith awen; haelioni, gwarineb, a charedigrwydd.

Tri anhebgor awen; deall, ystyriaeth, ac amynedd.

Tri pheth a gynnydd awen; ei hiawn arfer; ei mynych arfer; a llwyddiant o'i harfer.

Tri dyben barddoniaeth; cynnydd daioni, cynnydd deall, a chynnydd dyddanwch.

Tair dyledswydd bardd; iawn ganu, iawn ddysgu, ac iawn farnu.

Tri deunyddion cerdd dafod; iaith, crebwyll, a chelfyddyd.

Tri anhebgor iaith; purdeb, amledd, ac hyweddiant.

Tair ffordd yr amlheir iaith; amrafaelu geiriau cyfystyr, amryfodd glymeiriau, ac amrywddull ymadrodd.

Tair cynneddf purdeb ar iaith; prif ansodd, prif arfer, a phrif ddeunydd.

Tair caingc hyweddiant iaith; a ddeallir, a hoffir, ac a gredir.

Tair colofn synwyr; eglurder, llawnder, a chyflawnder.

Tair colofn eglurder; y gair a fo raid, y maint a fo raid, a'r dull fo raid.

Tair colofn llawnder; priodol feddwl, aml feddwl; ac amgen feddwl.

Tair cynneddf cyfiawn fyfyrdod; a ddichon fod, a ddylai fod, ac y sydd hardd ei fod.

Tair cynran celfyddyd; anian, lles, a phriodoldeb.

Tri chynod anian a hanfod; lle nis gellir gwell, lle ni ellir amgen, a'r lle nid rhaid amgen.

Tri chynod lles celfyddyd; ei hoffi gan y byd, ei rhinwedd yn gwellhau y byd, a'i pherffeithgamp yn cynal ei hun.

Tri nod priodoldeb celfyddyd; iawn achos, iawn ymdrech, ac iawn gyfuniad.

Tri amser celfyddyd; pan fo iawn, pan fo hardd, a phan fo raid.

Tri harddwch cerdd; mawl heb druth, nwyf heb anlladrwydd, a dychan heb serthedd.

Tri anhebgor cerdd; awenfryd, celfyddbwyll, a gwirionedd.

Tri thecad cerdd; hardd grebwyll, hardd berthynas, a hardd gywreingamp ar fydryddu.

Tair sail awen; rhodd Duw, ymgais dyn, a damwain bywyd.

Tri rhyw gerddor sydd; bardd, ofydd, a theuluawr.

Tri pheth a ffrwythlona'r awen; dyddanwch meddwl, coledd daionus feddwl, a phorthi y cof.

Tri pheth a ddephorthant gof; ymgais â gwraidd gwybodau, cyfiawnder gwybodau, a'r achos cofio gwybodau; parth y rhaid wrthynt.

Tri pheth a dderchaif awen; dysg, ymgais, a pharch.

Tri ardderchawgrwydd cerdd; godidog iaith, godidog ystyr, a godidog grebwyll.

Tri rhaid cerdd; godidog amcan, godidog synwyr, a godidog ddeunydd.

Tri harddwch synwyr; eglurdeb, cywirdeb, a newydd-deb.

Tri amrywiaeth cerdd; amrywiaeth myfyrdod, amrywiaeth iaith, ac amrywiaeth colofn cerdd.

Tri amrywiaeth ban; amrywiaeth cyhydedd, amrywiaeth cynghanedd, ac amrywiaeth accen.

Tri gwychder cerdd; hygaredd, hyawdledd, ac eofnder.

Tri melusder cerdd; hawsder deall, trynwyf iaith, a mwythusder myfyrdod.

Tri pheth blodeuog ar gerdd; ystyrbell iaith, goleuber synwyr, a chywrain gelfyddyd.

Tri pheth a wnant flas ar gerdd; sef rhwng amrafaeliant a chyfundeb, rhwng rhagoriaith a chyffrediniaith, a rhwng rhyfeddol a gwir.

Tri pheth a bair cerdd yn dda; ei llwyr fyfyrio, ei mynych chwilio, ac hollol ymegnio.

Tri phriodoldeb cerdd; ei maint, ei hamcan, a'i hachos.

Tri rhagoriaeth canu; iawn fydryddu, iawn ddyfalu, ac iawn ymddwyn.

Tri rhagoriaeth mydr; rhwyddineb, cywreindeb, ac acen bêr.

Yr oedd ganddynt ymadrodd cyffredinol i osod allan anhebgorion cynheddfau bardd, sef "llygaid i ganfod anian, calon i deimlo anian, a chalonrwydd a bair ddilyn anian." Y mae manylder eu gosodiadau am yr amrywiol fathau neu ddosparthau o farddoniaeth, yn gywrain iawn. Caiff yr ychydig gynlluniau a ganlyn, fod yn gymaint ag a ellir eu cyfleu yma:—

Tri pheth a wna ofergerdd; Methu, a llygru synwyr, a mwyhau pechod.

Tri pheth a ddyly fod ar foliant gwr; clod, gweddi, a chyngor.

Tri pheth a ddyly fod ar ofyngerdd; deisyf, dyfol, a diolch.

Tri pheth a ddyly fod ar farwnad; argyllaeth, cwynfan, a dyhuddiant.

Tri pheth a ddyly fod ar riangerdd; moliant, serchogrwydd, a chariad.

Y mae y nodiadau uchod yn ein harwain yn mhellach at y gofyniad, "Pa beth yw Awen?" Y mae wedi ei roddi allan lawer pryd cyn hyn, ac fel yr awgrymwyd yn barod, prin y gellir dywedyd ei fod wedi cael ei ateb yn foddhaol eto. Ond nid yw hyn oll yn ein cau allan rhag gwneud rhai sylwadau ymarferol ar y pwnc. Myn rhai ychwanegu, drwy awgrymu, mai "Barddoniaeth ydyw y dosparth hwnw o lenoriaeth, a berthyna i'r hyn sydd uwchlaw dirnadaeth synwyr cyffredin; ein syniadau am bethau dyrchafedig ac arddunol, yn annibynol ar y ffurfiau yn mha rai y byddont yn cael eu gwisgo."

Y mae a wnelo Rhyddiaith yn benaf, â gwirioneddau, a ffeithiau dysyml, cyffredin, a chyhoeddus; mewn adroddiad eglur am bethau fel y maent, y gallent, neu y dylent fod: ond, y mae Barddoniaeth, gyda hyny, yn ymgodi at yr arddwys, a'r aruchel mewn dychymygiad ffugyrol, cymhariaethol, damhegol, a diarhebol, wedi ei wisgo â mydr fynychaf. Nid yw y darnodiad

hwn yn ddysgrifiad trwyadl o'r naill na'r llall; ond y mae yn gynnygiad, neu gychwyniad at hyny.

Ceir fod rhai a'u galluoedd naturiol yn tueddu yn benaf at y defnyddiol a'r ymarferol; a phob amser yn amcanu at olrhain pethau fel y maent, gan dynu y casgliadau cywiraf a allont oddiwrthynt. Y mae meddyliau o'r tueddiad hwn yn ymddifyru yn gwbl oll mewn ffeithiau gwirioneddol. Cylch eu hymofyniad ydyw, y sylweddol, amserol, a bydol. Dyma ddosparth y llenoriaeth ryddieithol. Y maent yn wir fawreddig, defnyddiol, a chelfyddydol. Eto nid ymgyfyd eu syniadau yn uwch na'r gweledig yn gyffredin, ac o blegid hyny y dywedir nad all llawer o'r cyfryw ymddifyru o'r braidd mewn dim ond a fyddo o ryw elw sylweddol mewn bywioliaeth fydol. Dywedir nad oedd gan Newton nemawr o hyfrydwch yn ngwaith Shakespeare, am nad oedd yn profi dim i berffeithrwydd damcaniaeth. Y mae llawer gwladwr da yn barod i gollfarnu pobpeth, na byddo yn dwyn i mewn yr elw a gynnyrcha bwrdd y cyfnewid, mewn masnach a thrafnidiaeth. Yn gyferbyniol a'r cymeriad hwn yr edrychir ar feithrinwyr Barddoniaeth. Y mae y rhai sydd a wnelont a'r Awen yn ymhyfrydu yn yr aruchel, yr arddunol, y prydferth, a'r serchoglawn, ac ar yr un pryd yn gallu disgyn at yr arddwysaidd, y difrifol, a'r pwysfawr. Yr oedd yr hynafiaid yn hoff o ddarlunio y Bardd, fel preswylydd Parnassus, yr hwn ydoedd fynydd cysegredig i'r Awenydd, ac i Apollo; a phan yr elai i gofnodi ei syniadau, nid oedd dyfroedd yn ddigon urddasol iddo ef wlychu ei ysgrifell ynddo, ond yr Helicon. Ac yn mhlith y Cymry, yr Wyddfa oedd ei Barnassus ef, ac Afon Alaw yn unig, oedd yn wlybur digon puredig i'w ysgrif-bin. Nid oedd yr un athrofa is na phair Ceridwen a'i dychafasai yn anrhydeddus i'r urdd a fawrhai. Ond y gwirionedd ydyw, nid oedd ef yn frodor o unrhyw fynydd na gwlad. Yr oedd yn debycach i John Wesley yn ei olwg ar ei weinidogaeth, pan y dywedai mai "yr holl fyd oedd ei blwyf ef." Felly y gellid dywedyd, mai palas y bardd, ydyw yr holl fydysawd eang i gyd. Y mae yn ymdaith drwy yr holl greadigaeth; yn ymddifyru mewn bryniau a dyffrynoedd, afonydd, ffrydiau, llynau, creigiau a rhaiadrau:—

"Prif drefydd, mynydd, a mor;"

Y mae efe yn hwylio ei awyren yn y cymylau, yn marchog ei gerbyd ar adenydd y gwynt, ac yn mynu ei safle ar uwchaf yr haul, er cael ardremio ar ser a phlanedau; a myn alw ar y llu dirfawr wrth eu henwau bob un. Gwedi gwibio encyd drwy yr eangderau, disgyna mewn sylw manwl ar wybed ac ymlusgiaid, ar adar a phŷsg, ar fwystfilod yr anial, ac anifeiliaid y goedwig; ac yna gesyd hyawdledd yn ngenau pob un o honynt, gan eu cynysgaeddu âg arabedd a chân. Os dilynwn ef, efe a'n harwain at y galarus a'r llawen, i wylo neu chwerthin fel y dewiso efe. Y mae cynnydd y wawr, tegwch y lili, cadernid y dderwen, ac eangder y môr, cyfnewidion y tymhorau, a threfn y rhod, oll mor barod a'u gilydd at ei alwad. Pan y myno, geilw ar dynerwch gwlith yr haf, neu oerni a gwres, y cenllysg a'r eira, y gwlaw a'r corwynt, y mellt a'r taranau, ysgythredd yr ystorm, y rhew a'r barug, y rhyferthwy a'r ddaeargryn, at ei wasanaeth; a gorchymyna y cysgodion tywyll, a'r llennyrch goleu; a'r holl greaduriaid, mewn darluniadau byw i ymddangos ger ei fron. Y mae hyn yn dangos fod yr holl fyd yn orlawn o farddoniaeth ynddo ei hun, fel nad allwn droi ein golwg i unman, nad ydym yn canfod gwrthrychau a all athrylith eu troi yn destyn cân, neu yn emyn, yn anthem, yn arwrgerdd, yn chwaronawd, yn oroian, neu yn dristgerdd, ar bob pryd!

Pan y byddo caniadau wedi eu hysgrifenu yn naturiol, poblogaidd, ac eglur, fel y dylent fod; gall pob graddau eu defnyddio a'u mwynhau fel eu gilydd; y gwr gwledig fel y boneddwr, a'r dosparth gweithiol yn gystal a'r pendefigion; ar aelwyd y bwthyn, yn gystal a bord y palas. Ni ellir gwneud athrylith yn bendefigol: disgyna ar garfan y gwehydd, neu gorn yr aradr, yn llawn mor rhydded ag ar drestlau y neuadd, a glythau yr esmwythfainge. Y mae yn llawn gan hoffed o gorlan y bugail, a gorsedd yr ynad. Yr oeddid gynt yn goleuo y tanau â'r defnyddiau caletaf, sef y dur a'r gallestr; ac yr ydym wedi cael y cynnyrchion gwresocaf mewn gwir farddoniaeth, lawer gwaith o ddwylaw celyd y gweithiwr sydd yn cydio yn ei arf, ac yn cynal ei deulu wrth ei ddiwrnod gwaith.

Nid oes yr un myfyriwr craff nad yw wedi sylwi fod barddoniaeth yn cael ei gosod allan, o ran ei helfen a'i hyspryd, trwy amryw gyfryngau heblaw geiriau, mewn llinellau mesuredig. Dywed Macaulay, mai "Dynwarediad yw barddoniaeth," megis ag y mynegwyd er ys dros ddwy fil o flynyddoedd, ac ychwanega ei bod yn gelfyddyd ag sydd ar lawer ystyriaeth, yn debyg i ddarluniaeth, cerfwaith, neu arddangosiad gweithredol; neu ynte ymarfer corphorol. Y mae dynwarediad gan y lluniedydd, y cerfiwr, a'r ymarferwr. Y mae yn wir, o fewn terfynau penodol, fod eu gwaith hwy, yn fynych, yn berffeithiach na'r eiddo y bardd. Nid yw yr holl beirianwaith a arfera yr olaf, ond mewn geiriau yn unig. ac ni all geiriau, hyd yn nod pan y defnyddir hwy gan y fath grefftwyr medr-

us â Homer, neu Dante, arddangos i'r meddwl ddelweddau o wrthrychau gweledig, mor fywiog a chywir, a'r rhai a ddygwn yn ein syniadau gyda ni, wedi bod yn edrych ar waith y bwyntel, a'r cŷn. Ond ar y llaw arall, y mae cylch barddoniaeth yn anfeidrol eangach, na dim a berthyn i yr un o'r celfau dynwaredol eraill, na'r holl gelfau dynwaredol eraill yn nghyd. Ni all y cerfiwr ond efelychu ffurf; na'r darluniwr ddim ond ffurf a lliw; ac ni all yr ymarferwr ddynwared dim yn mhellach na ffurf, lliw, ac ysgogiad; hyd oni chynnysgaeddo y bardd ef â geiriau. Y mae a wnelo y bardd a'r byd allanol fel y lleill; ond nid oes dim a wnelo yr un o honynt hwy gymaint a'r galon. Y mae honno yn benaf o fewn ymerodraeth y bardd. Ni all y darluniwr, y cerfiwr, na'r ymarferwr, arddangos dim ychwaneg o'r teimlad a'r cymeriad dynol, na'r ychydig hyny a orlifa i'r agweddau a'r wyneb; ac ni bydd y rhai hynny yn fynych yn ddim amgen nag arwyddion anmherffaith, a thwyllodrus weithiau, o'r hyn a fyddo yn guddiedig o fewn y fynwes." Y mae gan y darluniwr a'r cerfiwr eu gwrthrychau ger bron, a'u gorchestwaith ydyw dangos ffyddlondeb wrth eilfyddu y gwreiddiol. Ond y mae yn rhaid i'r bardd ymgodi uwchlaw gwrthrychau gweledig, a dirnadaeth rheswm cyffredin, i greu gwrthrychau newyddion, drwy allu crebwyll a dychymyg; ac wedi hyny i'w trefnu, eu dosparthu, a'u gwerthfawrogi. Eto er hyn i gyd, nid yw yntau yn gwneud dim amgen na dilyn natur, lle y mae yn darganfod tebygoliaeth naturiol, ac yn eu gosod allan mewn ffugyrau cyfatebol, hyd i amrywiaeth diderfyn. Y mae y rhai hyn oll yn taro y teimlad yn naturiol iawn, fel y gwelir yn nghaniadau Solomon yn arbenig. Defnyddia ef wahanol rannau y corph dynol, gan arddangos eu tebygolrwydd cyfatebol i wrthrychau eraill, megis llygaid yn golomenaidd; gwallt fel diadell o eifr; dannedd fel diadell o ddefaid gwastad-gnaif; gwefusau fel edau ysgarlad; arleisiau fel darn o bomgranad; gwddf fel twr Dafydd, &c. Gwelir mai barddoniaeth sydd yn dynodi y cyfatebiad prydferth sydd rhwng y naill wrthrych a'r llall. Weithiau ymddyrchefir i'r nen, i chwilio am wrthrychau priodol i wisgo y syniadau arddunol hyn; ac felly y gelwir y ser yn "flodau y ffurfafen;" ac wedi hyny, disgynir i waered hyd y llawr, ac y gelwir y rhosynau yn "ser yr ardd." Yn yr un modd y gellir cyfeirio at wrthrychau a arddangosant deimladau o lawenydd neu alar, cariad neu gâs, yr hyn a ganfyddir yn ysgrifau yr hen feirdd Cymreig, mewn cyflawnder ac amrywiaeth medrus iawn. Y mae "Taith y Pererin" yn orlawn o ddarluniadau cyffelyb, megis pechod yn faich; teimladau isel yn Gawr Anobaith, yn nghyd a'r holl gymeriadau eraill a ddygir ger bron, mewn priodoldeb naturiol a tharawiadol iawn.

Ymddengys mai yn y cynoesoedd y disgleiriai yr Awen Gymreig brydferthaf. Nid o ran tlysni perseiniol yr ymadroddion a arferid, yn gymaint a'u nerth a'u hymadferth; a'r gallu neillduol oedd gan yr hen feirdd i grynhoi llawer o feddwl mewn llinellau byrion o ychydig o eiriau. Yn oeddynt yn dra dedwydd yn eu ffugyrau a'u cymhariaethau. Yr oeddynt yn fynych dan amgylchiadau, ag y byddai raid iddynt arfer damhegion i osod allan eu syniadau yn gyfriniol, mewn ffordd o awgrymiadau, er cuddio eu hamcanion oddiwrth eu herlidwyr creulawn. Yr oedd enwau yr adar a'r anifeiliaid weithiau, yn fanteisiol iddynt, er cyfeirio at y tywysogion a'r cadfridogion a wisgent ddullweddiadau neillduol. Pan y cyfeirid at Llewelyn, yr oedd "Y Llew" yn gyfleus. Wrth son am Bleddyn, yr oedd "Y Blaidd" yn lled ddiogel i'w arfer. Wrth gyfeirio at Arthur, defnyddid "Yr Arth;" a'r Gwalch am Gwalchmai; a'r un modd, am yr enwau cyhoeddus eraill, fel y byddai amgylchiadau yn galw. Yr oeddynt yn cario eu ffugyrau yn mhell, yn eu darluniadau damhegol, megis "Gwylan," am fenyw ieuangc brydweddol. Pan y cyfeirid at unrhyw swyddwr o fedrusrwydd lled ddichellgar, defnyddid y "Llwynog" yn gyffredin. Yr oeddynt yr arfer yr un drefn wrth gyfeirio at leoedd, megis "yr Eryr," a'r "Eryri," wrth ddynodi y Wyddfa, &c. Yr oeddynt yn wir fedrus ar Hud a Lledrith, yn eu holl gyfeiriadau amrywiaethol, er na fradychent egwyddor byth er gwenieithio i neb. Y mae cymeriad neillduol Barddoniaeth foreuol y Cymry, i'w ganfod mewn ychydig engreifftiau a ellid eu gosod ger bron, megis yr awgrymiadau o'r egwyddorion Derwyddol, a geir yn gyfriniol yn y penillion canlynol:—

Marchwiail bedw briglas
A dyn fy nhroed o wanas;
Nag addef rin i was.

Marchwiail derw mwynllwyn
A dyn fy nhroed o gadwyn—
Nag addef rin i forwyn.

Marchwiail derw deilar
A dyn fy nhroed o garchar—
Nag addef rin i lafar.

Y mae yr uchod yn ddigonol i ddangos fod y beirdd oedd yn proffesu eu hunain yn ddysgyblion i'r Derwyddon, yn casglu eu gwybodaeth mewn ffordd gelfyddgar. Y mae y ffugyr yn y ddwy linell gyntaf, a'r addysg yn yr olaf. Yr oeddynt fel dosparth, yn meddu dylanwad cryf ar athrylith a llenoriaeth y genedl; ac yn rhoddi ffurf a bywyd i'w defodau, yn ysprydoli eu

hymadferth mewn gallu milwrol; yn tanio eu mynwesau ar faes y gwaed, ac yn dyrchafu eu teimlad at anrhydedd a gogoniant cenedlaethol yn mhob oes. Yr oedd seiniau cerddoriaeth yn foreu yn eu plith; ac yr oedd llinellau a chylymau barddoniaeth, yn rhoddi effeithioldeb gwreichionog yn y delyn. Yr oedd eu penillion yn cynal gweithredoedd gorchestol eu Tywysogion ar gôf a chadw. Yr oedd eu moeswersi a'u hathrawiaethau crefyddol, yn cael eu cyflwyno i fydr eu hawenydd. Y mae Diodorus Siculus yn mysg y rhai blaenaf i dystio fod y beirdd yn cyfansoddi eu caneuon, yn gyfaddas i'w datganu gyda'r delyn, er moli eu gwroniaid, a gwarthruddo eu gelynion. Dywed Marcellianus fod datgan rhagoriaethau eu blaenoriaid yn rhan o'u swydd; a mynega Athenëus, eu bod yn arwain eu byddinoedd, fel maes-lywyddion i'r gâd, fel y gwnai y Tywysogion Celtaidd yn gyffredin; ac ychwanega, nad oeddynt byth yn ymostwng i wenieithio iddynt, ac na wastraffent mo'u doniau i arganmol neb, ond lle y byddai gwir deilyngdod yn cyfiawnhau hyny.

O dan ymosodiadau rhyfelgyrchol y Pictiaid, y Scotiaid, a'r Saeson, dinystriwyd llawer o ysgrifau ein beirdd a'n haneswyr boreuol. Y mae Nennius, yr hwn a ysgrifenai yn y nawfed ganrif, sef yn amser teyrnasiad y Tywysog Merfyn, yn cyfeirio at weithiau gorchestol ein beirdd. Dywed fod Talhaiarn yn enwog am ei awenydd, yn yr amser cynharol hwnw. Dwg dystiolaeth benodol fod Aneurin, Taliesin, a Llywarch Hen, Myrddin Wyllt, ac Afan Ferddig, yn hynod am eu cyfansoddiadau yn y chweched ganrif. Y mae hyny o'u gweithiau sydd ar gael, yn taflu goleuni gwerthfawr ar amgylchiadau pethau yn ein gwlad ar y tymor hwnw. Rhoddid i Aneurin yr enwad anrhydeddus o "Fychdeyrn Beirdd," a chyfeiria yn barchus iawn at ei Ododin. Rhoddid i Taliesin y dynodiad urddasol o "Ben Beirdd," gyda chyfeiriad at ei breswyliad yn llysoedd Maelgwn Gwynedd, ac Urien Rheged. Rhoddid anrhydedd uchel i Llywarch Hen, yr hwn oedd o waed brenhinol, ac a ddaliai y deyrnwialen dros barth o'r wlad; ac yr oedd ef wedi treulio ei ddyddiau boreuol yn llys Arthur. Dengys hyn eangder eu dylanwad.

Prif ragoroldeb barddoniaeth y Cymry yn y cyfnodau boreuol, ydoedd nerth, bywiogrwydd, nwyd, teimlad, a darluniadau cryno, effeithiol, a chyffrous. Dywed Ieuan Brydydd Hir, yn ei "Dissertatio De Bardis," nad oedd y beirdd diweddar yn meddu gwir ragoriaethau y rhai cyntefig. Dyma fel y mynega:—"E ddichon rhai o honoch ysgatfydd ofyn, Pa ham na buaswn yn cyfieithu rhai o'r beirdd godidog diweddar, a ysgrifenasant wedi diwygio yr hen gynghanedd? I'r rhain yr wyf yn ateb, fod y Beirdd yn amser y Tywysogion yn fwy ardderchog a mawreddig yn eu gwaith; ac yr oeddynt eu hunain, rai o naddynt, yn Dywysogion, ac yn Wyr dyledogion; yn enwedig Owain Cyfeiliog, Tywysog Powys; a Hywel ap Owain Gwynedd, Bardd a rhyfelwr godidog; ac felly yr oeddynt yn fwy penigamp na'r beirdd diweddar, fel y mae Sion Dafydd Rhys yn achwyn arnynt, yn gwenieithio i'r Gwyr Mawr, ac yn dywedyd celwydd ar eu cân; ac yn haeru iddynt dorri cestyll, lladd a llosgi, pryd yr oeddynt, eb efe, yn cysgu yn eu gwelyau, heb ddim o'r fath feddwl nac amcan ganddynt. Eithr yn amser y Tywysogion, i'r gwrthwyneb, yr oedd y beirdd yn dystion o ddewredd a mawrfrydigrwydd eu Tywysogion, ac yr oeddynt eu hunain yn filwyr glewion. Yr oedd Meilir Brydydd, yn gennad dros Gryffydd ab Cynan, at Frenhin Lloegr; ac yr oedd Gwalchmai ei fab, yn flaenor câd yn nghyffiniau Lloegr a Chymru, fel y maent eill dau yn tystiolaethu yn eu cerddi. Heblaw hyn, yr oedd y Tywysogion yma yn fuddygawl yn eu rhyfeloedd a'r Saeson, ac yr oedd hyny yn peri i'r beirdd ymorchestu, i dragwyddoli eu gweithredoedd ardderchog; ac i foli eu gwroldeb mewn achos mor glodfawr ag amddiffyn eu gwlad a'u rhyddid, yn erbyn estron genedl, a'u difuddiasai o dreftadaeth eu hynafiaid. Yr oedd y rhain yn ddiau yn destynau gwiw i feirdd ganu arnynt; ac yn fwy cymhwys i beri i'w deiliaid eu perchi a'u hanrhydeddu; canys yr oedd y cerddi godidog yma, yn cael eu datgan gyda'r delyn, mewn cyweiriau cyfaddas mewn gwleddoedd yn llys y Tywysog, ac yn neuadd y Pendefigion a'r Uchelwyr. Y mae Giraldus yn dywedyd, fod y Cymry mor ddewr a milwraidd, yn ei amser ef, ac na rusent ymladd yn noeth, a diarfogaeth, yn erbyn y rhai arfog, llurigog; a'r gwyr traed yn erbyn y marchogion. Yn ddiau, nid oedd un modd a ellid ei ddychymygu yn well i gynal yr yspryd dihafarch yma yn ein hynafiaid, na chael eu moli gan y beirdd. Ac fe wyddai y Saeson hyny yn dda ddigon; canys ar ol darostwng Cymru dan eu llywodraeth, fe ddarfu iddynt ddihenyddu y beirdd, drwy yr holl wlad. Yr oedd Llyfrau Ystatyd Lloegr, yn llawn o gyfreithiau creulon yn eu herbyn, ac yn gwarafun yn gaeth iddynt ymarfer a'r hen ddefodau, o Glera, a Chymhortha. Yn amser Owain Glyndwr y cawsant ychydig seibiant a chynhwysiad i ganu; ond gwedi hyny, hyd ddyfodiad Harri y Seithfed, yr oeddynt dan gwmmwl. Gwedi iddo ef ddyfod i lywodraethu, ac yn amser ei fab, Harri yr Wythfed, a'r frenhines Elizabeth, y rhai a hanoedd o waed y Cymry, y cawsant gynhwysiadau i gynnal Eisteddfodau; ond ni pharhaodd hyny ond ennyd

fechan, o herwydd Bonedd Cymru a ymroisant i fod yn Saeson, fel y maent yn parhau gan mwyaf hyd y dydd hwn."

Wedi y cyfnod boreuol, ac i ruthrgyrchoedd y wlad, atal cynnydd meithriniad yr awen am dymor hir, rhaid fod sefyllfa y beirdd a'r cerddorion yn ein gwlad, am ryw ysdod, yn debyg i'r darluniad a gawn am yr Iuddewon gynt, pan y crogent eu telynau ar yr helyg yn Babilon, pan yr eisteddasant ar lan yr afon i gyd wylo wrth feddwl am gyflwr isel eu gwlad. Ond tua chanol y bedwaredd ganrif ar ddeg, dechreuodd pethau newid eu golygiad; gwelid y dagrau yn cael eu sychu, a theimladau yn ymunioni, a chanfyddid arwyddion deffroad ar holl gynneddfau yr awen, a dywenydd yn dychwel i'r anneddau megis cynt. Dechreuodd yr adnewyddiad llenyddol hwn gyda genedigaeth Dafydd ab Gwilym, yn Ngheredigion, yr hwn a gafodd ei ewythr Llewelyn ab Gwilym yn noddwr caredig yn more ei oes. Pan yr ydoedd tua phymtheg mlwydd oed, dechreuodd osod ei dalentau ar waith yn nghartref ei rieni, ond gan nad oedd nemawr o hamdden i'w gael yno, o herwydd rhyw ymrafaelion parhaus, chwerwodd ei deimladau, a thorodd ei awen allan mewn iaith caneuon duchanol, y rhai a gyfansoddai ar y cyntaf. Cymerodd ei ymdaith oddi yno yn fuan i Fasaleg, i lys Ifor Hael, yr hwn ydoedd garenydd i'w dad; ac yr oedd y lle hwnw yn llawer mwy manteisiol i feithriniaeth yr awen, ac yr oedd hyny yn llawer mwy cydnaws a'i dueddiadau yntau na bod yn oruchwyliwr ar y palas a'r etifeddiaeth. Yn mhen amser ar ol hyny, wedi i'r hen le enwog gael ei ddymchwelyd yn adfeiliau, cyfeiriai y Prydydd Hir ato yn darawiadol iawn, yn y llinellau canlynol:—

"Y llwybrau gynt lle bu'r gan
Yn lleoedd y ddylluan."

Cafodd Dafydd ei benodi yn brif-fardd Morganwg yn fore. Yr oedd ei gymeriad uchel fel bardd, wedi ei godi i sylw y wlad yn gyhoeddus iawn; ac yr oedd yn ymwelydd cymeradwy yn y prif lysoedd, ar bob amgylchiad o gyhoeddusrwydd pwysig. Efallai i hyny fod yn achlysur o gyffroi eiddigedd yn rhai o'r beirdd eraill, megis Rhys Meigan, yn ei erbyn, yr hwn oedd yntau yn awdwr o gryn alluoedd; torodd brwydrau llenyddol allan rhyngddynt, ond Dafydd fu fuddygol.

Bu llawer o gyfnodau cyfnewidiol ar yr awen wedi hyny; weithiau llewyrch haul y dydd, a phryd arall, dywyllwch caddugol y nos; hyd nes y cyfododd Goronwy Owen a'i gymeiriaid, i ddilyn Iolo Goch ac eraill, gyda'r Eisteddfodau, wedi hyny yn amser y Frenhines Elizabeth, y rhai a fu yn adgyfodiad o feirw i lenoriaeth Gymreig yn gyffredinol, ac i'r Awen yn neillduol. Yn y flwyddyn 1819, cyhoeddodd Gwallter Mechain ei Draethawd rhagorol ar "Brydyddiaeth Gymreig," yn yr hwn yr olrheiniai y gofyniad, "Pa un a fu y pedwar-mesur-ar-hugain er lles, neu er niwaid i'r Iaith?" Y mae ei Ragymadrodd yn rhy ddyddorol i feddwl am ei adael allan:—"Dyfelir bod cerdd Dant yn foreuach na Cherdd Dafawd; canys nid oedd gan y prydydd cyntaf un athraw daiarol i'w hyfforddi yn ei gelfyddyd; tra yr oedd cerddorion y goedwig, yn hwyr ac yn foreu, yn pyncio cynlluniau tonau i hoffwr peroriaeth. Yr eos, y llinos, y fwyalch, a'r fronfraith, neu ryw aelodau eraill o'r cor asgellog, a ddysgasant i fab Lamech ddychymygu a chyweiriaw telyn. Can nad oedd gan y prydydd cyntaf un cynllun, gweledig na chlywedig, o'i flaen i'w ddysgu i gyfansoddi cerdd, pa beth, pa allu, a weithiai ar ei ymbwyll i anturio y gorchwyl? Ei ddawn gynhenid, y ddawn oedd gyfansawdd a'i anian, ac a anwyd gydag ef. Yr oedd efe yn gyfarwydd yn ei famiaith, yn ymhoffi ynddi, ac yn ei gweled yn rhagori ar bob iaith arall. Llawenydd a gorfoledd yspryd, a barai iddo dori allan i draethu teimladau ei fynwes mewn iaith mwy derchafedig nag a arferid mewn ymadroddion cyffredin. Y gerdd henaf ar gof a chadw, ydyw Can Ddiolchgarwch Moesen a phlant Israel ar draethell Môr Edom, pan ddymchwelwyd eu herlidwyr, Pharoh a'i fyddin, a'i feirch a'i gerbydau, yn rhyferthwy y dyfroedd chwyddedig:—Ni weddilliawdd amser ond ychydig o brydyddiaeth yr oesau Derwyddol yn Mrydain. Yn mhlith yr henafion gathlau cyfrifir Tribanau "Marchwiail bedw briglas"—Tribanau "Cam Cynmeyre"—Tribanau "Eiry Mynydd," &c. Am Tydain "Tad Awen—Plenydd, Alawn, a Gwron," ni wyddom nemawr, oddieithr eu henwau; hunent mewn heddwch gyda y Cynddiluwiaid! O gylch oes Arthur, ac ymgyrch y Saison, ni arferai y beirdd, Taliesin, Aneurin, ac eraill, ond prin gysgod cynghanedd, oddieithr yn y prif odliad. Yn y ddeuddegfed ganrif, ymddyrchafodd Gwalchmai ab Meilir yn Fychdeyrn beirdd yr oes. Un o'r Awdlau mwyaf hynod o'i waith, ydyw yr un i Owain Gwynedd, yn yr hon y darluniai frwydr "Tal Moelfre" yn Mon—

Ac am dal Moelfre mil o fanieri, &c.

O gylch diwedd y drydedd ganrif ar ddeg, y llewyrchodd bardd arall, a ragorai ar ei gyfoesion, dan yr enw llys, "Casnodyn." Efe a chwanegodd at nifer y mesurau, ac yn enwedig yr ynglyn a elwir "Unodl Union." Rhoddir yma ddull ei ynglyn, sef y cyntaf yn Marwnad Madawg—

"Bu oerchwedl cenedl cwyn enwawg
Tristlawn—Camp Meirchiawn cwymp Marchawg,

Bydd a fydd—ry gudd yr hawg—
Byd Neb fyd—bod heb Fadawg!"

Yn ei Awdl i'r Drindod, darlunia arswydol ddigwyddiadau y dydd olaf yn yr iaith rymus a ganlyn:—

"Pan wnel Duw ddangos ei faran
Dyddwyre dy daerad araian
Dychryn twryf torfoedd yn eban
Dychyrch hynt dychre gwynt gwaeddfan
Dychymriw ton amliw am lan
Dychymmer ufeliar bar ban
Dychrys gwrys gwres tandde allan:—
Cyn glasfedd, cyn glasu fy ngran
Duw am rhydd om rheiddyn ofan
Rwydd obaith o waith y winllan—
Ac yna daw brawd braw gyman—
Ar ddehau fy Rhian fy rhan!"

Am ddychymyg, neu grebwyll, ni bu, ac efallai ni bydd yn Nghymru, ail i Dafydd ab Gwilym. Efe a ddysgai, yn nod i Ddylluan, ac i Biogen siarad yn Gymraeg glan gloew; a rhoddai leferydd yn ngenau drychiolaeth, ac ymgomiai a'i gysgod ei hun."

Dilyna wedi hyn mewn sylwadau ar Eisteddfod fawr Caerfyrddin dan nawdd ac achles Gryffydd ab Nicolas o Ddinefawr yn 1451; ac wedi hyny cyfeiria at yr ail Eisteddfod yn Nghaerfyrddin yn 1819, pan y dygwyd yn mlaen gymhariaeth rhwng teilwng y "Ddwy Ddosparth," fel eu gelwid, ac y rhoddwyd dedryd, "Bod o hyny allan ryddid i feirdd Ynys Prydain gyfansoddi caniadau ar y mesurau mwyaf teilwng a chyfaddas i'w testynau; ac na byddai rhagllaw wahaniaeth, o barth teilyngdod, i'w roddi i fesurau yr un Dosparth, na'r Hen na'r Newydd, ragor neu uwch na'u gilydd; ond bod urddiant Cerdd neu Awdl, i gael ei farnu wrth gymhwylliadau synwyr, a phwyll, a chynghanedd rywiog a diledryw, yn hytrach nag wrth amrywiaeth mesurau." Ac y mae y penderfyniad hwn yn aros mewn grym hyd y dydd hwn. Y mae yna yn myned rhagddo, ac yn dodi ger bron farn Goronwy Owain, ar deilyngdod amryw o'r mesurau arferedig:—

"Yr wyf yn deall bod yr hen fesurau, megis Triban, Toddaid, Clogyrnach, &c., yn cynwys ynddynt elfenau cerdd beroriaethus, a bod arnynt nodau hynafiaeth; ac am rai o'r mesurau eraill, megis Gorchest y Beirdd, a'u cymheiriaid, gan eu bod yn bethau newydd, cam-dybiwyf hwynt yn fwyaf cywrain a chyfrifol; ond nis gallaf lai na'u barnu yn waethygiadau yn lle gwelliadau cerdd. Pa gân cler y dom yw y Gorchest Beirdd yna? a mynwn ateb diduedd i'm holiad, Ai nid oes yn Nhriban Milwr, yr hen fesur gwrthodedig ac anmharchedig hwnw, lawer mwy o ragoroldeb? Pan amcanwyf ysgrifenu synwyr ar y fath fesur a Gorchest y Beirdd, ac yna dechreu!—wel! a bod fy mamiaith oludog yn rhy dlawd i roddi geiriau i orphen y penill mewn synwyr a chynghanedd hefyd—Pa beth a wnaf? Dim ond hyn—i gadw cynghanedd rhaid i mi ysgrifenu ffiloreg oddiyna i'r diwedd; a llyffetheirio a thorfynyglu synwyr, tra byddo fy Ngeiriadur yn cael ei droi wyneb yn ngwrthwyneb, i gael geiriau o'r un derfyniad; synwyr neu beidio. Ac yn mhellach, tybier bod ein hiaith yn fwy gwreiddeiriol a chynhwysfawr nag ydyw (yr hyn nid oes achos na lle i neb ddymuno) pa gyflawnder o eiriau mwysion, a ddichon y fath fesur 'rhegen yn y rhych' eu cynwys! Gan fy mod yn deall i'r Gorchest y Beirdd hwn, a'i gymheiriaid, gael eu trwydded trwy gyfrwng ac awdurdod Eisteddfod, mi a ddymunwn gael Eisteddfod eto, i roddi iddynt eu Hysgrifen Ollyngdod, i fyned gyda'u gilydd i ryw wlad yr 'Hudlonydd,' i ddigrifo poblach arferol o ddifyru eu hunain yn gosod a datod 'clo can clicied,' &c. Yna llawenychwn weled yr hen fesurau yn cael eu hedfryd yn ol i'w parch a'u braint cyssefin, a synwyr yn cael yr orsedd yn lle gwag orchestion diffrwyth."

Wedi gosod tystiolaeth, a barn, a dymuniad Goronwy ger bron, y mae yn ychwanegu:—"Pe buasai Goronwy Owain yn fyw, ac yn Eisteddfod Caerfyrddin yn 1819, cawsai y dywenydd o weled yr hen fesurau yn cael eu dyrchafu; i fod o leiaf yn gydraddol a mesurau caethion y Ddosparth newydd; ac y mae sail i dybio, na ddargeisiwyd cymaint ag un penill ar Orchest y Beirdd, na Thawddgyrch Cadwynawg, na Chyhydedd hir, gwedi yr Eisteddfod honno."

Bu dadl yr Awdl a'r Bryddest yn creu cryn gyffro yn ddiweddar, ond y mae yr ymryson hwn eto wedi ei derfynu drwy benderfyniad Eisteddfod. Y mae llawer o enwau genym mewn ymarferiad, er dynodi y gwahanol fesurau hyn; weithiau y "mesurau caethion; ond yn fwy cyffredin yn awr "y mesurau cynghaneddol;" neu y "Mesurau Cymreig." Nid yw yr enw o gymaint pwys, tra y dealler y gwahaniaeth. Y mae cyfryngu rhwng y ddwy ysgol hyn yn fwy nac a ellir ei ddisgwyl, ac nid ydym yn ymgais at hyny, nac yn gofalu llawer am y canlyniad. Y mae y pwyllog a'r ystyriol, ar y ddwy ochr, yn gallu cyd oddef a'r rhai nad allant gyd weled â hwy, a thrwy hyny yn enill cymeradwyaeth y ddwyblaid, i raddau mawr. A chan fod lle priodol y naill a'r llall wedi cael cytuno arnynt mewn Eisteddfod Genedlaethol, sef yr awdurdod uwchaf a feddwn yn awr, hyderwn fod y gynen wedi ei rhoddi i lawr ar hyn o bryd. Pa fodd bynag, y gwirionedd ydyw, mai oes y Gymraeg fydd oes y gynghanedd. Y mae yn elfen yn anianawd yr iaith: y mae yn rhan a chyfran hanfodol o honi. Y mae y llefarwr

mewn iaith gyffredin yn llithro yn anfwriadol i'w seiniau; y mae yr ysgrifenydd mewn iaith rydd gyffredin, yn ymddilladu yn ei gwisgoedd tynaf, heb deimlo dim o'i chaethiwed, mor naturiol ag y gwisga y gwlith am lysiau yr ardd. Y mae hyn yn cael ei brofi yn ddigon eglur ar luaws o ddalenau y Bibl Cymraeg. Y mae yn wir mai beirdd, ie Cadeirfeirdd o'r dosparth mwyaf diwylliedig, oedd y cyfieithwyr, o leiaf, rai o honynt, eto nid oedd dim yn eu meistrolaeth ar y cynganeddion, yn llywodraethu eu hysgrifellau yn y gwaith hwnw, i'w denu i ddodi i lawr linellau tebyg i hyn, "Alltudion fel ein holl dadau," &c. Eto y mae ynddo nifer o blethiadau prydferthaf y gynghanedd. Ni ellir llefaru nac ysgrifenu yr iaith heb lithro yn anfwriadol iddi. Mor naturiol y derllyn darluniad cynganeddol o Fonedd a Chynneddfau yr Awen, wedi dyfod o ddwylaw wedi ei chwbl feistroli:—

"Ser bore a ddwyreynt
Yn llu i gyd ganu gynt,
Canu'n llon hoewlon eu hawdl,
Gawr floeddio gorfoleddawdl',
Ac ar ben gorphen y gwaith,
Yn wiwlan canu eilwaith,
Caed miloedd o nerthoedd nef,
Acw'n eilio cân wiwlef,
Meibion Nef yn cydlefain
A'u gilydd mewn cywydd cain,
'Perffaith yw dy waith, Duw Ion,
Dethol dy ffyrdd a doethion,
A mad ac anchwiliadwy
Dduw mawr! ac ni fu ddim mwy!'—
Fe'i clywai'r ser disperod,
Llemmain a wnai'r rhain i'w rhod;
Ffurfafen draphen a droe,
Ucheldrum Nef a chwildroe;
Daeth llef eu can o nefoedd,
Ar hyd y crai fyd, cryf oedd;
Adda dad yn Mharadwys,
Clywodd eu gwawr leiswawr lwys;
Hoffai lef eu cerdd nefawl,
Ac adlais mwynlais eu mawl;
Cynhygiai eu can hoewgerdd,
Rho'i ymgais ar gais o'r gerdd;
Difyr i'w goflaid Efa,
Glywed ei gan ddiddan dda,
Canai Efa deeca' dyn,
Canai Adda, cain wiwddyn;—
Cant, cant, a ffyniant i'w ffydd,
Cyn dyfod canu Dafydd;
Pyngcio a wna'i fal pencerdd,
Nefol a rhagorol gerdd;
Prydodd dalm o ber Salmau,
(Fwyned i'm ynt f'enaid mau!)
Canu dwsmel a thelyn,
Yn hardd, a wna'i gwiwfardd gwyn,
Gyda'i law ydd ai'r awen,
(Wi, wi, a'r llaw wisgi wen!)
Ewybr oedd y boreuddydd,
Ei lais yn min dichlais dydd,
Deffro fy nabl (parabl per,)
'I ganu emyn Gwiwner,
I'm Ion y rhof ogoniant,
A chlod, a thafod, a thant;'
Am ganu ni fu ni fydd,
Hoew fawl ei hefelydd.
Awen ber wiwber ei waith,
Oedd i Selyf ddwys eilwaith,
Fe gant Gân, gwiwlan y gwau,
Can odiaeth y Caniadau;
Pwy na char ei Ros Saron,
Lili, a drainllwyni llon;
Y mae'n ail y mwyn eiliad
I gywydd Dafydd ei dad;
Dygymydd Duw âg Emyn
O awen dda a wna ddyn!
Prawf yw hon o haelioni,
Duw nef, a da yw i ni."

Y mae yr Emynwyr wedi bod yn lluosog yn ein gwlad, ac amryw o honynt o gymeriad uchel iawn. Y mae nifer o'r emynau sydd genym wedi eu cyfieithu o ieithoedd eraill, ac y mae nifer o'r eiddom ninnau wedi cael eu troi i dafodau eraill; ac felly y mae yr Awen Gymreig yn anadlu mewn gwledydd dieithr. Y mae gwasanaeth y mawl yn ein gwlad yn ymburo, ac yn ymgodi yn gyflym. Addefir gan bawb fod fod cerddoriaeth briodol yn derchafu y teimlad cysegredig, a'i bod yn codi yr enaid uwchlaw pryder daearol, ac yn ei gludo ar adenydd seraph, i awyrgylch dedwydd drigfanau y nef. Y mae ein hysbryd, o leiaf, am fynud awr, megis pe byddai yn ymddiosg o faich y cnawd, fel y mae yr hyn sydd farwol yn cael ei lyngcu gan fywyd, "tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir," ac yr ydym felly yn gallu cymdeithasu â byd anweledig; â bodau anweledig; ac â gwasanaeth anweledig. Y mae yn gallu darostwng pob peth sydd o duedd lygredig yn y fynwes, ac yn trawsffurfio pob peth sydd anianol i'w helfen nefol ei hun. Dywedai Luther ei bod yn eilfydd i dduwinyddiaeth, ac yn alluog i lefaru tangnefedd wrth yr enaid trallodus, a hyny mor dyner a theimladol, nes toddi y dymer fwyaf anfoddog, i anwyldeb, a chariad, a hedd.

Nid yw yn anmhriodol i ni dybied fod y gefeilliaid hyn, sef barddoniaeth a cherddoriaeth, wedi ei cyd ffurfio a'u cyd fagu â'n natur, er fod yn rhaid i'r naill gael ei geni o flaen y llall. Y mae ein gwlad wedi ei chyfoethogi yn ddiweddar â llyfrau Emynau at wasanaeth y cysegr. Y mae gan bob plaid grefyddol ei chasgliad neillduol ei hun. Y mae yr eiddo Williams, Pant y celyn; Anne Griffiths; Edmwnd Prys; Benjamin Francis; Edward Jones, Maes-y-plwm; a nifer eraill, yn dra chymeradwy. Gellid dywedyd yr un peth am Gasgliadau Harries; Jones, Treffynon; Edwards, Wyddgrug; Roger Edwards, ac Eben Fardd; yr eiddo y Wesleyaid; Samuel Roberts; Hiraethog; Caledfryn; Griffiths, Abertawe; Stephens, a Jones; Rees, ac Ambrose Lloyd; mewn arferiad cyffredin. Y mae genym gyfieithiadau tra theilwng o Watts,

Wesley, Doddridge, ac eraill. Y mae pob ychwanegiad yn cyfoethogi trysorau y genedl, ac yn cael cryn raddau o gefnogaeth. Y mae yn bosibl nad yw yr angen wedi ei gwbl ddiwallu eto, a bod lle i gynnydd yn mhob dosparth yn barhaus.

Wedi cymeryd trem frysiog ar ein cynnyrchion barddonol, hen a diweddar, ac heb amcanu manylu arnynt yn eu gwahanol gymeriadau, dichon na byddai yn anmhriodol awgrymu yma fod genym drysorau lawer, ar wahan, mewn ysgrifen, neu argraph, o bob dosparth o farddoniaeth, heb eithrio yr arwrol, y telynegol, y galarnadol, y bugeiliol, y desgrifiadol, y duchanol, yn gystal a phob cymeriad arall o farddoniaeth fuddiol ac adeiladol. O'r holl ddosparthau hyn, addefir yn gyffredinol, mai yr Arwrol ydyw y mwyaf dyrchafedig a gorchestol mewn cyfansoddiad. Y mae yr Arwrgerdd yn creu edmygedd; ac y mae y dromarawd yn codi teimlad galarus, ac yn tynnu allan ddagrau. Y mae y cymwawd yn creu ysgafnder chwareus; a'r fugeiliol yn cynnyrchu teimladau o hynawsedd a thawelwch boddhaol. Felly y gellid dywedyd am bod dosparth arall yn ol ei gylch a'i gymeriad. Ychydig o Arwrgerddi boreuol sydd genym. Y mae yn alarus meddwl na chymerai rhywun galluog mewn llaw, y gorchwyl o osod y Gododin mewn gwisg Gymreig, o'r arnodwedd ddiweddar a phoblogaidd. Fel y mae yn awr, y mae yn fath o dreth ar alluoedd dyn o dalent gyffredin, fedru ei ddeall; ac o herwydd hyny y mae y darllenydd wrth ddechreu ei ddarllen, yn gorfod canu yn iach i bob gradd o hyfrydwch wrth ei ddefnyddio. Y mae yn destyn llawenydd i'r cyhoedd, fod cynnifer o'r hen gyfansoddiadau wedi eu cyhoeddi ag a gafwyd. Gwyddom ni heddyw am tuag Ugain Cyfrol drwchus, o farddoniaeth a rhyddiaith, mewn ysgrifen, a'r rhan fwyaf o honynt heb eu cyhoeddi erioed. Wedi i ychydig flynyddoedd yn mhellach redeg ymaith, bydd pob gobaith am eu dwyn i oleu dydd wedi ei golli. Pwy byth a all ddirnad gwerth y fendith a ddaeth i'r byd trwy yr Argraphwasg. Dylai holl gyfoeth yr oesau ag sydd eto dan gloion mewn cistiau a llyfrgelloedd, trwy ryw drefniant priodol, ddyfod o fewn cyrhaedd y cyhoedd a'r werin am bris rhesymol. Y mae gan bob dosparth eu horiau hamddenol; y rhai a ddefnyddir yr gyffredin er adloniant, ond yn rhy fynych heb nemawr o wir adeiladaeth. Beth a feddylir am drysorau eang casgliad; sydd er ys agos i haner canrif dan gloriau na cheir eu hagor? Dywedir fod yno Gan Cyfrol o gasgliad Ieuan Brydydd Hir, a Dafydd Ddu o Eryri, ac oni ddylai y genedl wneud cynhygiad teg am gael golwg arnynt?

Y mae yr ychydig nodiadau hyn yn lled fynegi fod egwyddor Barddoniaeth, yn ei hansawdd athronyddol yn aros eto heb ei chwbl egluro. Y mae yn amheus genym, pa un a ydyw i gael ei gwasgu o fewn y terfynau a ddynoda yr ysgwâr a'r cwmpas, mwy na rhif, pwys a mesur. Y mae ei natur nerthol a hydwyth rywfodd, yn gwrthod cymeryd ei rheoli gan neb; ac yn ei hadeg ei hun, y mae yn rhwygo pob gwisg a lunier iddi, ac yn mynu awyr rydd i anadlu, a gofod diderfyn i'w hadenydd, fel y myno ei hun. Awgrymir yma hefyd, nad yw yr Awen Gymreig byth yn debyg o ymwrthod a'r gynghanedd, ond y myn barhau i ymwisgo yn mhob math o ddillad a fyddo gymhwys iddi, o'r Awdl hyd y Bryddest, yn y mesur diodl, a'r mydr rhydd. Y mae llawer dadl o bryd i bryd, wedi bod ar deilyngdod cymhariaethol y naill a'r llall, ond y mae y cyfan bob amser yn terfynu yn yr un fan. Credwn mai mewn awr o ddigrifwch, neu gywreindeb y darfu i Eben Fardd, gyfansoddi yr Englyn adnabyddus hwnw sydd yn dechreu gyda:—

> "Rhwygwch y pedwar ar hugain—mesur,
> A moeswch Arwyrain," &c.

Yr oedd efe mor fedrus ac mor hofl o'r naill a'r llall, ac yr oedd wedi cwbl feistroli pob un o honynt. Pa fodd bynag, nid fel Pryddestwr, ond fel Awdlwr yr oedd efe wedi enill ei enwogrwydd fel bardd. Nid yw yn debygol y mynai efe ergydio dyn ar y llaw a'i cynorthwyodd ef i ddringo o ddi nodedd i binacl uwchaf derchafiad barddonol.

> Mae amheus siarad am y Mesurau,
> Rhai'n goeth eu rhyddid, rhai'n gaeth i raddau;
> Un radd a ystyr fawr werth Pryddestau,
> Ac arall fawredd hyawdledd Odlau;
> Y medrus fyn bob mydrau,—a'r gwir le'n,
> All lywio'r Awen yn ei holl rywiau!

Awgrymwyd yma hefyd am y priodoldeb o wneud ymdrech i bwrpas er cael y cyfansoddiadau teilwng mewn Barddoniaeth a Rhyddiaith, sydd eto yn aros mewn ysgrifen, neu mewn argraphiadau prinion, hen, a drud, i'w cyhoeddi a'u hargraphu, am brisiau cymhedrol, a fyddo o fewn cyrhaedd y cyffredin. Wele gynnygiad gwerthfawr at hyn yma, cyn belled ag y mae yn cyrhaeddyd, yn y "Ceinion;" a gobeithiwn y bydd i'r cyfrwng hwn fod yn foddion i alw sylw at yr hen drysorau, sydd genym eto mewn cyflawnder ar hyd a lled y wlad. Beth a feddylir o lyfrgellau Mostyn, Wynstay, Penarth, a nifer o leoedd eraill, megis y Gareglwyd ger Caergybi, a mannau eraill. Dywedir fod yma, gant o gyfrolau, o gasgliad Ieuan Brydydd Hir, a Dafydd Ddu o Eryri, a gefnogwyd gan yr hen Wladgarwr enwog, Paul Panton, o'r Plasgwyn yn Mhentraeth, Mon, y cyf-

eiriwyd atynt yn barod, yn gauedig mewn cistiau, fel nad ellir cael golwg arnynt er ys amser maith, yn pydru! Y mae y rhai hyn yn drysorau cenedlaethol, a dylai yr holl wlad ymdeimlo yn yr achos. Y mae rhai o'n Heisteddfodau yn troi allan yn llwyddianus iawn mewn ffordd arianol, ac yn gallu cyflwyno symau mawrion tuag at gynorthwyo achosion cyhoeddus o bwys. A'i ni ellid cael ganddynt gefnogi cyhoeddiad y prif gynnyrchion a obrwyir yn eu cynulliadau? Heb hyn, y mae un o brif ddybenion eu cynhaliad yn colli. Y mae Ystafelloedd Darllen cyhoeddus yn cael eu cyfodi yn fynych yn y dyddiau hyn, mewn tref a gwlad; ac oni ddylai prif gynhyrchion ein llenorion fod ar eu byrddau? Y mae gan y "Werin a'r miloedd," ryw fath o hawl, i gael golwg arnynt. Bellach, gwelwn fod ein gofod wedi ei lanw, ac ni allwn derfynu mewn unrhyw ymadroddion mwy priodol, na'r eiddo Goronwy:—

'Dyledswydd a swydd hoew sant,
Yw gwiw gân a gogoniant,
Dysgwn y fad ganiad gu,
Ar fyr, awn i'w harferu,
Cawn awenlles cân unllef,
Engyl a ni'n ngoleu Nef,
Lle na thaw ein per awen,
Sant, Sant, Sant, moliant, Amen!"

—GWALCHMAI.

---

## ARAITH GWGAN.

Dau wr oedd yn meddu holl Gymru benbaladr gynt; nid amgen, na Dafydd ab Owain Gwynedd, o Wynedd; a'r Arglwydd Rhys ap Tewdwr Mawr, yn Neheubarth; hwn oedd aer Gruffydd ap Rhys ap Tudur, neu Tewdwr mawr, o Ddinefwr. Ac yn yr amser hwnw yr oedd Dafydd ap Owain Gwynedd yn cynnal ei hun, mwy nag oedd abl tair sir i'w gynnal, chwaethach un gwr. Ac yn yr amser hwnw yr oedd cariad perffaith, a chyttundeb rhwng Gwynedd a Deheubarth. Ac ynghylch y pryd hyny, fe ddigwyddodd i wr wneuthur yn erbyn cyfraith yn Neheubarth, ac a ffoes i Wynedd, i blâs yr Arglwydd Dafydd ap Owain Gwynedd, ac y cafas y swer a'r croeso mwyaf yn y byd; ac yna yr aeth llid a dryganiaeth rhwng Gwynedd a Deheubarth; yna y daeth brawd maeth urddasol o'r eiddaw Dafydd ap Owain Gwynedd, ac a ddyfod, "Rhyfedd yw gennyf faint yr ydym ni yn ei wneuthur am wylliaid a lladron, a gwyr dauperthig; pe deuai wr o Wynedd i Ddeheubarth, ni wneid am dano mwy nag am Iuddew, neu Sarssin, neu Scot, neu Gostog tom:" yna y dywaid Dafydd ap Owain Gwynedd, "Na chottwyf fy wyneb yn erbyn Duw, oni fynnaf fi wybod pa ryw groeso a gaiff gwr o Wynedd yn Neheubarth;" ac yno yr arlwyodd wledd, a phan fu barod, efe a wahoddes bawb iddi hyd y cyrhaeddodd bellaf; ac yn y wledd hono y gwnaeth efe osteg, ac a ofynodd, a oedd neb yno a ae nac er aur, nac er arian, nac ar ei rudd, nac ar ei wyrdd, a ae ar ei neges o Wynedd i Ddeheubarth? ac ni attebodd neb; a'r ail dydd y rhoes yr unrhyw grî, ac yna'r attebodd y Paun Bach, o Wiccwair yn Rhos, gwr o Wynedd is-Conwy; ac yna y dywaid yr Arglwydd Dafydd ap Owain Gwynedd, "Paham nad attebit ti ddoe?" "Nid attebodd ond annoeth, neu ynfyd, annisyml: nid gwiw i fyn'd i'r siwrnai hono, na gwr gwyl gwladaidd, na gwr meddw segurllyd, na gwr annoeth annysyml; rhaid yw i fyned yno brif fardd a phrif gerdd dafod ganddo, a fedrai ddiolch lle cai, ac anniolch lle ni's cai." "Gwir a ddywedaist," ebr yr Arglwydd Dafydd ap Owain Gwynedd, "ti a fedr fyn'd yno." "Nage," ebr y Paun Bach, "y mae ai medr yn well na myfi, fyn'd yno." "Pwy yw hwnw?" ebr Dafydd. Ebr y Paun, "Gwgan Gwawd newydd, o Gaer Einion, y Mhowys." Ebr Dafydd, "Ni welais i ddim o'r gwr hwnw erioed; eithr mi a glywais ffon i gerdd gadwynog, a'i ymddiddanau difai, deuair. A gymmeri di was digri diddan i galyn pen dy farch, a myned at Wgan, ac ymryson doethineb ag ef ddiwrnod a noswaith? a'r doethaf a'r dysymlaf o honoch, aed ar fy neges o Wynedd i Ddeheubarth." "Hyny a wnaf," ebr y Paun Bach. Ac yna y cymmerth ef was digri diddan i galyn pen ei farch, ag a farchogodd yn dyn ffest ac yn galed, hyd ynghyfliw gwr y llwyn, yn amser gofyn lletty, oni ddaeth i lyn coediog, ac yn y glyn, ef a welai blâs, ac at y plâs teg hwn y cyrchodd; ac ef a glywai gweirio telyn rawn; a'i chanu, ac ef a dybiodd wrth y caniad a'r cyweiriad, nad oedd neb a'i medrai ond Gwgan; ac yna y dywaid y Paun Bach, "Hai, how, a oes yma le i luddedig farch i fwrw lluddedigaeth oddiwrthaw? ac i bori gwyran glas glymmog disathr blaen gyfan, yr hwn ni bu anifail pedwar carnol ynddo er ys naw mlynedd, ac na bu dim yn y parc hwnw, oddieithr disgyn gwybedyn ar ei dreigl ddydd tesog, ac y byddai cyn siccred i mi ei gael ef y foru, a'i ollwng o'm llaw heno?" "Oes," ebr y gwas oedd yn rhodio rhwng y drysau, ni wyddiad ddrwg dros dda! "Nag oes," ebr Gwgan, a bwrw ei delyn rawn o'i law, "nid wyd ti yn dyall dim o'r Gymraeg, gair cyrch a ddywaid y gwr! Y mae yna fforest o'r tu hwnt i ti, er bod gennyt gron-raff gadarn-fferf, i'w rhoi wrth hono, ef a allai y dae wylliaid neu ladron, o'r nawgell, o gysgod y coedgyll, ac a fwriai esgudneid o chwithig arno, ac a roe sawdlfrath ynddaw, ac a'i marchogai i Nictre, islaw Seis-

nictref, ac a'i gwerthai ef er ysgafnwerth, ac a'i yfai, ac a'i chwalai am ben y twynau erbyn y boreu; ef a allai y byddit waeth o werth dy farch erbyn, neu cyn y foru!" Beth o bawn innau yn y goedfron hwnt o'r tu hwnt iddo yntau, ac ym llaw fwa o yw coch, cyd ostwng, a llinyn gwydndost, a phaladr uniawngrwn, a gwlw ewmpasgrwn, ac esgyll hir feinion o boneawiad (neu fanc weuad) sidanwyrdd, a phenawch ddûr, trymdew modfeddig wyrddlas, (neu drwyn metelus) a dynnai waed o iâr wynt; a'm troed wrth dwmpath, a'm cefn wrth dderwen, a'r gwynt o'm hol, a'r haul i'm hystlys, a'r ferch fwyaf a garwn yn y droedle hono yn edrych arnaf, a minnau yn gwybod ei bod; mi a saethwn ato yntau ergyd ehydrbell iselgraff, fal na byddai well iddaw rhyngthaw a mi lurig a haprisiwn, (neu a miling happiaswn) no thwyn o redyn, neu garthen odyn, neu rwyd ysgadyn!" "Ti a leddaist y gwr cyn ei weled," ebr Gwgan. "Paham yr ae yntau a'm march i, cyn fy nisgyn oddiarno?" ebr y Paun Bach. "Mae dy farch di tanat." "Mae yntau'r gwr yn fyw, a mi a wnaethym fwy o gyflafan i'm gwlad no hyny." "Beth a fynnit ti ei gael?" ebr Gwgan. "Lletty heno a fynnwn i," ebr y Paun. "Lletty a gait pe'i medrit ei ofyn." "Ni cheisiwn i well nog a fedrwn ei ofyn." "Beth a fyddai hyny?" ebr Gwgan. "Cael cyhyd ac oddiyma hyd attat ti, o neuadd oleuwen, o lawr teilsiedig, ysgubiedig, heb na llif na defni er ys can mlynedd! gwedi ei chweirio âg irfrwyn gleision, fel na byddai anogyfuwch un frwynen no'i gilydd ar y llawr o uchder llygad y gwreinin, fal nad elwn yn ôl fy nhroed, nog ymlaen fy nhroed, faint y mymryn ymhelydr, neu lygad yr haul fis Maihafin! gwedi delwn i fynu, cael cadair a chlustog danaf, clustog dan pob penelin, a gwas archeugras i dynu fy hosanau lledr, ac ar gyntedd y neuadd hon, tanllwyth o dân o billwydd onn, di fwg, di wreichion, diboen i'r gweision i gynneu ger fy mron, a baner gogyfuwch a'm daulin, rhag manu o'r tan ar fy nghnawd; cael gweled arlwy fy swpper o win, ac elyrch, ac adar y bynnoed, ag amrafael olwythion pupuraidd am ben hyny, cael trestyl ger fy mron, a lliain gwyn arno, a thentys neu bebyll uwch ei ben, rhag syrthio brychau o'r nen; a rhoi arno newydd o fwyd, a hen o ddiod, a chig hely, ac adar y bynnoed, a gweision trefnus madroddus mewn un lifrai i'w gywain yn ddiandlawd, ag i gymmell bragowdlyn arnaf, er lles i mi, ac er mawl, (neu air mawl,) i'm gwasanaethwr; ni wnawn ni fawr son o hyn hyd y foru, dros fyw ar y ffâr hono." "Aie," ebr Gwgan; "nid gwiw i ti ddyfod a chyfryw ymofynion moelion a hyny attaf fi; nês i ti gael yma fŵth hudduglyd, budr, bargodlaes, rhwydd-dwll oer afiachus, a phibae hen foniaid, a llawr du pyllog, a llechau hir leision: eithr gwr blin lluddedig wyt ti, ni safit ar dy droed cystal ag un o honom ni; nês fyddit i dori un o bedwar piler dy gorph, neu gogwrn dy chwilfwnwgl, neu asgwrn dy forddwyd, cyn dy ddyfod o'r fan lle'r wyt ti hyd y man lle'r wyf fi, nag i ddianc yn ddidramgwydd! gwedi y delit i fynu; cadair ni bu yma erioed yn y tŷ, stol din-gnwpa (drignwpa) a gait, megys y byddit debycach i dori cogwrn dy benelin, neu asgwrn dy ael, nog i eiste'n wastad arni; ti a gait yma ffagl o haiddwellt myglyd, a bara haidd eisinog, ac ymenyn blewog, ac enwyn sûr llwyd, mewn cynnog llysienedig ddrewsur, heb ei golchi ers blwyddyn i nos Basg; ac y mae i minnau ddeuddeg o fechgyn moelgreichion, heblaw eu chwiorydd, a llygaid cwn, ac ewinedd cathod, a dynnai dy lygaid o'th ben, oni chaen ran o'r ffar hono, a'r defni i'th frattiau; a minnau yn ymgiwg â'm plant, yn ymgernial â'm gwraig, fal y byddai well i ti foreufwyd o'r pensoeg, neu flawd y ceubren, neu had y rhedyn, na gwrando arnom o hyn oni bae ddydd y foru. O chawn innau siambr oleuwen, a morwyn o'm hoed, a gwraig o gorph weddeiddbryd, feddalgnawd, hardd ddwylaw, hir fysaidd, modrwyog ei gwallt melyn euraid hyd at fawd ei throed, a gwely esmwythglyd, a dillad ysgafnlyd, oni bae amserol y dydd ym i godi, mi a hi, mewn cariad perffaith, a chyttundeb, ni wnawn i fawr ormes, ond bod ar y gwely hwnw noswaith. Felly, nesa dim i ti yma gael hendy go dywyll, a gwâl fân-us chweinllyd, a charthen ddu oer i'th nesaf, a hen wrach ddall can-mlwydd, wellgrach, aflgyfyng, dingrach, a saith o brif fudr-gampau arni."

"Ai ti yw Gwgan?" "Ie," ebr y fe. "Tydi yr oeddwn i yn ei geisio." I mewn y daeth; ni bu gystal ei fyd ac y gofynodd; ni bu cynddrwg ac yr addawyd; a myned gyda'i was ei hun i gysgu am y pared a Gwgan, ac ymresymu doethineb onid oedd ddydd dranoeth. Ac yna doethaf oedd Gwgan ar y tir gwyllt, a doethaf oedd y Paun Bach ar y tir dôf. Ac yna y cymmerth Gwgan y march dano, a'r gwas digri diddan i ganlyn pen ei farch, ac a farchogodd yn ffest, oni ddaeth i Ddeheubarth, i blâs yr Arglwydd Rhys ab Gruffydd ap Rhys ap Tewdwr Mawr; a phan ddaeth, yr oedd yr Arglwydd Rhys mewn llid, a chyffro mawr, nid amgen, ef a fuasai mewn dydd dyweddi rhwng merch iddaw, a mab i arglwydd cadarn; ac efe a bwyntiasai i hely mewn fforest goediog, ac a ddywedasai fawr eirian am ei gŵn; ef a archasai i'r gweision a'i helyddion gwplysu y bytheiaid, a chynllyfanu y milgwn; a'r gwasanaethwyr hwythau a aethant i chwareu ac i fwhwman, ac a ollyngasant y cwn i wneuthur anrhifed mawr o ddrwg, ac i ladd

defaid. Ac yna'r oedd yr arglwydd yn curo ei wasanaethwyr, ac yn crogi ei gŵn; ac yna y cymerth Gwgan feddwl da yn ei galon, ac atteb yn ei ben, a fai gwell, ac a'i cyfarchodd ef, yr arglwydd, ac a ddywaid, "Yma y daethym oddiwrth Dafydd ab Ywain Gwynedd, ar gefn ceffylyn ceffylaidd, a cheffylaidd dith danaf ganddo, a cheffylaidd flew arno; ac nid felly y gallaswn i ddyfod, yr oedd yn ystabl Dafydd ap Ywain Gwynedd gant o gwsiaid neu gwrseriaid: mi a allaswn ddyfod a gwas gwyn pen ucheldrem, dwyfronlaes, cadfarch cadarndew, cerdded-drud, llydan-gefn, bron-ehang, gafl gyfyng, carn-gragen, ymdeith-wastad, hyweddfalch, drythyll, llamfachus, ffroenfoll, a'i lygad yn frithlas dratheryll, pedraingrwn, cig ddigoll, tasgedffordd, tuth milgi, cefn gochwys, mynyglflew gorwyllt, gorwallt, archgrwn iyrchnaid dan ei bedwar carn, ac a dorrai bedair tywarchen i'r wybr, yn debycach i bedair môrwenfol, nog i bedair tywarchen ddaiarol; nid oedd debycach ei duth i anifail pedwar carnol, nag i ehediad gwalch, neu osawg, neu farcuttan cwtta."

"Ar hwnw y dylesit ti ddyfod," ebr yr Arglwydd Rhys. "Mae hwn yma yn abl dan was i negeseuau; os fy neges a gaf i, yr Arglwydd Dafydd ap Ywain Gwynedd a'i diylch; os fy neges nis caf, Dafydd ap Ywain Gwynedd a'i anniolch."

"O bydd dy neges di nog yn y Castell Coch, neu'r Castell Newydd, nog yn Ngwent is Coed, nog yn Ngwent uwch coed, nog yn Morganwg, nog yn Nglyn Llychwr cwch, nog yn Elfael, nog yn Neheubarth, dy neges a gai."

"Ni cheisiaf na thir pryn, na thir prid, na physcoed llynnau, na pherllanau, na morwyn, na gwraig; ond pedair punt i mi, a gŵn, a march; a gŵn, a march ym gwasanaethwr." Yna y dywawd yr Arglwydd Rhys, "Gwgan, fy nghâr a'm cydymaith, fal dyna rodd na ofynodd clerwr ar a fu yn clera rhwng dwy wlad erioed; eithr gan dy ddyfod ti oddiwrth Dafydd ap Ywain Gwynedd, ti a gei dy neges oni chai a fo mwy." Ac yna y cymmerth ef i ystafell y noson hono i orphwys, a thrannoeth y daeth ef at yr Arglwydd Rhys ap Gruffydd ap Tewdwr mawr, i gymeryd ei gennad, a'i rodd; ac a gafodd bedair punt ar hugain, a gŵn a march, a gwn a march i'w wasanaethwr, wedi cael y sir oreu a gawsai erioed. Ac yna y daeth Gwgan i Wynedd yn debycach i dduc, neu farchog adref, nog i glerwr a fae'n clera rhwng dwy wlad! Ac o'r amser hwnw allan y gadawyd y ben bonedd yn Ngwynedd, a phen haelder yn Neheubarth, a phen doethineb ym Mhowys, a'r gold a'r benlas yn Nyffryn Clwyd, a'r llid a'r bar rhwng gwyr Ial a gwyr Ystrad Alyn.

## ARAITH WGAN AR GAN.

Y Gân ddilynol a argraffwyd allan o hen ysgrif ag ydoedd yng nghadw mewn llyfrgell gyfrifol ym Môn. Y mae'r hyn a ganlyn ar ddiwedd yr ysgrif:—"A hyn o gyfansoddiad Rhisiart Parry, Clochydd ac Ysgolfeistr, yn Niwbwrch, ym Môn, yng nghylch y flwyddyn 1733."

A'i gwypo'n well cyfaill yw,
Gwellhad ac nid gwall ydyw;
Na farna ditheu'r doethun.
Oni wellei in' wall un:
Barna a gwellha y gwaith,
Di geri y deg araith.
Dau wr di gynnwr oedd gynt,
Yn meddiannu rhyngthynt
Holl Gymru a gwlad Gamber,
Heb na llid na phen balchder;
Dafydd ab Owain Gwynedd,
O Fen'dosia ben dwysedd;
A Syr Rhys ab Tewdwr Mawr,
O Ddeheubarth ddiharebawr;
Dau a oeddynt yn eu dydd,
Dda iawn ganddynt eu gilydd;
Hwy adwaenent eu gilydd yn gall,
Erioed ni welsai'r naill mo'r llall.
Cydnabyddiaeth oedd rhyngthynt,
Yn deilliaw o amryw helynt:
Megys gorchest doethineb,
A rheolau ffraethineb;
A phrif barabliaith,
A phrif gerddwriaeth;
Daeth cennad ddoeth ddiwarth,
Ddewr o Ddeheu-barth;
Oddi wrth Syr Rhys mewn hedd,
At Dafydd ab Owain Gwynedd,
Ar ryw achosion,
I wneuthur negesion;
Pan wybu Dafydd ab Owain,
Ben mwynaidd Gwynedd gain;
Mai oddi wrth Syr Rhys yn rhi,
Yr oedd y genadwri,
Efe wnae iddo'n fuan,
Groeso mawr, ac nid bychan;
A'i wahodd g'add yn y man,
Yn nesaf atto'i hunan,
Ar swpper i eistedd,
Trwy barch ac anrhydedd.
Gan Dafydd yn bresenol
R'oedd brawd-maeth urddasol,
O wr cenfigenus,
Ebr hwn yn eiddigus,
Cas genyf weled,
Yn ddigllonus i'w glywed.
Yna Dafydd a ddywed,
Beth sydd gas genych weled?
Ag ebr ynteu, gweled
Gwneud croeso i wyllied:
Ie, gwyllied tai perthydd,
A lladron tan goedydd:

Neu wr a ddel i barth
Gwynedd o Ddeheubarth:
Peth na chaiff gwr a ddelo,
O Wynedd anwyl yno,
Ddim well croeso o un iott,
Nag a gae Ffrencyn neu Scot:
Neu gostog-tom meddan
Dyna'r tri distadla allan.
Ebr Dafydd, er neb
Na chodwyf mo'm hwyneb,
Yn erbyn Duw am hyn,
Na chwaith yn erbyn dyn:
Mynaf wybod yn glir,
A wyt ti'n dywedyd y gwir;
Felly ag yno,
Efe a wnaeth ginio;
Cinio mawr iawn,
Ac nid cinio bychan;
I'r cinio rhoes wahodd teg,
Ac ar wahodd rhoes osteg;
Ac ar osteg rhoes ofyn
Yn gyfattebol i hyn
A oedd neb, ae, er urdd,
Er rhudd, nag er gwyrdd!
Er pwyll, nag er parch,
Ar draed, nag ar farch?
Er aur, nag er arian,
Er na mawr na bychan;
O Wynedd yn ddiwarth,
Ar neges i Ddeheubarth?
Nid atebodd neb
Rhyw berchen wyneb.
Ond Dafydd eto unwaith,
A wnaeth ginio helaeth;
Os mawr oedd y cynta,
Dau mwy oedd hwn yma.
I'r cinio rhoes wahodd teg,
Ac ar wahodd rhoes osteg;
Ac ar osteg rhoes ofyn,
Eto nid atebai dyn.
Y drydedd waith gwnaeth ginio,
Yn dri mwy na'r ddau dro;
Ag a alwodd gar ei fron
Yr holl foneddigion,
A chyffredin y teirgwlad,
Llen a lleẏg, yn un gellad;
I'r cinio rhoes wahodd teg
Ac ar wahodd rhoes osteg,
Ac ar osteg rhoes ofyn
Cyffelyb i hyn:
A oedd neb ae, er urdd,
Er rhudd nag er gwyrdd,
Er pwyll, nag er parch,
Ar draed, nag ar farch;
Er aur, nag er arian,
Na mawr na bychan,
O Wynedd yn ddiwarth,
Ar neges i Ddeheubarth?
Pwy atebai wrth ei ochor,
Ond y Paun Bach o Wicmor;
O Lanfair is Conwy,
Is Dyffryn Clwyd, er yn Faccwy!
Ac a fuasai yno bob tro,
Yn cael rhan o'r tri cinio;
Escyll pen tefyll,
Scil pen byrddau candryll.
Ebr Dafydd, ag a dynga,
Pa'm na thebit y tro cynta?
Ebr y Paun yn llawn ffraethder,
Nid etyb mewn cam amser
Ond annoeth di suful-wedd,
Neu ryw wr gwyl gwladedd:
Llanc neu lances ynfyd,
Neu wr meddw segurllyd;
Rhaid i chwi gael er ceisio,
I fyn'd i'r siwrnai hono,
Wr a phrif gerddwriaeth,
A phrif gerdd dafodiaeth;
A phrif gerdd dafod gantho,
A pharod ateb eto;
A fedr ddiolch lle y caffo,
A'r lle ni chaiff na ddiolcho.
Dafydd ap Owain a ddywed,
Dy di a fedr fyned;
Am hyny myn fy nghred,
Dydi sydd raid fyned.
Nag e, nage, ebr Paun Bach,
Mae a fedr yn amgenach.
Ebr Dafydd, pwy yw hwnw
A pheth yw ei henw?
Ebr Paun, gwr glew a chelfydd,
Hwn yw Gwgan fawd newydd;
O Gaereinion ym Mhowys,
Gwr dewr, ffraeth, doeth, cyfrwys.
Ebr Dafydd, gwna barotoad,
A chymer farch da danad;
A gwas difai, ystwyth-gry,
I ganlyn pen dy farch fry;
Hyd at Wgan marchogaeth,
Dy gar a'th gydymaith:
Ac ymryson doethineb,
A pharod grasineb;
Gwnewch a alloch chwi o waith,
Er a wnelo un noswaith;
A'r doethau a'r distewau,
O hyny hyd y borau,
Aed o Wynedd i'r Dehau,
Ar fy neges i minnau.
Felly'r Paun Bach pan glybu,
Aeth y noson i'w wely,
Yn llys Dafydd ab Owain Gwynedd,
Ac a orweddodd mewn hedd.
A thranoeth y boreu,
Parotöodd i'w siwrneu;
Cafodd farch da cadarn gryf,
A gwas difai ystwyth-gryf,
I ganlyn pen ei farch,
Marchogodd yn ddihafarch,
Hyd onid aeth hi o'r diwedd.
Yn Dachwedd lled hwyredd;
A'r haul o'r entrych,
Gor is cil y gwrẏch;

Amser i bob gwr gonest cu,
Ymofyn am ei letty,
Yn yr hen Gymraeg,
Orchestol ffraethinaeg.
Edrychodd o'i gwmpas,
Fe ganfu lyn dwfr-las;
Islaw'r llyn amgylchiog
Fe welai fforest goediog;
Ag is law'r fforest friglas,
Efe a welai balas;
Ac a nesaodd ato,
Ac a aeth dan y ffenestr i wrando,
Beth a glywai yn y ty,
Ag yno fe a glybu,
Gyweirio telyn rawn;
A deallodd yn uniawn,
Wrth y cywair a'r caniad,
Nad oedd neb yn y wlad,
Am y cywair hwn a'r gân,
A'i gwyddai, onid Gwgan;
I'r drws efe a farchogodd,
Ac yno efe a alwodd,
Hai! how! oes yma le,
I wr ar ei siwrne?
I luddedig farch caeth,
I fwrw ei luddedigaeth;
Ag i bori lladdedig wair,
Gwych glymmog disglair?
Oddi ar wndwn da,
Gwiw beraidd blaengyfa,
Ar yr hwn ni bu disgyniaid,
Gwyddon o'r wal-blaid.
Nag un ewig o goed,
Na nifail pedwar carnol erioed?
Oes, ebr coeg fachgenyn,
Oedd yn sefyll gyferbyn,
Wrth y drws mewn golwg,
Na wyddai dda dros ddrwg.
Pan glybu Gwgan,
Wr ffraeth allan,
Ac ateb y bachgenyn,
Fe daflodd y delyn,
O'i law ag aeth allan,
I'r drws ei hunan;
Ag a ddywaid wrth yr herlod,
Taw, atal dy dafod;
Gair cyrch ar ergyd,
Mae'r gwr yn ei ddywedyd;
Ag nid oes yma,
Mo'r fath gyfleustra.
O pei cawn i,
Ebr Paun heb hoeni,
Stanc-raff gadarn-graff,
I roi fy march wrth braff-raff
Yn y coedcae didwyll,
Yng nghysgod y nogwyll.
Di gei, ebr Gwgan,
Deall dy hunan,
Ystanc raff gadarn-graff,
A rhoi dy farch wrth braff-raff;
Daw gwylliaid o'r nogwyll,
Awyddus redant fal yr Wyll;
Ac a chwithig neidiant arno,
Ac a sowdl frathant ynddo;
Ac a'i gwerthant drachefn,
Yn chwys ysgymlaith ei gefn;
Ac a'i bwyttant ac a'i hyfant,
Ac a'i pisant gan gloddiau,
Ag a'th wnant hefyd dithau,
Yn waeth erbyn y boreu,
O werth dy farch goreu.
Ebr Paun Bach, beth ped fawn
Innau yno'n uniawn,
Yn y goedfron mewn cuddle,
Tu hwnt iddo ynte;
Ag yn fy llaw,
Mewn hwyliad hylaw,
Fwa coch gwydn,
Tost gadarn tyn:
A llinyn ystwyth hwylus ar hwn;
A saeth union-grwn,
O'i big hyd y bon;
Ag esgyll ar hon,
Cwmpas grynion;
A'i blaen llym-fain big-bwynt,
A dynai waed o wynt;
Nid oedd waeth fod,
Rhyngthwi a'm nod,
Hiddiglen neu garthen lin,
Neu dusw o redyn crin,
Na bod heulrhod yn hyn,
Neu Feudwy i'm herbyn;
Dyna'r arfau drwy'r byd,
Gwynion goreu eu gyd:
Os cawn roi fy nhroed,
Wrth dwmpath yn ddioed
A'm dwy-war ar dderwen,
A'r gwynt ol fy nghefen;
A'r haul o'm hystlys.
A'r fwya ferch a gerys
Yn fy nghalon, yn canfod,
Neu dybied ei bod:
Yno mi a saethwn
Ergyd isel-grwn,
Isel-graff cras clos,
I bell ac i agos;
Ag a drawn wybedyn
Ym mhelydr yr haul melyn.
Pa'm, ebr Gwgan heb ged,
Y lleddaist ti'r gwr cyn ei weled?
Ebr Paun pa'm y dygai'r dyn,
Y march cyn imi ddisgyn?
Ebr Gwgan yr ail tro,
Pa beth wyt ti'n ei geisio?
Ebr Paun, lletty heno,
Ydwyf fi'n ei geisio.
Letty gei di'r dyn,
Os medri di ei ofyn.
Ni cheisiai, ebr Paun Bach,
Letty amgenach:
Yn gynta cael oddi yma,
Hyd attoch chwi yna,

Lawr teils neu geryg:
Cydgyfuwchedig,
A hwn wedi ei fattio
A glâs ir-frwyn drosto,
Heb un mwy a fydd
Na llai na'u gilydd,
Nag is a fydd,
Nag uwch na'u gilydd;
Fel na lithrwn ar y taen,
Yn ol nag ym mlaen:
Dewdwr dim wy gwyn,
Neu asgell y gwybedyn:
Cael cadair esmwythedd,
Imi i eistedd,
A chlustog nesa i'r coed,
Ag un dan bob troed:
Clustog dan fy mhen a nhin,
Ag un dan pob penelin;
A'm tân o fillwydd onn,
Di fwg a di wreichion,
Da ei rym, da'i wres,
Da'i cawn dân cynhes:
Gosod hefyd blanciau,
Cyfuwch a'm gliniau,
Rhag i'r tân difrawd
Fannu ar fy nghnawd;
A thent uwch fy mhen,
Rhag y pryfaid o'r nen:
Newydd o fwydydd,
Hen o ddiodydd;
Gwel'd trwsio fy swpper,
Fy hun ar fy nghyfer:
Aml saig aml gyrch,
Pylyrau elyrch;
Secc a chlaret yn ffri,
Dilesgedd wedi ei losgi;
A'i gymmell mewn da gymmod,
Yn iach fynnech ei fod;
Yn fanwl er mawl i mi,
Ac i'm gwas les i'w loni;
A gwely esmyth-glud,
A dillad ysgafn-glud;
A morwyn o gorph cau,
A gwraig o ran oedran:
A myn'd efo hi i gysgu,
Gydag ewyllys da eu;
A chodi'r boreu eilwaith,
Gyda chariad perffaith;
Mi a gymerwn hyny,
A minnau yn o hy;
Rhag gwneuthur na bod
Gormes yn ormod,
Ar wr y ty teg,
I arlwyo ychwaneg.
Ebr Gwgan, yno'n gynt,
Nag y ceit yma'r fath helynt,
Am ryw ymofynion,
Gwael a moelweigion,
O'r fath yna,
Di a gei yn gynta,
Lawr du tyllog,
Llawn o bonciau cnyciog,
Adlechi îr leision,
A phiprau hen fonion;
Cyn y gosodit ti dy droed,
Yn wastad ddi oed,
Ti a dorit heb dwf,
Chwilgorn dy wddwf,
Cyn y delit ger llaw nid llai,
I ael aden y simnai,
Tan ymgwympo,
Mae yma iti etto,
Hen ystôl din gnwpa,
Serfell gam lipa;
Cyn eistedd ger bron,
Gyfwrdd a hon,
Hi dorai ar ei thafl,
Asgwrn dy afl;
Neu silff dy din,
Neu gogwrn dy benelin;
Ni bu gadair o goed
Yn y ty yma erioed:
Na chlustogau esmwythion,
Ond tywarch gwlyb leision.
A rheini yn un haid,
Neu'n graig o forgrugiaid,
A bisent ar dy groen,
Ag a'th roent mewn mawr boen,
I neidio ag i wingo,
Gan dy gnawd yn merwino;
Yn lle tân mae iti ffagl,
O wair gwlyb myglyd gagl;
Cyn y twyma hwn dy ewin,
Fo dyna dy ddau lygedyn;
Mae yma lonaid cunnog
O laeth enwyn gleisionog,
Tew surllyd gnapiog,
A bara haidd cisinog,
Hanner pob, haner crâs,
Wedi mallu yn gâs;
A chwech gar dy fron
O blant moel greichion,
A dannedd cwnaidd,
Ac ewinedd cathaidd;
Cyn y rhoit damaid yn dy big,
A hyny'n anniddig,
Hwy a neidient yn ddihareb,
At gig dy wyneb;
A gwaeth na'r mwg,
Hwy a dynent dy olwg;
Neu mynent yn ddi baid
Ran o bob tamaid;
Fe fyddai well eto
Gan iti fod heno,
Rhwng y tân ag wybren,
Rhwng y rhisgl a'r pren,
Rhwng y tan a'r pentan,
Neu'r lle caletaf allan;
Neu ym mol rhyw graig,
Na gwrando fi a'm gwraig,
Yn ymgegu'n goreu,
O hyn tan y boreu;

Mae iti wely ar brenau,
Cnycciog croes geinciau;
A charthen rawn ddu
It i'th gynhesu;
A hen wrach ganmlwydd oed,
A hon ar ynghyfoed,
A chanthi saith ryw geinciau,
O saith ryw fudr gampiau;
. . . . . . . .
. . . . . . . .
Cymmer hon gyda thi,
Desgyn a dos ganthi,
'R hyd a fynech a'i awrig fach,
Neu fyned yn fynychach;
I grogi a w'rafuno'r fan,
Byth o'i geg os Gwgan.
Ai Gwgan ydwyt ti?
Ie Gwgan ydwyf fi!
Gwgan oeddwn yn ei geisio.
Gwgan gefaist am y tro.
Yna pan wybu
Gwgan wedi ymgegu,
Pwy oedd y genad,
Ac oddi wrth bwy'r oedd yn dwad,
Efe a egorodd ei ddor,
I'r Paun Bach o Wigmor;
Efe a'i gwahoddodd i'r ty,
Ac a roes iddo letty;
Nid cystal er hyn,
Ag 'roedd fe'n ei ofyn;
Na chynddrwg lle,
Ag y d'wedasai ynte;
Ond rhwng y ddau rhaith,
Lle difai am noswaith.
Ae'r ddau gyfaill
I'r un ystafell,
I ymddynoethi yn fain,
Heb ond y nhw eu hunain;
Ac yno y buon
Yn ymryson,
Pob doethineb,
A chras ffraethineb;
Ag erbyn y boreu,
Ar barottoad i'r siwrneu,
Doethaf eithaf amcan,
O chwarter gair oedd Gwgan.
Fal y daeth Paun yno,
Ar farch a gwas ganddo;
Fe aeth yn ol adref,
Ar ei draed i'w dref;
Cymerodd Gwgan oddi yno,
Y march da dano;
A'r gwas da ystwyth-gry,
I ganlyn pen ei farch fry;
Ac a farchogodd yn glos,
Hyd nad oedd yn agos
I olwg llys
Yr Arglwydd Rhys;
A gofynodd beth yno,
'Roedd yr Arglwydd Rhys arno.
Ebr rhyw un fe'n clywer,
Mewn cân lle nis gweler;
Gwr call ydoedd Gwgan,
Efe a wybu yn y man,
Fod yr Arglwydd Rhys,
Y dydd hwnw yn ddigllonus;
Mewn llid a fecsasiwn,
Yn crogi ei gwn;
Ac yn curo ei weision,
A dyma'r achosion:
Dygwydd a wnaeth,
I ddydd ei helwriaeth
Syrthio ar ddiwrnod,
Yr oedd efe i fod
I roddi ei nith yn gall,
I arglwydd mawr arall;
A gollwng ei weision da,
Eu hunain i hela;
Ag erchi a wnaeth,
Yn ddi siomedigaeth,
Gynllyfanu'r milgwn,
A chwplysu'r bytheiadgwn;
Hwythau a adawson
Y cwn eu gyd yn rhyddion,
A rhai'n a wnaethant fawr-ddrwg
Pan aethant o'u golwg,
Gan redeg yn union,
Ar ddefaid y cym'dogion,
A dyna'r holl fecsasiwn,
Wnaeth i Syr Rhys grogi ei gŵn,
A'r llid a'r achosion,
Iddo guro ei weision;
Gwgan a fu gyfrwys,
Nid aeth i olwg Syr Rhys,
Tra bu yn ei ddigllonrwydd,
Ymguddiodd o'i wydd,
Ac a lettyodd y nos hono,
Yng nghysgod gwrŷch yn effro;
Gan ddywedyd, pob gwr doeth
A ddaw i'w le erbyn trannoeth;
Trannoeth yr aeth atto,
Ag fal hyn y dywedodd wrtho;
Daethym yma o Wynedd,
Ar geffyl yn geffyledd;
A cheffyledd flew arno,
A cheffyledd dith gantho;
Dyfod a allaswn,
Ar wasgerwn pedraingrwn;
Pen uchel bryd,
Tew segurllyd,
Oedd yn ystabl loywedd,
Dafydd ab Owain Gwynedd,
Bedwar cwrsel ar hugain,
O gwrseli gwynion cain,
Heb un uwch tan wŷdd,
Na gwaeth na'u gilydd;
Rhai a dorrai yn sarn,
Dywarch dan bob carn;
A phob tywarchen bach,
A fyddai'n debyccach,
I dywarch wybrenol,
Nag i dywyrch daearol,

A'u cerddediad iach,
A fydd debyccach,
I hediad gwalch,
Nag i gerddediad march;
Neu debyg i hedfa
Barcutan coch cwtta.
Ebr yr Arglwydd Rhys,
Paham ddyn dyrys
Na ddygaist ti i'r wlad,
Un o rheini danad?
A'th dithau yn ddi ffael,
Yn gallel ei gael?
I'm Arglwydd Rhys y diolchaf,
Os fy neges a gâf!
Mae fy march yn ddifai,
Os fy neges ni chai;
I'm harglwydd Dafydd ab Owen,
Y diolchaf yn llawen,
Ebr Syr Rhys wrtho,
Aros yma heno,
Os ydyw dy neges,
I'w gael yn ddi fales,
Yng Nghent, nag yn Essecs,
Di a'i cei yn ddi gnecs,
Nag yn y Castell Coch,
Nag yn Ninas y Bŵch;
Dy neges yn ddiau,
A gei erbyn y borau;
Nid yw fy neges ebr yntau,
Na rhent na melinau,
Na gwragedd cym'dogion,
Na dim o'r fath roddion,
Ond pedair punt ar ddeg,
A gown i mi, a march teg;
A phunt i'm gwasanaethwr,
March a gown i'r gwr;
Dyna, ebr Arglwydd Rhys,
Glera lled gostys;
Ni ofynodd clerwr i mi,
Erioed ei bath ond tydi;
Eto ti a gei dy ofyn,
Neu'n rhagor er hyn,
Am dy ddyfod yn bost,
Oddiwrth y gwr y daethost.
Yno cadd Wgan,
Crocso mawr, nid bychan;
Y nos hono'n goeth,
A'r boreu drannoeth,
Cadd ugain punt cyfain,
A gown, a march iddo'i hunan;
A deg punt i'w was'naethwr,
A march, a gown i'r gwr;
Wedi diolch am y cariad,
Efe a gymmerth ei gennad,
Ag aeth adre a'i frig,
Fal gwr boneddig;
Gadawodd y llawnder yng Ngwynedd,
Yn neheubarth y Bonedd;
A'r balchder helaeth,
Rhwng y ddwy dalaeth;
Y llid a'r bar llwyd,
Yn Nyffryn Clwyd;
A dyna'r lle,
Y gadewais inneu;
Ond f'aeth llid yn llen,
A'i gâr cenfigen,
Yn awr i bob parth,
Gwynedd a Deheubarth;
I drechu cydwybod,
Cariad a chymmod:
Nes i genfigen,
Yru'r bobl ben-ben;
Felly y gwnaeth cas
Wahanu y deyrnas.
Yna mae nhw beunydd,
Yn canlyn eu swydd,
Yn gyru brodyr a chwiorydd,
Yn mhenau eu gilydd;
A ffrins a chyfeillion
Yleni'n elynion.
Duw a ddelo a da ddydd,
I ni a blwyddyn newydd;
A chariad perffaith,
Yn ei ol eilwaith;
Gyda chydwybod,
Gras a chymmod;
Gyru llid a chenfigen,
O'r byd ar ei ben;
Ag yno'n deg uniawn,
Bod ag un byd da gawn.

---

## MABINOGI IARLLES Y FFYNNAWN.

Yr amherawdyr Arthur oedd yn Nghaerlleon ar Wysg; ac yr ydoedd yn cistedd un diwrnod yn ei ystafell; ac yn nghyd ag ef yr oedd Owain, fab Urien; a Chynon, fab Clydno; a Chai, fab Cynyr: a Gwenhwyfar, a'i llaw forwynion yn gwnïaw wrth y ffenestr. A phe dywedid fod porthawr ar lŷs Arthur, nid oedd yr un. Glewlwyd Gafaelfawr oedd yno, yn gweithredu fel porthawr, i arfolli[1] gwesteion a phellenigion; ac i ddechreu eu hanrhydeddu; ac i fynegi moes y llŷs, a'i ddefawd iddynt; ac i gyfarwyddo y sawl a ddelent, i'r Neuadd, neu i'r Ystafell; ac i fynegi i'r neb a ddylai lettya yno. Ac ar ganol llawr yr ystafell yr ydoedd yr amherawdr Arthur yn eistedd ar sedd o ir-frwyn, a llen o bali melyn-goch danaw; a gobenydd a'i dudded o bali coch dan ei benelin. Ar hyny y dywawd Arthur, "Ha wyr! pe y gwybyddwn na'm goganech, myfi a gysgwn tra fyddwn yn aros am fy mwyd; a chwithau a ellwch ymddiddan, a chymeryd ystenaid o fêdd, a golwython, gan Cai." A chysgu a wnaeth yr Amherawdr. A gofyn

[1] *Arfolli*,—croesawi.

a wnaeth Cynon, fab Clydno, i Cai, am yr hyn a addawsai Arthur iddynt. "Minnau a fynaf y chwedl dda a addawid i mi," medd Cai. "Nage," ebe Cynon, "teccaf yw i ti wneuthur addewid Arthur yn gyntaf; ac yna, ninnau a adroddwn i ti y chwedl orau a wypom. Myned a wnaeth Cai i'r Gegin, ac i'r Fedd-gell; a dyfod âg ystenaid o fêdd ganddaw, ac â gorflwch aur, a llonaid ei ddwrn o fêrau,[1] a golwython arnynt: a chymeryd y golwython a wnaethant, a dechreu yfed y mêdd.

"Weithian," ebe Cai, "chwi bïau talu i minnau fy chwedl."—"Cynon," ebe yr Owain, "tâl i Cai y chwedl sydd ddyledus iddaw." "Dïoer," ebe Cynon, "hŷn gŵr wyt, a gwell chwedleuwr na mi; a mwy a welaist o bethau godidawg; gan hyny, tâl di ei chwedl i Cai."—"Dechreu di dy hunan" ebe yr Owain, "o'r hyn odidoccaf a wypych." "Mi a wnaf hyny," ebe Cynon. "Unig fab mam a thad oeddwn i; a thrythyll oeddwn, a mawr oedd fy rhyfyg: ac ni thebygwn fod unrhyw anturiaeth yn rhŷ fawr i mi; ac wedi darfod i mi orfod ar bob cammwri a oedd yn yr un wlad a mi, ymgyweiriaw[2] a wnaethum, a cherdded eithafoedd byd, a diffeithwch; ac yn y diwedd, dygwyddaw a wnaethum ddyfod i'r glyn teccaf yn y byd, a gwŷdd gogyfuwch ynddo; ac afon redegawg oedd ar hyd y glyn; a ffordd gan ystlys yr afon. A cherdded y ffordd a wnaethum hyd haner dydd; a'r parth arall a gerddais hyd brydnhawn; ac yna y daethum i faes mawr; ac yn mhen y maes yr oedd caer fawr lywychedig, a gweilgi yn gyfagos i'r gaer; a pharth a'r gaer y daethum, ac yno y gwelwn ddau wr ieuanc pengrych felyn, a rhagtal aur ar ben pob un o honynt; a phais o bali melyn am bob un o honynt; a gwaegau[3] aur am fynyglau eu traed, yn eu cau; a bwa o asgwrn eliphant yn llaw pob un o honynt, ac eu llinynau o ewynau hŷdd; a phelydr eu saethau oeddynt o asgwrn morfil, gwedi eu hasgellu âg adenydd paun; a phenau aur ar y pelydr: a chyllill, a llafnau aur iddynt, a'u carnau o asgwrn morfil yn nodau iddynt: ac yr oeddynt yn ergydio eu cyllill. Ac ychydig oddiwrthynt y gwelwn ddyn pengrych melyn, yn ei ddewredd, a'i farf newydd eilliaw; a phais a mantell o bali melyn am danaw; ac ysnoden o eurllin yn mhen y fantell. Am ei draed yr oedd esgidiau o gordwal brith, a dau gnap o aur yn eu cau: a phan y gwelais i ef, yna dynesau a wnaethum attaw, a chyfarch gwell a wnaethum iddaw; ac mor foesgar oedd efe, fel nad cynt y derbyniawdd fy nghyfarchiad nag ei dychwelawdd: ac efe a ddaeth gyda mi tu a'r gaer; ac nid oedd yn cyfanneddu y gaer namyn a oedd yn un neuadd; ac yno yr oedd pedair morwyn ar hugain yn gwniaw pali[1] wrth ffenestr. A hyn a ddywedaf i ti Gai, fod yn debyg genyf bod yr hacraf o honynt hwy yn deccach na'r forwyn deccaf a welaist ti erïoed yn Ynys Prydain: yr anharddaf o honynt, harddach oedd na Gweuhwyfar, gwraig Arthur, pan fu harddaf erioed, dduw Nadolig, neu dduw Pasg, wrth offeren. A chyfodi a wnaethant i'm cyfarfod; a chwech o honynt a gymmerasant fy march, ac a ddïosgasant fy arfogaeth oddi am danaf; a chwech eraill a gymmerasant fy arfau, ac a'u golchasant mewn llestr onid oeddynt gan wyned a dim gwynaf: a'r trydydd chwech o honynt a ddodasant lieiniau ar y byrddau, ac a arlwyasant fwyd; a'r pedwerydd chwech, a ddïosgasant fy lludded-wisg, ac a ddodasant wisg arall am danaf, nid amgen, crŷs a llawdyr[2] o bliant;[3] a phais, a swrcot, a mantell o bali melyn; ac eur-rwymyn llydan ar y fantell; a hwy a ddodasant obenyddiau aml, a thuddedau o'r bliant coch iddynt, o danaf, ac yn fy nghylch; ac eistedd a wnaethum yno. A'r chwech o honynt a gymerasai fy march, a'i dyosgasant, ac a'i triniasant cystal a'r Ysweiniaid gorau yn Ynys Prydain. Ac ar hyny wele, hwy a ddygasant gawgau arian, a dwfr ynddynt i ymolchi, a thyweli o fliant gwyrdd; ac ymolchi a wnaethum. Ac yn fuan, y gŵr a eisteddodd ger y bwrdd; a minnau a eisteddais yn nesaf iddaw, a'r gwragedd oll is fy llaw innau, oddieithr y rhai oeddynt yn gwasanaethu: ac arian oedd y bwrdd, a bliant oedd liain y bwrdd; ac nid oedd un llestr yn gwasanaethu y bwrdd, namyn aur, neu fueli:[4] a dygid ein bwyd i ni. Ac yn ddiau Cai, gwelais yno bob math o fwyd, a phob math o ddïod ar a welswn yn un man arall erïoed; ond bod yn well cyweirdeb[5] y bwyd a'r llyn a welais i yno nag yn un lle arall erïoed. A bwytta a wnaethum hyd yn haner pryd, ac ni ddywawd na'r gŵr na'r morwynion un gair wrthyf hyd hyny: a phan debygai y gŵr bod yn well genyf ymddiddan na bwytta, ymofyn a wnaeth efe a mi, pa ryw ŵr oeddwn; a dywedyd a wnaethum innau, bod yn dda genyf fi gaffael a ymddiddanai a mi; ac nad ystyrid yn y Llŷs hwnw, bod i bobl ymddiddan a'u gilydd yn gymmaint trosedd. "Ha un-ben!" ebe y gŵr, "nyni a fuasem yn ymddiddan a thi, oni buasai hyny yn dy lesteirio i ymborthi; ac weithian, nyni a ymddiddanwn â thi." Ac yna y mynegais i'r gŵr pwy oeddwn, a'r achaws o'm hymdaith; a dywedais fy mod yn ceisiaw a oedd a orfyddai arnaf, neu a allwn i orfodi ar bawb. Ac yna, edrych a wnaeth y gŵr arnaf, a gowenu, a dywedyd wrthyf, "Pe na thebygwn y parwn

[1] *Bêrau*, tryferau.
[2] *Ymgyweiriaw*, ymbarottoi. [3] boglynau.

[1] melfed. [2] Trowsers.
[3] Llian main. [4] "*Bueli*,"=corn ŷch gwyllt.
[5] Cyweirdeb,=trefniad.

ormod o ofid i ti, myfi a fynegwn i ti yr hyn yr ydwyt yn ei geisiaw." A chymeryd tristyd a gofeileint[1] a wnaethum ynof am hyny; a phan adnabu y gŵr hyny arnaf, efe a ddywedodd wrthyf, "Od yw yn well genyt fynegi o honof dy afles na'th lês, mi a'i mynegaf i ti. Cwsg yma heno," eb efe, "a chyfod yn foreu, a chymer y ffordd ar hyd y dyffryn uchod oni ddelych i'r coed y daethost trwyddynt: ac yn fuan yn y coed, tydi a gyfarfyddi â gwahan-ffordd, ar y tu dehau i ti, a cherdda ar hyd hono, oni ddelych i lanerch fawr o faes, a gorsedd yn mherfedd y llanerch; a gŵr dû mawr a weli yn mhen yr orsedd, nad yw yn ddim llai ei faintioli na deuwr o wŷr y byd hwn: ac un troed sydd iddaw; ac un llygad yn nghnewyllyn[2] ei dal: a ffon sydd iddaw o haiarn; a diammeu yw i ti nad oes deu-wr yn y byd na chaffent eu llwyth yn y ffon. Ac nid gŵr hawddgar yw efe, ond hagrwedd; a cheidwad yw efe ar y coed hyny. A thi a weli fil o anifeiliaid gwylltion yn pori yn ei gylch; gofyn iddaw y ffordd i fyned o'r llanerch; ac efe a'th attyb, ac a fynega y ffordd i ti, fal y ceffych yr hyn a geisi. A hir fu genyf y nos hono; a'r boren dranoeth, cyfodi a wnaethum a gwisgaw am danaf, ac esgyn ar fy march, a cherdded rhagof ar hyd y dyffryn i'r coed: ac i'r wahan-ffordd a fyneges y gŵr y daethum hyd y llanerch; a phan ddaethum yno, hoffach oedd genyf a welwn yno o anifeiliaid gwylltion na thri chymmaint ag a ddywawd y gŵr: a'r gŵr du a oedd yno yn eistedd yn mhen yr orsedd. Mawr y dywawd y gŵr i mi ei fod ef, mwy o lawer oedd ef no hyny; a'r ffon haiarn a ddywedasai y gŵr i mi fod llwyth deu-wr ynddi, hysbys oedd genyf fi Gai, fod llwyth pedwar milwr ynddi; a hono oedd yn llaw y gŵr dû; ac ni ddywedai efe ddim wrthyf namyn gwrthgloched.[3] A gofyn a wnaethum iddaw, pa feddiant oedd iddaw ar yr anifeiliaid hyny. "Myfi a ddangosaf i ti, ddyn bychan," eb efe, gan gymeryd y ffon yn ei law, a tharaw carw â hi ddyrnawd mawr, fel y rhoddai frefiad echrys; ac ar ei frefiad yr ymgynnullodd yr anifeiliaid, onid oeddynt can amled a'r ser yn yr awyr, fel yr oedd yn anhawdd i mi gael lle o fewn y llanerch, i sefyll yn eu mysg: yr oedd yno seirph, a gwiberod, ac amryfal anifeiliaid. Ac edrych a wnaeth yntau arnynt, ac erchi iddynt fyned i bori; a gostwng eu pennau a wnaethant hwythau, ac addoli iddaw ef, fal gwŷr gwaredawg[4] i eu harglwydd! Ac yna y dywawd y Gŵr dû wrthyf, "A weli di, ddyn bychan, y meddiant sydd i mi ar yr anifeiliaid hyn?" Ac yna, gofyn ffordd a wnaethum iddaw; a garw fu yntau; ac eisoes gofyn a wnaeth efe i mi, pa le y mynwn fyned. A dywedyd a wnaethum iddaw, pa ryw ŵr oeddwn, a pha beth a geisiwn; a mynegi a wnaeth yntau i mi, "Cymer y ffordd sydd yn arwain tua phen y llanerch, a cherdda yn erbyn yr allt uchod oni ddelych i'w phen, ac oddiyno ti a weli ystrad, megys dyffryn mawr; ac yn mherfedd yr ystrad, ti a weli bren mawr, a glasach yw ei frig na'r ffynidwydd glasaf. Ac o dan y pren hwnw y mae ffynnawn, ac yn ymyl y ffynnawn y mae llech farmor, ac ar y llech y mae cawg arian wrth gadwyn arian, mal na ellir eu gwahanu. A chymer y cawg, a bwrw gawgaid o'r dwfr am ben y llech; ac yna ti a glywi dwrf mawr, a thi a debygi ergrynu y nef a'r ddaiar gan y twrf; ac yn ol y twrf y daw cawod addoer, a braidd fydd i ti ei dyoddef hi yn fyw; a chenllysg fydd y gawod, ac yn ol y gawod, hinon a fydd; ac ni bydd un ddeilen ar y pren, na ddarffo i'r gawod eu dwyn; ac ar hyny y daw cawod o adar, a disgynu ar y pren a wnânt; ac ni chlywaist erioed yn dy wlad dy hun gerdd cystal ag a ganant;" a phan fo digrifaf genyt gerdd yr adar, ti a glywi duchan a chwynfan yn dyfod ar hyd y dyffryn tu ag attat; ac ar hyny ti a weli farchawg ar farch pur-ddu; a gwisg o bali purddu am danaw; a banerig o fliant pur-ddu ar y waew; a'th gyrchu a wna yn gyntaf y gallo. O ffoi di rhagddaw, efe a'th oddiwedda; ac os arhosi di yno a thi yn marchawg, efe a'th edy yn bedestyr;[1] ac oni cheffi di yno ofid, nid rhaid i ti amofyn gofid tra fyddych byw. A chymeryd y ffordd a wnaethum hyd pan y daethum i ben yr allt; ac oddiyno y gwelwn fal y mynegasai y gwr du i mi: ac i ymyl y pren y daethum, a ffynnawn a welwn dan y pren, a'r llech farmor yn ei hymyl; a'r cawg arian wrth y gadwaen. A chymeryd y cawg a wnaethum, a bwrw cawgaid o'r dwfr am ben y llech: ac ar hyny, wele y twrf yn dyfod yn fwy arswydus nag y dywedasai y gwr du i mi; ac yn ol y twrf, y gawod. A diau oedd genyf Gai, na's diangai na dyn na llwdn a allai oddef y gawod hono, a byw; canys ni attelid un o'r cenllysg hyny gan na chnawd, na chroen, oni chyrhaeddai yr asgwrn: a throi pedrain fy march ar y gawod a wnaethum, a dodi swch[2] fy nharian ar ei ben a'i fwng, tra y daliwn y rhan uchaf o honi dros fy mhen fy hun; ac felly porthi y gawod. A phan edrychais ar y pren, nid oedd un ddalen arnaw; ac yna y daeth y wybren yn glaer, ac ar hyny, wele yr adar yn disgyn ar y pren, ac yn canu: a hysbys genyf fi Gei, na chlywais i gerdd gystal a hono, na chynt na chwedi: a phan oeddwn yn fwyaf hyfryd yn gwrandaw yr adar, wele duchan yn dyfod ar hyd y dyffryn, ac yn cyfeiriaw tuag attaf, gan

[1] *Gofeileint*,=pryder. [2] yn nghanol.
[3] Gwrthgloched=yn atteb i'm gofynion. [4] dan nawdd.

[1] "*Pedestyr*" = Gwr traed.
[2] "*Swch fy nharian;*" sef ei blaen.

ddywedyd wrthyf, "Ah! Farchawg, pa beth a'th ddug di yma? Pa ddrwg a wnaethum i ti, pan wnelit ti i mi ac i'm cyfoeth, y peth a wnaethost heddyw? Oni wyddost ti na adawodd y gawod heddyw, na dyn, na llwdn o'm cyfoeth ar a gaed allan, yn fyw?" Ac ar hyny, wele farchawg ar farch pur-ddu, a gwisg o bali pur-ddu am danaw, ac arwydd-len o fliant purddu ar hyny. Ac ymgyrchu a wnaethom; a chan fod y rhuthr yn egniawl, ni bu yn hir oni'm bwriwyd[1] i: ac yna dodi a wnaeth y Marchawg baladr ei wayw drwy afwyn-ffrwyn fy march; ac ymaith yr aeth â'r ddeu-farch ganddaw, a'm gadaw innau yno: ni wnaeth y gwr o fawredd am danaf fi, gymmaint ag i'm carcharu; ac ni'm hyspeiliawdd o'm harfogaeth. Felly myfi a ddychwelais ar hyd y ffordd yr aethwn o'r blaen; a phan ddaethum i'r llanerch yr oedd y gŵr dû ynddi, cyffesaf i ti Gai, y mae yn rhyfedd na thoddais yn llymmaid rhag cywilydd, gan a gefais o watwar gan y Gŵr Dû: ac i'r gaer y buaswn y nos gynt, y daethum y nos hono; a llawenach fuwyd wrthyf y nôs hono na'r nôs o'r blaen; a gwell y'm porthid; a'r ymddiddan a fynwn, gan wŷr a chan wragedd, a gaffwn; ac ni chrybwyllai neb wrthyf am ymgyrch y ffynnawn; a minnau ni chrybwyllais wrth neb: ac yno y bum y nos hono; a phan gyfodais y boreu dranoeth, yr oedd palfre gwineu-ddu, a ffroenau byrgoch iddaw, can goched a'r cen, wedi ei ystarnu[2] yn barod; ac wedi gwisgaw fy arfau, a gadaw fy mendith yno, dyfod a wnaethum hyd fy Llŷs fy hun. Ac y mae y march hwnw yn fy meddiant eto, ac y mae efe yn yr ystabl acw; ac yr wyf yn tystiaw Cai, na's cyfnewidiwn ef am y palfre gorau yn Ynys Prydain. Duw a wyr Cai, na addefawdd dyn arnaw ei hun, chwedl fethedicach na hon erïoed: ac yn wir, y mae yn syn genyf fi na chlywais am neb, heblaw fy hunan, na chynt na chwedi, a wyddai ddim am y chwedl hon, a bod ei defnydd yn aros o fewn cyfoeth yr Amherawdr, heb ei ddarganfod gan neb arall.

"Ha wyr!" ebe Owain, "oni fyddai yn dda myned i geisiaw darganfod y lle hwnw?"

"Myn llaw fy nghyfaill," medd Cai, "mynych y dywedi ar dy dafawd, yr hyn ni's gwnelych ar dy weithredoedd."

"Mewn gwirionedd," medd Gwenhwyfar; "buasai yn well dy grogi di Cai, na dywedyd o honot ymadrodd mor warthaĉedig a hwn yna am ŵr mal Owain."

"Myn llaw fy nghyfaill, arglwyddes dda," ebe Cai, "nid mwy o foliant i Owain a ddywedaist ti na minnau." Ac ar hyny deffroi a wnaeth Arthur, a gofyn oni fuasai efe yn cysgu ychydig?

[1] *Bwriwyd*, h.y. dymchwelwyd oddiar ei farch.
[2] *ystarnu*, =cyfrwys.

"Do, Arglwydd," attebai Owain, "tydi a gysgaist yspaid."

"A ydyw hi yn amser i ni fyned at ein pryd bwyd?"

"Y mae yn amser, Arglwydd," ebe Owain.

Ac yna canu corn ymolch a wnaethpwyd; a myned a wnaeth yr Amherawdyr, a'i deulu oll i fwytta; ac wedi darfod bwytta, diflanu a wnaeth Owain ymaith; a dyfod i letty, a pharottoi ei farch, a'i arfau a wnaeth. A phan welodd efe y dydd dranoeth, gwisgaw ei arfau a wnaeth, ac esgyn ar ei farch, a cherdded rhagddo a wnaeth, i eithafoedd byd, a thros ddiffaith fynyddau; ac yn y diwedd, efe a gyrhaeddodd y glyn a fynegasai Gynon iddaw; ac efe a wyddai yn hysbys mai dyma yr un a geisiai. A cherdded a wnaeth ar hyd y Glyn gan ystlys yr afon, ac efe a ddylynodd ei rhawd hyd oni ddaeth efe i'r dyffryn; a'r dyffryn a gerddawdd oni welai y gaer; a thu a'r gaer y daeth, a gwelai y gweision yn saethu eu cyllill yn y lle y gwelsai Cynon hwynt; a'r Gŵr Melyn a bïoedd y gaer yn sefyll ger eu llaw: a phan ydoedd Owain yn mynu cyfarch gwell i'r Gŵr Melyn, cyfarch gwell a wnaeth y Gŵr i Owain; a dyfod yn ei flaen a wnaeth efe tu a'r gaer, ac efe a welai ystafell yn y gaer; a phan y daeth i'r ystafell, efe a welai y morwynion yn gwnïaw pali mewn cadeiriau euraidd; ac ymddangosent yn llawer tecach, a mwy dymunol nag ei dysgrifiasid iddo ef gan Cynon. A chyfodi a wnaethant i wasanaethu ar Owain, mal y gwasanaethasent ar Gynon; a hoffach fu gan Owain ei borthiant na chan Gynon. A phan ar ganol ymborthi, y Gwr Melyn a ymofynodd ag Owain yn nghylch dyben ei ymdaith; ac Owain a fynegawdd iddaw, ac a ddywedodd, "Ceisiaw yr ydwyf y Marchawg sydd yn gwarchadw y ffynnawn." A gowenu a wnaeth y Gŵr Melyn, ac anhawdd oedd ganddaw fynegi i Owain y cerdded hwnw, fal y buasai anhawdd ganddaw ei fynegi i Gynon. Pa fodd bynag, efe a ddysgrifiodd y cyfan i Owain, a hwy a ymneillduasant i orphwys.

Y boreu dranoeth cafodd Owain ei farch wedi ei barottoi iddaw gan y morwynion; a cherdded a wnaeth Owain rhagddaw oni ddaeth i'r llanerch yr oedd y Gŵr Dû ynddi; ac ymddangosai maintioli aruthr y Gwr Du yn rhyfeddach i Owain nag yr ymddangosasai i Gynon; a gofyn ei ffordd a wnaeth Owain i'r Gŵr Dû, ac yntau a'i myneges: a cherdded a wnaeth Owain y ffordd mal Cynon, oni ddaeth i ymyl y pren glâs; ac efe a welai y ffynnawn, a'r llech yn ymyl y ffynnawn, a'r cawg arni. A chymeryd y cawg a wnaeth Owain, a bwrw cawgaid o'r dwfr ar y llêch: ac ar hyny, wele y twrf, ac yn ol y twrf, y gawawd; a mwy o lawer oeddynt nag y

dywedasai Cynon: ac wedi y gawawd, goleuaw a wnaeth yr awyr; a phan edrychawdd Owain ar y pren, nid oedd un ddalen arnaw; ac ar hyny, wele yr adar yn disgyn ar y pren, ac yn canu. A phan oedd digrifaf gan Owain gerddoriaeth yr adar, efe a welai Farchawg yn dyfod ar hyd y dyffryn, ac efe a ymbarottodd i'w dderbyn ef, ac ymwân ag ef yn ddrud; a thori y ddau baladr a wnaethant; ac yna hwy a dynasant eu cleddyfau, ac ymladdasant glêdd yn nghlêdd: ac ar hyny Owain a darawodd ddyrnawd ar y Marchawg, trwy yr helm, y penffestin, a'r miswrn; a thrwy y croen, a'r cnawd, a'r asgwrn, oni chlwyfawdd yr ymenydd: ac yna teimlai y Marchawg Du ei fod wedi cael dyrnod angeuawl, ar yr hyn y trodd efe ben ei farch, ac y ffodd; a'i ymlid a wnaeth Owain; ac er nad oedd efe yn ddigon agos i'w daraw â'r cleddyf, eto nid oedd bell oddiwrthaw. Ac ar hyny Owain a welai gaer fawr lywychedig;[1] ac i borth y gaer y daethant, a gollwng y Marchawg du a wnaethpwyd i mewn; a gollwng dôr dyrchafad[2] a wnaethpwyd ar Owain, a hono a darawodd ei farch o'r tu ol i'r cyfrwy, ac a'i torodd yn ddau, gan gario troellau yr ysparduniau oeddynt am sodlau Owain: a'r ddor ddyrchafad a ddisgynawdd hyd lawr; ac yr oedd troellau yr ysparduniau, a rhan o'r march oddi allan, ac Owain, a'r rhan arall o'r march oeddynt rhwng dwy ddôr; a'r ddôr i fewn a gauwyd, fel na allai Owain fyned oddiyno; ac yr ydoedd yn gyfyng-gyngor ar Owain. Ac fel yr oedd efe felly, efe a welai trwy gysswllt y ddôr, heol gyfarwyneb âg ef, ac ystryd o dai o bob tu yr heol; a gwelai forwyn bengrech felen, a rhagtal aur am ei phen, a gwisg o bali melyn am dani, a dwy esgid o gordwal brith am ei thraed; ac yn dyfod i'r porth; ac erchi agori a wnaeth. "Duw a wyr unbennes," ebe Owain, "na ellir agori i ti oddiyma, mwy nag y gelli dithau fy rhyddhau innau oddiyna." "Gwir," medd y forwyn, "y mae yn dra athrist na's gellid dy waredu; a dylai pob merch wneuthur da i ti; canys y mae y nefoedd yn dŷst na welais i erïoed was gwell na thydi wrth wraig: fel cyfaill, ydwyt y mwyaf diffuant, ac fel carwr, carwr gorau oeddit; ac am hyny," ebe hi, "yr hyn a allaf fi ei wneyd er dy wared, myfi a'i gwnaf. Hwde di y fodrwy hon, a dod ar dy fŷs; a dod y maen hwn i mewn dy law, a chau dy ddwrn am y maen, a thra y cuddi di ef, efe a'th gudd dithau. Wedi cydymgynghori o honynt, hwy a ddeuant i'th gyrchu di, i'th ddihenyddiaw; ac ymofidiant yn fawr am na's gallant dy ganfod: a minnau a fyddaf ar yr esgynfaen acw yn dy aros di: a thydi a'm gweli i, er na's gwelwyf fi dydi; a thyred dithau, a dod dy law ar ben fy ysgwydd i; ac yna y gwybyddaf fi dy ddyfod dithau attaf fi; a'r ffordd y delwyf fi oddiyno, tyred dithau gyda mi:" ac ar hyny, myned a wnaeth oddiyno, oddiwrth Owain; ac Owain a wnaeth a erchis y forwyn iddaw oll: ac ar hyny y daeth y gwŷr o'r llŷs i geisiaw Owain, i'w ddihenyddiaw; a phan y daethant i geisiaw, ni welsant ddim, namyn haner y march! a pharawdd hyny drallawd nid bychan iddynt. Ac Owain a ddiflanodd o'u mysg hwynt,—ac a ddaeth at y forwyn, gan ddodi ei law ar ei hysgwydd; a chychwyn a wnaeth hithau rhagddi, ac Owain gyda hi, oni ddaethant i ddrws llofft fawr, delediw:[1] ac agor y llofft a wnaeth y forwyn, a myned i mewn, a chau y llofft a wnaethant. Ac edrych ar hyd y llofft a wnaeth Owain, ac nid oedd yn y lloft un hoel heb ei lliwi â lliw gwerthfawr; ac nid oedd un ystyllen heb ddelw euraidd arni yn amryfal. A chynnau tân glô a wnaeth y forwyn, a chymeryd cawg arian a wnaeth hi, a dwfr ynddaw; a thowel o fliant gwyn ar ei hysgwydd, a rhoddi dwfr i ymolchi a wnaeth hi i Owain; a dodi bwrdd arian goreuraidd ger ei fron, a bliant melyn yn lliain arnaw, a dyfod a'i giniaw iddaw: a sicr oedd gan Owain, na wel'sai erïoed neb rhyw fwyd na welai yno ddigawn o honaw; eithr bod y bwyd a welai yno wedi ei goginiaw yn well na dim a wel'sai yn un lle arall erïoed: ac ni welsai erïoed arddangosiad mor ragorol o fwyd a diawd ag yno: ac nid oedd un llestr yn gwasanaethu arnaw, namyn llestri arian neu aur: a bwytta ac yfed a wnaeth Owain onid oedd yn brydnhawn hir. Ac ar hyny y clywent ddïaspedain[2] yn y gaer; a gofyn a wnaeth Owain i'r forwyn, "Pa waeddi yw hwn?" "Eneinio y gwr da bïau y gaer y maent," ebe y forwyn. Ac i gysgu yr aeth Owain. Yr oedd y gwely a barottoasai y forwyn iddaw yn gyfryw ag a fuasai yn deilwng i Arthur ei hunan: yr ydoedd o ysgarlad, a manflew, a phali,[3] a sindal,[4] a bliant.[5] Ac am haner nos y clywent ddïaspedain irad. "Pa ddïaspedain yw hwn weithian?" medd Owain. "Y gwr da bïau y gaer sydd farw yr awr hon," ebe y forwyn. Ac ychydig wedi toriad dydd, y clywynt ddiaspedain a gwaeddi anfeidrawl eu maint; a gofyn a wnaeth Owain i'r forwyn, "Pa ystyr sydd i'r gwaeddi hwn?" "Myned a chorph y gwr da bïau'r gaer i'r llan y maent." A chyfodi a wnaeth Owain, a gwisgaw am danaw, ac agori ffenestr ar y llofft, ac edrych tu a'r gaer; ac ni welai nac ymyl nac eithaf i'r lluoedd oeddynt yn llenwi yr heolydd; a hyny yn llawn arfawg;

[1] "Llywychedig," = dysglaer.
[2] "Dor dyrchafad," — *portcullis.*

[1] "*Telediw,*"=harddwych. [2] "*Diaspedain,*"=terfysg.
[3] "*Pali,*"=Sidan. [4] "*Sindal,*" =cambric.
[5] "*Bliant,*"=lliain main.

a gwragedd lawer gyda hwynt, ar feirch ac ar draed; a chrefyddwyr y ddinas oll yn canu: a thebygai Owain bod yr awyr yn adseiniaw gan gryfder eu llefau, a chan sŵn yr udgyrn, a'r crefyddwyr yn canu. Ac yn nghanol y dyrfa hono y gwelai efe yr elor, a llen o fliant gwyn arni, a phŷst cwyr yn llosgi yn aml yn ei chylch; ac nid oedd un dyn lai na barwn cyfoethawg dan yr elor. A dïau oedd gan Owain na welsai erïoed nifer can orwyched a hwnw, o bali, a sidan, a sindal: ac ar ol y llu hwnw y gwelai efe wraig felen, a'i gwallt dros ei dwy ysgwydd, ac wedi ei goliwio â gwaed lawer, a gwisg o bali melyn am dani wedi ei rhwygaw; a dwy esgid o gordwal brith am ei thraed; a rhyfedd oedd na buasai penau ei bysedd wedi eu doluriaw, gan mor egnïawl y curai ei dwylaw yn erbyn eu gilydd. A hyspys oedd gan Owain na welsai ef erïoed wraig can deced a hi, pe y buasai hi yn ei gwedd arferawl; ac uwch oedd ei chri nag oedd bloeddiadau y dynion, a sain yr udgyrn. A phan weles efe y wraig, ennynu a wnaeth o'i chariad, fel y cymmerth gyflawn feddiant o honaw. Yna efe a ymofynodd â'r forwyn pwy oedd y wraig. "Duw a wyr," ebe y forwyn, "gwraig y gellir dywedyd am dani ei bod yn decaf o'r gwragedd; ac yn ddiweiriaf, ac yn haelaf, ac yn ddoethaf, ac yn foneddigeiddiaf: fy arglwyddes i yw hon acw; ac IARLLES Y FFYNNAWN y gelwir gwraig y gŵr a leddaist ti ddoe." "Yn wir," medd Owain, "hi yw y wraig a garaf fi yn orau." "Yn wir," medd y forwyn, "caiff hithau dy garu dithau yn fawr." Ac ar hyny cyfodi a wnaeth y forwyn, a chynneu tân glô; a llanw crochan â dwfr, a'i ddodi i dwymnaw, a chymeryd towel o fliant gwyn, a'i ddodi am fwnwgl[1] Owain; a chymeryd gorflwch o asgwrn elephant, a chawg arian, a'i lanw o'r dwfr twymn, a golchi pen Owain; ac yna, agori prenfol, a thynu ellyn, a'i charn o asgwrn elephant, a dau ganawl euraidd ar yr ellyn; ac eilliaw ei farf a wnaeth, a sychu ei ben a'i fwnwgl â'r towel. Ac yna hi a gyfodes oddi ger bron Owain, a dwyn ei giniaw iddaw; a dïau oedd gan Owain, na chafas erïoed giniaw cystal a hwnw, ac na chawsai ei wasanaethu mor ddi wall erïoed. Ac wedi darfod iddaw ei giniaw, cyweiriaw a wnaeth y forwyn y gwely, "Dos yma i gysgu," ebe hi, "a minnau a âf i garu drosot ti." Ac Owain a aeth i gysgu, a'r forwyn a gauawdd ddrws y llofft, ac a aeth tu a'r gaer; a phan y daeth yno, nid oedd yno namyn tristyd a gofal, a'r Iarlles ei hun yn yr ystafell, na's gallai oddef yr olwg ar neb gan dristyd. A dyfod a wnaeth Luned atti, a chyfarch gwell iddi: ac ni's attebawdd yr Iarlles. A'r forwyn a ymgrymodd i waered tuag atti, gan ddywedyd, "Pa beth a ddarfu i ti, gan nad attebi i neb heddyw?" "Luned!" medd yr Iarlles, "pa beth a ddaeth drosot ti, fel na ddaethost i ymweled â mi yn fy ngofid? Yr oedd yn feius ynot ti; a minnau wedi dy gyfoethogi di. Yr ydoedd yn feius ynot ti na's daethost i'm gweled yn fy ngofid. Yr oedd hyny yn gamwri ynot ti." "Y gwir yw," ebai Luned, "yr oeddwn i yn meddwl fod dy synwyr da yn fwy nag y gwelaf ei fod. Ai da yw i ti alaru am y dyn da hwnw, neu am unrhyw beth arall na's gellych ei gael?" "Tystiaf i'r nefoedd," medd yr Iarlles, "na's gellir cael dŷn cyffelyb iddaw ef yn yr holl fyd." "Nid felly," medd Luned, "canys gallai gŵr hagr fod cystal ag ef, neu well." "Rhyngof a'r nefoedd," medd yr Iarlles, "pe na buasai yn wrthun genyf beri dihenyddiaw un a ddygwyd i fynu genyf, myfi a baraswn dy ddihenyddiaw, am wneuthur y fath gyffelybiaeth i mi. Fel y mae, myfi a'th alltudiaf." "Da yw genyf," meddai Luned, "nad oes genyt unrhyw achaws arall i wneuthur hyny, ond am y mynwn fod o wasanaeth i ti, tra na's gwyddit ti pa beth a fyddai o les i ti. Ac o hyn allan, mefl a fyddo i ba un bynag o honom a yro at y llall yn gyntaf i gymmodi, pa un bynag a fydd i mi geisio gwahoddiad oddi wrthyt ti, neu fod i ti o honot dy hun anfon gwahawdd i mi." Ac ar hyny, myned ymaith a wnaeth Luned; a chyfodi a wnaeth yr Iarlles, a'i dilyn hyd at ddrws yr ystafell, a dechreu pesychu yn uchel; a phan edrychodd Luned yn ôl, amneidiawdd yr Iarlles arni; a dyfod drachefn a wnaeth Luned at yr Iarlles. "Yn wir," medd yr Iarlles wrth Luned, drwg yw dy anianawd; ond os fy llês i yr oeddit yn amcanu, mynega ef i mi." "Hyny a wnaf," ebe hithau. "Tydi a wyddost na ellir dyogelu dy gyfoeth di namyn trwy filwriaeth ac arfau; ac am hyny cais yn ebrwydd a'i cynhalio." "Pa fodd y gallaf fi hyny?" medd yr Iarlles. "Mynegaf i ti," ebai Luned; "oni elli di gadw y ffynnawn, ni elli ddyogelu dy gyfoeth: ac ni ellir cadw y ffynnawn namyn gan un o deulu Arthur: a minnau a af," ebai Luned, "hyd yn Llŷs Arthur; a mefl i mi," ebe hi, "o deuaf oddiyno heb filwr a gadwo y ffynnawn, yn gystal, neu yn well na'r gŵr a'i cedwis gynt." "Anhawdd yw hyny," ebai yr Iarlles, "er hyny, dos i brofi yr hyn a ddywedaist." Cychwyn a wnaeth Luned, ar rith myned i Lŷs Arthur, a dyfod a wnaeth i'r llofft at Owain: ac yno y bu hi gyd ag Owain, onid oedd yn amser iddi ddyfod ó Lŷs Arthur. Ac yna, gwisgaw am dani a wnaeth hi, a dyfod i ymweled â'r Iarlles; a llawen fu y Iarlles wrthi. "A oes chwedlau o Lŷs Arthur?" ebai yr Iarlles. "Goreu chwedl genyf, arglwyddes," ebe hi, "gaffael o honof fy neges. A pha bryd

[1] "*Mwnwgl*,"=gwddf.

y myni di ddangos o honof yr unben a ddaeth gyda mi i ti?" "Dyred ti ag ef i ymweled a mi am haner dydd y foru," medd yr Iarlles, "a minnau a baraf gynnull y dref erbyn hyny." A dyfod a wnaeth hi adref; ac am haner dydd dranoeth y gwisgwys Owain am danaw, bais, a swrcôt, a mantell o bali melyn, ar yr hon yr oedd rhwymyn llydan o eurllin; a dwy esgid o gordwal brith am ei draed, a llun llew o aur yn eu cau: a dyfod a wnaethant hyd yn ystafell yr Iarlles. A llawen fu yr Iarlles wrthynt ar eu dyfodiad; a'r Iarlles a edrychawdd yn graff ar Owain; ac yna dywedai, "Luned, nid oes gwedd teithiwr ar y Marchawg hwn." "Pa ddrwg sydd yn hyny, Arglwyddes?" meddai Luned. "Yr ydwyf yn sier," medd yr Iarlles, "nad neb ond y dyn hwn, a yrodd ei enaid o gorph fy arglwydd." "Goreu i ti fy arglwyddes," medd Luned; "canys pe na buasai yn gryfach na'th arglwydd ni allasai ei amddifadu o'i fywyd. Nid oes feddygyniaeth am a aeth heibio, boed fel y byddo." "Dychwel i'th breswylfa, a minnau a gymeraf gynghor," medd yr Iarlles. A pheri dyfynu ei holl gyfoeth i un lle a wnaeth yr Iarlles dranoeth; a mynegi iddynt fod yr Iarllaeth yn weddw, ac na ellid ei chynnal onid o farch, ac arfau, a milwriaeth; a mi a roddaf ar eich dewis chwi, un ai bod i un o honoch chwi fy nghymeryd i, neu roddi o honoch eich cydsynied i gymeryd o honof ŵr o le arall i amddiffyn fy nhiriogaethau. Felly hwy a ddaethant i'r penderfyniad, mai gwell oedd caniattau iddi wra rhyw un o le arall; ac ar hyny, hi a anfonawdd am yr esgobion a'r archesgobion i'w llŷs, i wneuthur ei phrïodas âg Owain. A gwŷr yr Iarllaeth a wrïogasant i Owain. Ac Owain a gedwis y ffynnawn o waew a chleddyf; ac fel hyn yr amddiffynawdd efe hi; pa bryd bynag y deuai Marchawg yno, efe a'i dymchwelai, ac a'i gwerthai am ei lawn werth; a'r dâ hwnw a ranai Owain i'w farwniaid, a'i farchogion, hyd nad oedd dyn yn yr holl fyd a gerid yn fwy nag ef gan ei ddeiliaid. A thair blynedd y bu ef felly.

Ac fel yr oedd Gwalchmai un diwrnod yn gorymdaith gyd a'r Amherawdr Arthur, edrych a wnaeth efe ar Arthur, a'i weled yn drist gystuddiedig; a doluriaw a wnaeth Gwalchmai yn fawr o weled Arthur yn y drŷch hwnw; a gofyn a wnaeth iddaw, "O fy Arglwydd! pa beth a ddarfu i ti?" "Mewn gwirionedd Gwalchmai," medd Arthur, "hiraeth sydd arnaf am Owain, yr hwn a gollais y tair blynedd hyn; ac o byddaf y bedwaredd flwyddyn heb ei weled, ni bydd fy enaid yn fy nghorph. Ac yr ydwyf yn sier mai trwy y chwedl a adroddodd Cynon mab Clydno, y collais i Owain." Yna dywedai Gwalchmai, "Nid rhaid i ti wŷsio dy holl ddeiliaid dan arfau o herwydd hyn; dim ond tydi dy hunan, a gwŷr dy dŷ, a allant ddïal Owain, os ydyw wedi ei ladd; neu ei ryddhau, os ydyw yn ngharchar; ac os yn fyw, ei ddwyn ef yn ol gyda thi." Ac yn ol dywediad Gwalchmai y penderfynwyd.

Yna Arthur, a gwŷr ei dŷ, a benderfynasant fyned i geisiaw Owain: a'u nifer oedd tair mil, heblaw eu gweinidogion: a Chynon, fab Clydno a'u cyfarwyddai. A dyfod a wnaeth Arthur hyd y Gaer y buasai Cynon ynddi; a phan ddaethant yno, yr oedd y gweision yn saethu yn yr un lle; a'r Gwr Melyn yn sefyll ger eu llaw. A phan weles y Gwr Melyn Arthur, cyfarch gwell a wnaeth iddaw, a'i wahawdd; a chymeryd y gwahawdd a wnaeth Arthur; ac i'r gaer y daethant: ac er lluosoced oedd ei ganlynwyr, prin y sylwid ar eu presenoldeb yn y castell, gan mor ehang ydoedd: a chyfodi a wnaeth y morwynion i eu gwasanaethu; ac ymddangosai gwasanaeth y morwynion iddynt oll, yn tra rhagori ar bob gwasanaeth a gyfarfuant erïoed; ac nid oedd waeth gwasanaeth y meirch y nos hono, nag a fyddai y gwasanaeth ar Arthur yn ei Lŷs ei hun. A'r boreu dranoeth y cychwynodd Arthur, a Chynon yn gyfarwyddwr iddaw oddiyno; a hwy a ddaethant hyd y lle yr oedd y Gŵr Dû: ac yr oedd maintioli y Gŵr Dû yn fwy synedig i Arthur, nag y'i darluniasid iddaw; ac hyd yn mhen yr allt y daethant, ac i'r dyffryn, hyd ymyl y pren glas, ac oni welsant y ffynnawn, a'r cawg ar y llêch. Ac yna y daeth Cai at Arthur, a dywedyd wrthaw, "Arglwydd, mi a wn achaws y cerdded hwn oll; a'm dymuniad yw, ganiattau o honot i mi daflu dwfr ar y llêch; a chyfarfod y gofid cyntaf a ddêl." A chenhadu iddaw a wnaeth Arthur; a bwrw cawgaid o ddwfr ar y llêch a wnaeth Cai: ac yn y fan ar ol hyny y daeth y twrf; ac ar ol y twrf, y gawawd. Ac ni wybuant am y fath ystorm erïoed o'r blaen; a llawer o'r gwasanaethyddion oeddynt yn dylyn Arthur a laddwyd gan y gawawd. Ac wedi peidiaw y gawawd y goleuwys yr awyr; a phan edrychasant ar y pren nid oedd un ddalen arnaw. A disgyn a wnaeth yr adar ar y pren; a diammeu oedd ganddynt na chlywsynt erïoed gerdd cystal a'r adar yn canu. Ac ar hyny, gwelynt Farchawg ar farch pur-ddu, a gwisg o bali pur-ddu am danaw, yn dyfod yn gyflym tuag attynt; a Chai a'i cyfarfu, ac a ymwanawdd âg ef; a chyn bod yr ymwân yn hir, dymchwelwyd Cai oddi ar ei farch: ac yna, pabellu a wnaeth y Marchawg, a phabellu a wnaeth Arthur, a'i lu, y nos hono. A phan gyfodasant y boreu dranoeth, yr ydoedd arwydd ymwân ar wayw y Marchawg; a dyfod a wnaeth Cai at Arthur, gan ddywedyd wrthaw, —"Fy Arglwydd, er cael o honof fy nymchwelyd ddoe, o rhynga bodd i ti, myfi a gyfarfyddaf â'r

Marchawg heddyw eto yn llawen." "Tydi a elli wneyd felly," medd Arthur. A Chai a aeth rhynddaw â'r Marchawg; yr hwn a ddymchwelawdd Gai yn y fan; ac a'i tarawodd ef âg arlost[1] ei waewffon yn ei dâl, oni thorodd efe yr helm, a'r penffestin, a'r croen, a'r cnawd, hyd yr asgwrn, cyfled a phen y paladr. Ac ymchwelyd a wnaeth Cai at ei gydymdeithion drachefn: ac o hyny allan y daeth teulu Arthur bob yn ail i ymwân[2] â'r Marchawg, hyd nad oedd un heb ei ddymchwelyd gan y Marchawg, namyn Arthur, a Gwalchmai. Ac Arthur a ymarfogawdd i fyned i ymwân â'r Marchawg. "Och! Arglwydd," ebe Gwalchmai, "gâd i mi fyned i ymladd â'r Marchawg yn gyntaf." A'i adu a wnaeth Arthur. Ac yntau a aeth i ymwân â'r Marchawg, a chwnsallt[3] o bali am danaw ef a'i farch, a anfonasid iddaw gan ferch Iarll Rhangyw; ac nid adwaenid ef yn y wisg hon gan neb o'r llu: a hwy a ymosodasant y naill ar y llall, ac a ymladdasant yr holl ddydd hwnw hyd yr hwyr; ac ni allai yr un o honynt ddi farchu y llall. A thranoeth y daethant i ymwân, â pheleidr[4] cryfion ganddynt; ac ni orfu yr un o honynt ar eu gilydd. A'r trydydd dydd y daethant i ymwân, ac ysberi cryfion dros ben gan bob un o honynt; ac yr oeddynt wedi ennyn o ddigofaint; ac ymgyrchu yn ffyrnig a wnaethant hyd haner dydd: a hwrdd a roddes pob un o naddynt i'w gilydd, oni thorres holl genglau eu meirch, fel y cwympodd pob un o honynt dros bedrain ei farch i'r llawr; a chyfodi i fynu a wnaethant yn gyflym, a thynu cleddyfau, ac adnewyddu yr ymladdfa. A diamheuol oedd gan y rhai a'u gwelai hwynt felly, na welsynt erïoed ddau wr can wŷched, na chan gryfed a hwy: a phe buasai yn ganol nôs, goleuasid y wybren gan y tân o'u harfau. Ac ar hyny, dyrnawd a roddes y Marchawg i Walchmai, hyd oni throes yr helm oddiar ei wyneb, fal yr adnabu y Marchawg mai Gwalchmai oedd efe; ac yna y dywawd Owain, "Arglwydd Walchmai, nid adwaenwn i dydi er dy fod yn gefnderw i mi, o achaws dy gwnsallt, â'r hwn y'th orchuddid. Cymer fy nghleddyf a'm harfau." Yna dywedai Gwalchmai, "Tydi, Owain, sydd fuddugawl; cymer di fy nghleddyf i." Ac ar hyny, sylwai Arthur arnynt, a dyfod attynt a wnaeth. "Arglwydd Arthur," ebai Gwalchmai, "dyma Owain wedi gorfod arnaf fi, ac ni fyn fy arfau i genyf." "Arglwydd," ebe Owain, efe a orfu arnaf fi, ac ni fyn fy nghleddyf." "Moeswch attaf fi eich cleddyfau," medd Arthur, "ac yna ni bydd yr un o honoch wedi gorfyddu ar y llall." Yna Owain a ddodai ei ddwylaw am fwnwgl Arthur, ac ymgaru a wnaethant. A'r holl lu a brysurasant i weled Owain, ac i'w gofleidiaw ef; ac fe fu agos a bod celanedd yn yr ymsang hwnw. A'r nos hono yr aethant i'w pebyll; a thranoeth, ymbarottoai Arthur i fyned ymaith. "Arglwydd," ebe Owain, "nid felly y mae yn iawn i ti: tair blynedd i'r amser hwn y daethum i oddiwrthyt ti, Arglwydd; ac i mi y mae y lle hwn yn perthyn; ac er hyny hyd heddyw, yr ydwyf fi yn darparu gwledd i ti, gan wybod y deuit ti i fy ngheisiaw: a thi a ddeui gyda mi i fwrw dy ludded, ti a'th wŷr; ac fe'ch enneinir. A dyfod a wnaethant oll, hyd yn nghaer Iarlles y Ffynnawn; a'r wledd y buasid dair blynedd yn ei pharottoi, a dreuliwyd mewn tri mis: ni chawsent erïoed wledd fwy blasus na dymunol na hon. Ac Arthur a ymbarottodd i fyned ymaith; a gyru cennadau a wnaeth Arthur at yr Iarlles, i erchi iddi ollwng Owain gyd ag ef dros yspaid tri mis, fel y dangosai efe ef i bendefigion Ynys Prydain, a'u gwragedd dâ: a'r Iarlles a'i cenhadawdd, er mai tra anhawdd oedd ganddi hyny. A dyfod a wnaeth Owain gyd âg Arthur i Ynys Prydain; ac wedi ei ddyfod yn mhlith ei genedl a'i garedigiawn, efe a arhosodd gyda hwynt dair blynedd yn lle tri mis.

Ac fel yr oedd Owain un diwrnawd yn bwyta ar y bwrdd yn Nghaerlleon ar Wŷsg, wele forwyn yn dyfod ar farch gwinau, myng-grych; a gwisg am dani o bali melyn; a'r ffrwyn, a chymaint ag a welid o'r cyfrwy, oedd oll o aur: a hyd ar gyfer Owain y daeth, a chymeryd y fodrwy oddiar law Owain a wnaeth. "Fal hyn" ebe hi, "y gwneir i dwyllwr, y bradwr, yr anffyddlawn, y gwaradwyddedig, a'r di farf!" A hi a ymchwelawdd ben ei march, ac a aeth ymaith. Yna yr adgofiawdd Owain ei anturiaeth hono, a thristau a wnaeth; ac wedi gorphen bwytta, efe a ddychwelodd i'w annedd ei hun, ac a ddechreuodd ei barottoadau y nos hono. A thranoeth y cyfodes, ac nid i'r Llŷs y cyrchwys, namyn i eithafoedd bydoedd, a diffaith fynyddoedd; ac efe a fu felly oni ddarfu ei ddillad oll, ac y treuliawdd ei gorph ymaith, ac y tyfawdd ei wallt yn hirllaes; a chyd gerdded a wnelai â bwystfilod, a chyd fwytta â hwynt onid oeddynt yn gynnefin âg ef. Ond o'r diwedd, efe a wanhaodd gymaint, fel na's gallai gymdeithasu â hwynt mwyach. Yna efe a ddisgynawdd o'r mynyddoedd i'r dyffryn; a daeth i gemmaes, y teccaf yn y byd; a'r hwn a berthynai i Iarlles weddw.

Un diwrnod, myned a wnaeth yr Iarlles a'i llaw-forwynion i orymdaith ger ystlys llyn oedd yn y cemmaes, hyd ar gyfer ei ganol, a hwy a welent yno eilun dyn; ac fe'u brawychwyd: er hyny nesau a wnaethant attaw, a'i deimlaw, ac edrych arnaw; a hwy a welent fod einioes ynddaw, er ei fod yn wywedig gan wrês yr haul.

[1] "*Arlost*,"=paladr. [2] "*Ymwan*,"=ymladd.
[3] "*Cwnsallt*,"=mantell addurnawl. [4] "*Peleidr*,"=gwaewffyn.

A'r Iarlles a ddychwelawdd i'r castell, ac a gymmerth lonaid gorflwch o irad gwerthfawr, ac a'i rhoddes yn llaw un o'i gwasanaethyddesau, gan ddywedyd, "Dos a hwn genyt, a dwg y march acw, a'r dillad genyt; a dod hwy gerllaw y gŵr a welsom ni gyneu; ac enneinia ef â'r ennaint hwn ar gyfer ei galon; ac o bydd enaid ynddaw, efe a gyfyd gan yr ennaint hwn. Yna gwylia pa beth a wnâ efe." A'r forwyn a ymadawodd oddiwrthi; a chwbl o'r ennaint a roddes hi arnaw; a gadawodd y march a'r gwisgoedd gerllaw iddaw; a hi a aeth ychydig bellder oddiwrthaw, gan ymguddiaw, eto yn gwyliaw arno. Ac yn mhen yspaid, hi a'i gwelai yn cosi ei freichiau, ac yn cyfodi i fynu, ac yn edrych ar ei gnawd. A chywilyddiaw a wnaeth efe, mor hagr oedd y ddelw oedd arnaw; ac efe a ganfu y march a'r dillad wrthaw; ac ymlithraw a wnaeth oni chafas dynu y dillad attaw o'r cyfrwy, ac eu gwisgaw; a thrwy anhawsder, efe a esgynawdd ar y march. Yna ymddangos a wnaeth y forwyn iddaw, a chyfarch gwell iddaw. A llawen fu yntau wrth y forwyn, a gofyn a wnaeth iddi, pa dir oedd hwnw, a pha le? "Mewn gwirionedd," ebe y forwyn, "Iarlles weddw bïau y castell acw; a phan fu farw y gŵr, efe a adewis iddi ddwy iarllaeth, ond erbyn heddyw, nid oes ganddi ond yr un annedd hon na's dygwyd oddiarni gan Iarll ieuanc o gymmydawg iddi, am wrthod o honi ddyfod yn wraig iddaw." "Trueni yw hyny," medd Owain; ac efe a'r forwyn a aethant tu a'r castell; a disgyn a wnaeth Owain yn y castell, a'r forwyn a'i dug i ystafell esmwyth, a chynneu tân iddaw, a'i adaw yno. A dyfod a wnaeth y forwyn at yr Iarlles, a rhoddi y gorflwch yn ei llaw. "Ha forwyn!" ebe yr Iarlles, "pa le y mae yr holl ennaint?" "Oni ddefnyddiais i y cyfan?" ebe hithau. "O forwyn!" medd yr Iarlles, "ni's gallaf faddeu hyn i ti yn hawdd; a gofidus i mi oedd dreuliaw gwerth saith ugain punt o ennaint gwerthfawr, ar estron nad ydwyf yn ei adnabod. Pa fodd bynag, forwyn, gweinia di arnaw, hyd oni byddo wedi ei lwyr adferu." A hyny a wnaeth y forwyn, gwasanaethu ar fwyd a dïawd, a thân, a gwely, ac ennaint, oni fu iach: ac mewn tri mis, efe a adferwyd i'w wedd flaenorol; a daeth yn fwy hawddgar hyd yn nod nag y buasai erïoed o'r blaen.

Un diwrnod, clywai Owain gynnwrf yn y castell, a dwyn arfau i fewn; a gofyn a wnaeth Owain i'r forwyn, "Pa gynnwrf yw hwn?" "Yr Iarll a ddywedais i ti," ebe hi, "sydd yn dyfod wrth y castell, a byddin fawr ganddaw, i geisiaw difa y wraig hon." Ac Owain a ymofynawdd â hi, od oedd gan yr Iarlles farch, ac arfogaeth yn ei meddiant. "Oes," ebe y forwyn, "y rhai gorau yn y byd." "A ei di i ofyn benthyg march, ac arfau i mi," medd Owain, "fel y gallwyf fyned ac edrych ar y fyddin hon?" "Af," medd y forwyn.

A hi a ddaeth at yr Iarlles, ac a fynegawdd iddi yr hyn a ddywedasai Owain; a'r Iarlles a chwarddodd, gan ddywedyd, "Mi a roddaf iddaw farch, ac arfau dros byth; ac ni bu ar ei elw erïoed, farch ac arfau cystal a hwynt; a da yw genyf fi eu cymeryd o honaw, rhag i'm gelynion eu caffael y foru o'm hanfodd: eto ni wn pa beth a fyn ef â hwynt."

Yr Iarlles a archawdd iddynt ddwyn allan farch du telediw, a chyfrwy o ffawydd arnaw, ac â digon o arfau gŵr, a march. A gwisgaw a wnaeth Owain am danaw, ac esgyn ar ei farch, a myned ymaith, a dau facewy[1] yn gweini arnaw, yn gyweiriawl[2] o feirch ac arfau. A phan ddaethant parth a llu yr Iarll, ni welynt nac ôl nac eithaf iddaw; a gofyn a wnaeth Owain i'r maccwyaid, pa fyddin yr ydoedd yr Iarll ynddi. Hwythau a attebasant, "Y fyddin acw, y mae pedwar lluman melyn ynddi; dau o honynt sydd o'i flaen, a dau o'i ôl." Yna dywedai Owain, "Dychwelwch yn awr, a dysgwyliwch am danaf wrth borth y castell. Felly, hwy a ddychwelasant, ac yntau a aeth rhagddaw, oni chyfarfu â'r Iarll: ac Owain a'i tynawdd o'i gyfrwy yn llwyr, ac a drodd ben ei farch tu a'r castell; ac er pob anhawsdra, efe a ddug yr Iarll hyd borth y castell, at y maccwyaid; ac i mewn y daethant; ac Owain a roddes yr Iarll yn anrheg i'r Iarlles, gan ddywedyd wrthi, "Wele daledigaeth i ti am dy ennaint bendigedig." A'r llu a wersyllasant o amgylch y castell; a'r Iarll a adferawdd yn bridwerth ei einioes, y ddwy Iarllaeth i'r Iarlles, y rhai a ddygasai efe oddiarni: ac yn daledigaeth am ei ryddid, efe a roddes iddi haner ei diriogaethau ei hun, a'i holl aur, ac arian, a gemau, heblaw gwystlon.

Ac Owain a ymadawai; a'r Iarlles a'i holl ddeiliaid a fuant daerion arnaw i aros; ond ni fynai efe namyn cerdded i eithafoedd byd, a diffeithwch; ac fel yr ydoedd yn cerdded, efe a glywai ysgrêch fawr mewn coed, a'r ail, a'r drydedd; a dyfod yno a wnaeth Owain; a phan y daeth yno, efe a welai glocuryn[3] mawr yn nghanol y coed; a charreg lwyd yn ystlys y bryn; a hollt oedd yn y garreg, a sarph oedd yn yr hollt; a llew pur-ddu oedd yn ymyl y garreg; a phan geisiai y llew fyned oddiyno, y neidiai y sarff iddaw, a'i frathu; ac Owain a ddadweiniodd ei gleddyf, ac a nesäodd at y graig; ac fal yr ydoedd y sarff yn dyfod o'r graig, ei tharaw a wnaeth Owain â chleddyf, ac a'i torawdd yn ddau haner; ac wedi sychu

[1] "*Dau facewy*," = dau wr ieuanc.
[2] "*Yn gyweiriawl*," = yn arlwyedig.
[3] "*Clocuryn mawr*," = crug clogyrnog.

ei gleddyf, efe a aeth i'w ffordd fel cynt; ac efe a welai y llew yn ei ganlyn; ac yn chwareu yn ei gylch fal milgi a fagasai ef ei hun; a cherdded a wnaethant ar hyd y dydd hyd yr hwyr. A phan ydoedd yn amser i Owain orphwysaw, disgyn a wnaeth, a gollwng ei farch mewn dôl goediawg wastad; ac efe a darawodd dân, ac wedi i Owain gynneu y tân, dug y llew ddigon o danwydd i barhau dros deir-nos; a diflanu a wnaeth y llew oddiwrthaw. Ac yn fuan, efe a ddychwelai, ac iwrch mawr a hardd ganddaw, a'i fwrw ger bron Owain, yr hwn a aeth ag ef at y tân; ac efe a gymerth yr iwrch, ac a'i blingawdd, a dododd olwythion o honaw ar fêrau o amgylch y tân; a'r gweddill o'r iwrch a roddes ef i'r llew i'w yssu. Ac fel yr oedd Owain felly, efe a glywai ochenaid fawr, a'r ail, a'r drydedd, yn gyfagos iddaw; ac Owain a lefawdd, er ymofyn ai ochenaid dyn marwol ydoedd. "Ië ys gwir!" ebe y dyn. "Pwy wyt ti?" ebe Owain. "Yn ddïau," ebe hi, "Luned wyf fi, llaw-forwyn Iarlles y Ffynnawn." "Beth a wnei di yma?" medd Owain. "Fy ngharcharu yr ydys," ebe hi, o achaws Marchawg a ddaeth o Lŷs Arthur i fynu yr Iarlles yn brïawd; ac efe a arhosodd gyda hi dros ychydig amser; ond wedi hyny efe a ymadawodd am Lŷs Arthur, ac ni ddychwelawdd fyth drachefn: ac efe oedd y cyfaill a garwn fwyaf o bawb yn y byd. A dau o weision ystafell yr Iarlles a'i goganent ef, gan ei alw yn dwyllwr; a minnau a ddywedais na allai eu deu-gorff hwy ymryson â'i un corff ef. Am hyny y carcharwyd fi yn y llestr maen, a dywedid y di-eneidid fi oni ddelai ef ei hunan i'm gwaredu erbyn diwrnod pennodedig, ac nid pellach y dydd hwnw na threnydd; ac nid oes genyf neb i'w anfon i'w geisiaw ef. Ei enw yw Owain, fab Urien." "A ydwyt ti yn sicr pe y gwybyddai y Marchawg hwnw hyn oll, y deuai ef i'th waredu?" "Yr ydwyf yn ddigon sicr o hyny," ebai hithau.

Ac wedi coginiaw y golwythion, eu rhanu a wnaeth Owain yn ddau haner, rhyngddo ei hun a'r forwyn: ac wedi bwytta o honynt, hwy a gyd ymddyddanasant hyd doriad dydd. A'r boreu dranoeth, gofynai Owain i'r forwyn, a oedd un lle y gallai ef gael ymborth a lletty y noswaith hono. "Oes, fy Arglwydd," ebe hi, "croesa drosodd acw, a cherdda y ffordd gyd ag ystlys yr afon, ac yn fuan ti a weli gastell mawr, a thyrau aml arnaw; a'r Iarll bïau y gaer hono: goreu gŵr o'r byd yw efe am lettygarwch; ac yno y gelli di dreulio y nos heno." Ni warchodawdd gwyliwr ei arglwydd erïoed yn gystal ag y gwyliai y llew Owain, y nos hono. Yna y cyweiriwys Owain ei farch, ac yr aeth rhagddaw trwy y rhyd, oni weles y gaer; ac efe a aeth i fewn iddi, a rhoddwyd derbyniad anrhydeddus iddaw; a chyweirid ei farch yn ddi wall, a dodid dogn o fwyd ger ei fron: a myned a wnaeth y llew i breseb y march i orwedd, fel na feiddiai neb o bobl y gaer fyned yn agos i'r march. A diammeu oedd gan Owain, na welsai erïoed le cystal ei wasanaeth a hwnw; a chan dristed oedd pob dyn yno, a phe buasai angeu yn mhob un. A myned i fwytta a wnaethant; ac eistedd a wnaeth yr Iarll ar y naill law i Owain; ac un ferch oedd iddaw, ar y tu arall i Owain; a dïau oedd gan Owain na welsai erïoed un forwyn delediwach[1] na hono; a'r llew a ddaeth rhwng dau droed Owain, dan y ford; ac Owain a'i porthes o bob bwyd ar a oedd iddaw yntau: ac ni welsai Owain ddim erïoed yn gyfartal i dristyd y bobl. Ac ar ganol y pryd bwyd, cyfarch Owain a wnaeth yr Iarll, gan ddatgan croesawiad iddaw. Yna y dywedai Owain, "Wele, y mae weithian yn bryd i ti i fod yn llawen." "Mae y Nefoedd yn dyst nad dy ddyfodiad di sydd wedi ein gwneyd yn athrist; ond y mae genym ddigon o achos tristyd, a phryder." "Beth yw hyny?" ebai Owain. "Dau fab oedd i mi," medd yr Iarll; "a hwy a aethant ddoe i'r mynyddoedd i hela. Yn awr, y mae angenfil ar y mynydd, yr hwn a fydd yn lladd dynion, ac yn eu hyssu; a dala fy meibion a wnaeth; ac y foru yw yr amser a benderfynwyd i mi yma; ac y mae efe yn bygwth y lladd ef fy meibion yn ngwydd fy llygaid, oni roddaf fy merch hon iddaw. Y mae ffurf dyn arnaw, ond nid yw lai ei faintioli na chawr." "Dïau," ebai Owain, "trueni yw hyny: a pha un a wnai dithau o hyny?" "Y nefoedd a ŵyr," medd yr Iarll, "byddai yn well i'm meibion gael eu lladd yn erbyn fy ewyllys, na bod i mi roddi fy merch iddaw o'm bodd, i'w llygru a'i dyfetha:" ac ymddiddan a wnaethant am bethau eraill; ac yno y bu Owain y nos hono. A'r boreu dranoeth hwy a glywynt dwrf anfeidrawl ei faint; sef oedd hyny, y gŵr mawr yn dyfod, a'r ddau fab ganddaw. A mynai yr Iarll gadw y gaer rhagddaw, a rhyddau ei ddau fab. Yna Owain a wisgawdd ei arfogaeth am danaw, ac a aeth allan i gyfarfod âg ef mewn ornest, a'r llew yn ei ganlyn. A phan weles y gŵr Owain yn arfawg, ei gyrchu a wnaeth, ac ymladd âg ef; a gwell o lawer yr ymladdai y llew â'r gŵr mawr, nag Owain. "Mewn gwirionedd," medd y gŵr wrth Owain, "ni byddai gyfyng arnaf ymladd â thydi, oni buasai yr anifail sydd gyda thi." Ar hyny Owain a gymerodd y llew yn ôl i'r gaer, ac a gauawdd y porth arnaw; a dyfod i ymladd fal cynt â'r gŵr mawr; a rhuo yn dra uchel a wnaeth y llew; canys efe a glywai ei bod yn myned yn galed ar Owain; a dringaw a wnaeth oni chyrhaeddodd ben neu-

[1] "*Telediwach*," = harddach.

add yr Iarll; ac oddiar y neuadd hyd ar y gaer; ac efe a neidiawdd i lawr oddiar y gaer, ac a ymunawdd âg Owain. A'r llew a roddes ddyrnawd a'i balf ar ben ysgwydd y gŵr mawr, onid aeth ei balf drwy bleth ei ddwy glun, fal y gwelid ei holl ymysgaroedd yn llithraw o honaw; a'r gŵr mawr a gwympodd i lawr yn farw; ac yna y rhoddes Owain ei ddau fab i'r Iarll. A gwahawdd Owain i aros gyd âg ef a wnaeth yr Iarll; ac ni fynai Owain, namyn dyfod rhagddaw i'r ddôl yr oedd Luned ynddi; ac efe a welai yno dân mawr wedi ei gynneu, a dau wâs pengrych wineu deledìw, yn myned a'r forwyn, a'i bwrw yn y tân. A gofyn a wnaeth Owain pa gyhuddiad oedd ganddynt yn ei herbyn. A hwy a fynegasant iddaw y cyttundeb oedd rhyngddynt, mal y dywedasai y forwyn y nos o'r blaen; ac meddynt hwy, "Owain a'i pallawdd, am hyny yr ydym yn ei chymeryd i'w llosgi." "Dïau Marchawg dâ oedd hwnw," medd Owain, "ac y mae yn rhyfedd genyf fi pe y gwyddai ef fod y forwyn yn y cyfryw berygl, na ddeuai efe i'w gwaredu: a phe mynech chwi fyfi yn ei le ef, myfi a ymladdwn â chwi." "Mynwn," ebe y gweision, "myn y gŵr a'n gwnaeth!" A myned a wnaethant, i ymladd âg Owain; a bu y gweision yn galed ar Owain; ac ar hyny y llew a ddaeth i gynnorthwyaw Owain; ac yn nghyd, gorfuant ar y gweision. Yna y dywedasant hwythau, "Ha! unben, nid oedd ammod i ni ymladd â'r anifail acw, ac â thydi:" Yna y dodes Owain y llew yn y lle y buasai y forwyn yn ngharchar, a gwnaed mur maen ar y drws; ac efe a aeth i ymladd â'r gwŷr ieuainc megis cynt: ond nid oedd Owain yn meddu ei nerth arferol; a'r gweision a bwysent yn drwm arnaw, a'r llew fyth yn rhuo, am ei bod yn galed ar Owain: a rhwygaw y mur a wnaeth y llew oni chafas ffordd allan; ac efe a ruthrawdd ar y gweision, gan ladd un o'r gweision yn y fan; ac yn ebrwydd, efe a laddawdd y llall; ac felly y gwaredasant hwy Luned rhag ei llosgi. Ac yna y daeth Owain, a Luned, i diriogaethau Iarlles y Ffynnawn; a phan elai oddiyno, efe a ddug yr Iarlles ganddaw i Lys Arthur, a hi a fu ei wraig tra fu fyw.

Yna y cymerasant y ffordd i Lŷs y Dû Traws, ac ymladd a wnaeth Owain âg ef; ac nid ymadawai y llew âg Owain oni orfu ar y Dû Traws: a phan gyrhaeddawdd efe Lŷs y Dû Traws, efe a aeth i'r neuadd; ac yna y gwelai ef bedair gwragedd ar hugain, teeaf ar a welsai neb erïoed; ac nid oedd dillad am danynt, werth pedair ar hugain o arian; a chan dristed oeddynt ag angeu: ac Owain a ymofynawdd â hwy am yr achaws o'u tristwch; a hwy a ddywedasant, mai merched Ieirll oeddynt, a'u bod oll wedi dyfod yno gyd a'u gwŷr, a garent yn anwyl. "A phan ddaethom yma," meddynt, "nyni a gawsom lawenydd a pharch; ac fe'n darostyngid i gyflwr o feddwdod, a thra yr oeddym yn y cyflwr hwnw, deuai yr ellyll a bïau y Llŷs hwn, ac a laddai ein gwŷr oll, ac a ddygai ein meirch, a'n dillad, a'n haur, a'n harian: a chyrph ein gwŷr ydynt eto yn y tŷ hwn, a llawer eraill gyda hwynt. A llyna i ti, Unben, ystyr ein tristyd ni; a drwg genym, Unben, dy ddyfod dithau yma, rhag drwg i ti. Ac ymofidiai Owain pan glybu hyny; ac efe a aeth i orymdaith allan. Ac efe a welai Farchawg yn dyfod attaw, yr hwn a'i cyfarchai mewn modd cyfeillgar a siriol, fel pe buasai frawd. A hwn ydoedd y Du Traws. "Duw a ŵyr," medd Owain, "nad i geisiaw dy gyfeillach y daethum i yma." "Duw a ŵyr," ebe yntau, "na's cefli dithau." Ac yn y lle, ymladd a wnaethant. a hyny yn ddrud. Ac Owain a'i gorchfygawdd, ac a rwymawdd ei ddwylaw ar ei gefn: yna y Du Traws a attolygawdd nawdd gan Owain, ac a ddywedawdd wrthaw, "Fy arglwydd Owain, rhagfynegwyd y byddai i ti ddyfod yma, a'm gorchfygu, a thi a wnaethost hyny, Yspeiliwr a fu'm i yma, ac yspeildy a fu fy nhŷ: ond caniatta fy einioes i mi, ac myfi a âf yn Yspyttywr; ac a gynhaliaf y tŷ hwn yn Yspytty, i wan, ac i gadarn, tra fyddwyf byw, er llesâd dy enaid." Ac Owain a gymerth hyny ganddaw: ac yno y bu Owain y nos hono. A thranoeth y cymmerth y pedair gwragedd ar hugain, a'u meirch, a'u dillad, a chymaint ag oedd ganddynt o ddâ, a thlysau, ac a aeth a hwynt gyd ag ef hyd yn Llys Arthur; ac os llawen fuasai Arthur wrthaw gynt, pan ei gweles wedi ei golli y waith gyntaf, yr oedd ei lawenydd yn llawer mwy y pryd hwn. Ac o'r gwragedd hyny, cynnifer ag a ddewisasant aros yn Llŷs Arthur, a gawsant aros yno; a'r sawl a fynai fyned ymaith, a elai. Ac Owain a drigwys yn Llys Arthur o hyny allan, yn ben-teulu, ac yn anwyl iddaw, onid aeth ar ei gyfoeth ei hun; a'r rhai hyny oedd y fyddin o drichan brân, a edys Cenferchyn iddaw; ac i ba le bynag yr elai Owain â'r rhai hyn ganddaw, gorchfygu a wnelai. A'r Chwedl hon a elwir "Chwedl Iarlles y Ffynnawn."

---

CYNNILDEB A GWASTRAFF.

"Y mae y byd wedi bod yn rhanedig i ddau ddosbarth yn mhob oes,—y rhai a gynnilant, a'r rhai a wariant—y cynnil, a'r gwastraffus. Y blaenaf a adeiladasant yr holl dai, y llaw-weithfeydd, a'r llongau, ac a gwblhasant yr holl weithfeydd mawrion eraill, a wareiddiant, ac a ddedwyddolant ddyn; a'r gwastraffwyr ydynt yn ddarostyngedig i'r rhai a gynnilant, yn wastad; ac ni byddwn yn amgen na thwyllwr, pe y byddai i mi addaw dyrchafiad i neb annarbodus a segur."—Cobden.

# DETHOLION O GYFANSODDIADAU EDWARD MORUS.

EDWARD MORUS ydoedd Ammaethwr parchus, a Bardd medrus, yr hwn a gyfanneddai yn y Perthi Llwydion, yn agos i Gerrig y Drudion, Swydd Dinbach; ac a flodeuai yn yr ail ganrif ar bymtheg. Y mae amryw o'i Gyfansoddiadau ar gael, mewn hen Ysgriflyfrau, ar hyd a lled y Dywysogaeth; ond ychydig iawn o'i hanes a feddwn. Clywsom un o'i ddisgynyddion, yr hwn sydd yn Fasnachwr llwyddiannus yn Liverpool, yn dywedyd rai blyneddau yn ol, ei fod yn draddodiad, y byddai y Bardd yn arfer *Porthmona,* hyny yw, prynu anifeiliaid yn Nghymru, a myned a hwy i farchnadoedd Lloegr i'w gwerthu; ac mai ar un o'r cyfryw deithiau y bu efe farw, yn swydd Essex, yn y flwyddyn 1689.

Ei gyfaill, a'i gyd oeswr, HUW MORUS, o Bont y Meibion; a gyfansoddodd Alareb wir deimladwy ar yr achlysur o'i farwolaeth: a chan na's meddwn nemawr ddim arall i roddi goleu ar ei hanes, nyni a'i dodwn i fewn yma.

Briw gofid, braw a gefais,
Brwyd a fu yn brydio f'ais;
Briw 'sgymyn, braisg anmharch,
Braidd wr byw, o briddo 'i barch;
Bu arw saeth, i beri son,
Braenaru bronau oerion;
Y gair sŷ'——garw ysywaeth,
O bur wir, ni bu air waeth!
Och na bae, gwae wyneb gwir
I ni unwaith yn anwir!
Marw *Edward,* mawr awdwr,
*Morus,* oedd dymherus wr;
Llafurwr lles, llyfrwr llon,
Lliwdeg o'r *Perthi Llwydion:*
Yn ben bardd, ni bu, ni bydd,
Afiaeth brwd, y fath brydydd;
Brwd oedd ei ffrwd, brydydd ffraeth,
Aber ddeunydd barddoniaeth;
*Aer* y *Muses,* air moesawl,
Am arfer mwynder, a mawl;
Ei hawl ddeddfawl oedd aeddfed,
O *Helicon,* haela ced;
Ni wnai anrhaith, braswaith brys,
Neu duchan,—enaid iachus;
Per-air ŵr, puror araith,
Parod o rym purder iaith;
Ni bu naid i'w bennodau,
Boniwr oedd dan ben yr iau;
Ac os adwaen gwŷs *Edwart,*
Ail i ddur yn ol ei *ddart;*
Uchel nerth uwchlaw y naill,
A'i wŷch araith uwch eraill;
Pa brydydd pybur aden,
A 'hêd i'w nod—hyd y nen?
Gwaith ofer i'm gaeth ofyn;
Heb neb, i'm hatteb, am hyn!
  Bardd od, ar y beirdd ydoedd,
Blysiais ei waith, blasus oedd;
Gogoniant a gae Gwynedd,
Cyn ei fod acw'n ei fedd;
Ein seren yn y siroedd,
Ein tês gwyn, ein t'wysog oedd.
  Am *Edward* y mae adwy,
Och o'r modd, ni chauir mwy!
Oferedd mwy i Feirdd mân,
Groes nyddu gwers annyddan!
Gogoniant rhwygant yr hawg,
Egwan acen yn gnyciawg;
Gwelaf *bart* o glwyfau byd,
Gwelaf feddwi'r gelfyddyd;
Dysged, neu d'wysed y dall,
Ar dwyll eiriau'r dall arall;
Athraw gwir aeth i'r gweryd,
A wnai'r gerdd yn aur i gyd;
Sel ddïogel, sail ddigoll,
Swmer gwawd, sy' yma ar goll;
Piler breuder i brydu,
Pwys fawredd farn, posfardd fu:
Hwn oedd dad cynghanedd deg,
Eos doethder ystwyth-deg;
Ni ddae bwnc newydd o'i ben,
Flys hwylus heb flas halen;
Am eiriau mêl, angel oedd,
Glain Brydain glan-ber ydoedd;
Gwastad y plethiad i'n plith,
Gardd win oedd ei gerdd wenith;
Gwenithaidd ei gân ethol,
Gwŷg îr, heuir ar ei hol!
Gwyr yn wael, gwr ni welwn,
Gymro hardd, gymmar i hwn:
*Agoriad* y gywiriaith,
A *chlô* am iawn achlwm iaith:
Ail i *Homer* loyw hymnau,
A mil gwell am eilio gwau;
Nid *Horace,* yn y teir-iaith
A weuai wen wê'n un waith;
Goreu gwëydd awenydd wŷch,
Gweuai awdl yn gauad-wych;
Ei *Gywyddau,* gwiw addysg,
Gwir iawn ddawn, a geir yn ddysg;
Carolau'n rheolau rhad,
Cyfoethog eu cyfieithiad;
Ei *Englynion,* angel annerch,
Fyth yw swyn afiaeth a serch;
Aeth ei ben i eitha' byd,
A'i synwyr er ys ennyd.—
Ai tywod yw tŷ afiaeth?
Drygle erïoed i dreiglo'r iaith!
Ai clai Sais yw'r cloiau sydd
Ar wyneb yr awenydd?
Crynwn oll, ai crino wnaeth
Cyff derwen coffadwriaeth?
Mi wylaf am a weles,
Mae mrawd, o brïawd heb wres!
Briwo brodyr bro Brydain,
Braenu gwisg brau awen gain!
Och alar, i chwi eilwaith,
Am lestr aur melusder iaith!
Tori îr-gorph tŵr eurgerdd,
Trwm yw'r cur, tori mur cerdd!—
  Braw i daraw bradwriaeth,
Briwiau dur, i'w brïod aeth;
Fel y nant i'r ceunant cudd,
Rhed y dŵr 'r hyd ei deu-rudd;
Bu lwyth blin i blith ei blant,
O blwm uthyr, bla methiant;

Dwysder dig o dostur dôn,
Eu drwg helynt—tor calon!
Amlach, nod afiach, i'w dŷ,
Yw ochenaid na chanu!
Er ei foli, wŷr filoedd,
Y glain dysg, a glaned oedd,
Ei gymdeithion doethion dâ,
Yn ei wyneb ni wena'.—
Creigiau a syrth, cur gwayw son,
Crug drydar *Ceryg Drudion;*
Ni welwch, o cerddwch y Cwm,
Un llawen-gorph yn *Llangwm;*
Holl Ddinbych, swyddwych, sydd waeth,
Briddo enaid barddoniaeth!
Am y drych aur drefn-wych draw,
Y marc hynod, mae'r cwynaw;
Brwydr gwlad, fel brathiad bron,
Yw briw marwol bro *Meirion;*
Och genedl!—yn iach *Gwynedd*,
Ocr, Och fyth!—curwch ei fedd;
Mae'r bonedd â mawr benyd,
Marw eu bardd, mwya o'r byd;
Mawr ffrwyth hwn, mêr ffraethineb,
Mwyn iawn oedd, a mwy na neb;
Mwy oedd awen am ddeall,
Mesur cerdd, a mwys air call;
Mwy ei urddas na *Merddyn*,
Am alw Duw, a moli dyn;
Cledd dulas, claddu 'i dalent,
Trwy berfedd *Gwynedd* a *Gwent.*
Dau wythgant, meddant i'n mysg,
Pan gladdwyd pen goleu-ddysg;
Wyth ddeg a naw, a theg nod,
Oed Iesu wedi 'osod.
Daear *Essex*, dir isod,
Ydyw beddle, claddle clod;
Ei orphwysfa, cuddfa cân,
Glwys-ber yw Eglwys *Bryan:*
Arch yn barch, erchwyn y bedd,
Ydyw enw 'i dŷ annedd.
Od aeth ei ddawn, doethaidd oedd,
I Saeson yn oes-oesoedd.—
Trais du fu, trist yw f'awen!
Trwch yw 'mhwynt—torwch ymhen!
Ond Duw aeth a'i enaid ef,
I gael wyneb goleu-nef;
Ae i ganu gogoniant,
Glana' swydd, i gael enw Sant.

---

## CYWYDD I'R PARCHEDIG DAD, WILLIAM,

### DRWY RAD DUW, ARGLWYDD ESGOB LLANELWY.

Yr iaith Gymraeg yn diolch am ei ddirfawr serch tuag atti.

Hen iaith ydwyf nithiedig,
O fewn bro a fu'n y brig:
Cym'rais hir ddringo eanrau,
Cymru'n f'ymgeleddu'n glau:
A mwy rhwysg i mi o rhain
Nes bradu Ynys Brydain:
Ac i'm rhoi'n gaeth daeth i dir,
Estroniaid ystryw anwir;
Gorthrymu gwarth hir amharch,
Fy nynion heb union barch;
Llesgau braint, llosgi heb rol,
Fy llyfrau fu wall afrol.
O dwyll erioed, dallu'r iaith,
Bwrw yn tan y braint unwaith!
A minnau oll am enw ym,
Manol iaith mewn niwl aethym;
Nes cael brenin gwreiddyn gras,
Arch deyrn ar ucha'r deyrnas;
O Frutaniaid fryd doniau,
Dan ei rwysg i dynu'r iau.
Ymgodais yma gwedi,
Astudiwyd, arferwyd fi;
Difeinyddion dwfn addysg,
A beirdd dan bureiddia dysg;
Gramadegwyr awdwyr iaith,
Rhanu eofion, rhai'n eyfiaith;
Cydenw o fawl cadwen fi,
Bywiog 'wyllys heb golli:
A garw aerod y goron,
Hyder sail hyd yr oes hon,
Un rhyw a nerth yn rhoi'n ol,
I'm ryddid ymwaredol:
Cadwed Duw byw eodiad parch,
Heddyw'n hunben, ddawn henbarch;
Mae rhan dda mawrhawn ei ddydd,
Neu nifer ini yn Nofydd.
Fel yr oedd fael o'r eiddynt,
Oes ar ol gair Israel gynt,
Dan ras hwn dyner oes hedd,
Mi ga eilwaith ymgeledd.
Gwŷr am car llwyddgar wellhant,
Caen' swyddau eanys haeddant;
Mae un tad a maint ydyw,
Lew mawr iawn, Wiliam, Iôr yw!
Gwiw Arglwydd y gywirglod,
I'm diau fydd, mai da ei fod;
I dŷ Asaph dewiswyd,
Da actau'r llen, Doctor Llwyd!
Cymreigydd eu mawrygwn,
Rwysg parch yr esgob hwn;
Y dasg oedd faith dysgodd fi,
Paun llednais mewn penllwydni:
Afal Duw nef flod'yn iaith,
Gradd iawn-waed, gwreiddyn odiaeth;
Llywarch hil, llwyr âch haelion,
Pren y fawl, Ap Bran o Fôn.
Un uchel-waed ni chwiliwn,
Ucha o holl achau hwn,
Yw'r freiniol âch o'r Fron lwys,
Sy'n tarddu i sant dewr-ddwys:
Fawl geirwir o flaguryn
Iese, lle bydd ffydd a ffun;
O lwyth Juda rhwydda rhad,
Llew gwyn alluog ynad.
Ach neu barch ucha'n y byd,
Aaron fu o'r un fywyd;
A doniau perlau purlan,
Hynaws glod yn ei wisg lân:
Y Meitr aur mae at yr iâd,

I'w roi ar yr eneiniad;
Os yn y côr seinio caid,
Clywch arwydd y clych euraid!
Coeliwch ddewis cloch ddiwyd,
I alw'r praidd lawer pryd;
Ail i Pawl oleua'r peth,
Yma brigwyd am bregeth.
Llyfrwr gwiw, llefara ar goedd,
Mor ethol amryw ieithoedd;
Cynyg lewyrch can' glywed,
Bawb yn eu iaith grogwaith gred,
Weithredion mawrion a mawl
Duw, a'i ddoniau dyddanawl.
Pum gair yn yr Eglwys lwys lân,
Sydd well os hwy ddeallan,
Na myrddiwn mewn mawr ddawn iaith,
O doe athro dieithriaith.
F'arglwydd parchus hapus hedd,
Merion rhad mawr anrhydedd;
Eich hoffder sydd cynydd cu,
Rhag canmol ar y Cymru:
A'ch cariad coleddiad clau,
Hynodol i'w heneidiau;
Grasusol rhyfeddol faeth,
Gwyddoch rheologyddiaeth.
Ceidwad a choel codwyd chwi,
Uwch dynion; a'ch daioni,
Sy warcheidwad serch odiaeth,
Am iawn rwysg i minau'r iaith.
Eich lles dwfn a'ch 'wyllys da,
Yw fy nodded fwyneiddia;
I'ch enwi byth chwychwi'n bur,
Am hyn ydyw 'mhenadur;
Cyfa yw'r rhodd cof fawrhad,
Dan eich adain a chodiad;
Canlaw enwog canlynir
Wŷch lan hynt, eich ol yn hir.
Cofus dâd caf fy 'studio,
Dyna fy mraint yn fy mro;
O ran eich bod ddefod dda,
Mwyneiddfodd imi'n noddfa:
Llen a lleyg a'u llawn wellhad,
Y caf adail cyfodiad;
Yn yr oes hon ni resynaf,
Blaid a nerth blodeuo wnaf;
A'm cymmun glan, cân fel cynt,
Iawn addysg yn Nuw iddynt,
Mewn Brutaniaith clodfaith clau,
Cael enill eu calonau;
Gan fod un eu gwynfyd yw,
O'th lwyddiant a'th le heddyw,
Yn moli 'i iaith mawl o hyn,
Uwch duwioliaid a'ch dilyn.
Diolch fydd diwael iach faeth,
I'w dda dduwiol Arglwyddiaeth,
Tra byddo cofio cyfiawn,
Na Chymraeg, na Chymro iawn;
Am eich cariad gwasdad go,
Ac am gu rugl Gymreigio
Eich llafur a'ch holl ofal,
A doed dysg, a Duw a'i tâl.

## CYWYDD I MR. JOHN CYFFIN,

O FODFACH, DROS EI GEFNDER, DAFYDD DAFIS O LATHWRYD, I OFYN PAUN, A PHAUNES GANDDO.

Y Carw odiaeth caredig,
Aeron bron aur yn y brig;
Disigl wraidd, d'wysogawl ryw,
Diofnedig, dwfn ydyw.
John Cyffin rhuddin yr had,
Ifor gwŷr o fawr gariad;
Wr a braint i'w aur brint iach,
Am hap waedfawr, imp Bodfach!
Aer Wiliam orau welir,
Ag ail y tad golud hir;
Llwyn y fawl, llawen a fydd,
I'r âch hon ar ei chynydd;
Fod cyff o Fadog Cyffin,
A'i ddewr waed, a ddyru win;
Gwraidd oer pur, gwreiddyn pell,
Union nwyf, Einion Efell.
O'r tywysog rad dewisair,
Bleddyn ap Cynfyn ei cair;
Ach Cyllin, rhuddin rhoddiad,
Y Blaidd Rhudd, bu lwydd a rhad.
Ach o Eunydd ychwaneg,
Mawr enw da, a Morïen deg.
A Morgeneu mawr ganwyd,
I Ddyffryn claerwyn Clwyd;
O Urien waed yr un wedd,
A mwyn genedl Maen Gwynedd;
Ach Idnerth a'r nerth o'r nen,
Lin o Faesbroc, lan fesbren;
Ac âch Arglwydd wych eurglod,
Ystraens[1] gwraidd, egluraidd glod:
Ac arglwydd hylwydd helynt,
Heb âch gam y Bachau gynt.
Rhyw o Dudur, rhai dedwydd,
Trefor a'i lin, trwy fawr lwydd;
Gwaed F'redydd i gyd freuder,
Fychan yn y berllan ber:
Llwyn glaswyrdd llin Eglwyseg,
Ffrwyth impiad y tyfiad teg;
Gwraidd Morgan Fychan ddi fas,
Gwledd ddeau, Arglwydd Euas.
Ior llawn o barch o'r llin bur,
Llwyn Iestyn llawen ystyr;
Ach Ednowen pen y pwyll,
Bendew ydoedd, baun didwyll:
Rhyw Aleth fu'n rheoli
Dyfed, braisg dyfiad a bri;
Llin Penrhyn egluryn gwlad,
Llin Dewdwr llawn dueddiad;
Llin Brochwel llawn bur achau,
Ysgythrog, calonog clau;
Llin Bwlclai difai dyfiad,
A Glanyllyn glân wellhad;
O euraid lys Ririd lan,
Mor chwithig a Marchweithian:

[1] L'Estrange.

Diobaith hawl deubeth hir,
I'n o ryfedd ni rifir;
Eich achau aur gangau gynt,
Neu'r od aneiri ydynt:
Gyda'r gwaed gadeiriog wedd,
Duw'n rhanu dawn a rhinwedd;
Campau da mewn mwyndra mawr,
Cynneddfau clau cynyddfawr;
O lendid heb wendid balch,
O haelioni hy lanwalch;
Cymdeithas am urddas mawl,
Cu wr odiaeth cariadawl;
Oes un gwr ais enwog iach,
Yn treulio yn naturiolach,
Os myna dâl hwsmonaeth,
Y dâ a'r ŷd, i'w dir aeth;
Tori parciau tir pwrcas,
Troedio'r fron, troi daiar fras;
Cadw a dal codi adeilad,
Cynal glwys mewn canol gwlad;
Codi gwal cauedig wedd,
Caer enwog cywir rinwedd;
Pwy a wnae'r gwaith pen ar gant,
Priddfeini peraidd fwyniant?
Neuadd fraith gylchfraith galch-fron,
Neuadd i hael Nudd yw hon;
Tlws purlan tegan y tai,
Tŷ ar dyfiad tir difai;
Uchel gaer glaer eglurwych,
A henwir draw, hon yw'r drych:
Y gaer lys hon gwir leshad,
A wyr seiri er siarad,
Ei gwychder a'i huchder hi,
Isel loriog seleri.
Caer wydrog lle ceir edrych,
Cur-wlaw yn ol, caer lan wych;
Pinagl hynod y glod glau,
Perl arian y parlyrau;
Caer urddol neu brenol brith,
Cost fwyndeg, cist y fendith.
Aer y llys i roi llesiant,
Annedd cyrch noddfa cant.
Cariadus ddifregus fraint,
Croesawu caru ceraint;
Hen a gwan hwn a gynal.
A Duw am ei fwrdd a dâl;
Garllaw y plas friglas fron,
Gardd o lysiau gwyrddleision;
Caredig gwaith cydio gwŷdd,
Cydgwlwm coed a'u gilydd;
Ai pryd Paradwys ydyw?
Ai gardd Eden gwerdd ydyw?
Cennad ni las bwrpas bydd,
Cennad wyf caniad ufydd;
Dros eich câr disiomgara,
Dafydd Dafis dewis da;
'Wyllysiai gael a lles gwŷch,
A'i rwydd ganiad, rôdd genych;
Dau o'ch adar lwyddgar les,
Pen ffyniant,—Paun, a Phaunes;
Dau liwys dau oleuwych,
Dau ydyn' war, dwy ean wych;
Ceiliog dioediog ydyw,
Ac Iâr deg, ei gariad yw:
Ei chwaer ydyw o chredwn,
Chwaer at hil a chariad hwn.
Eiddig o'i lin a ddwg les,
A'i gam hir o'i gymhares,
Gwyr Paunes gwn a'i pwnia
Guddio ei nyth, godde' a wna.
Rhaid iddi ar hyd oddef,
Is cwr gallt ysgar ag ef;
A dwyn ei byd dan y berth,
Am oedfa o ymadferth;
Onid êl yn y deulwyn,
Ei chywion teg, o chant dwyn;
Oll yn gopog llon gapiau,
Wych mwy teg a chaniatau,
O'i Phaun glwys hoff iawn ei glod,
O gydnwybarch gydnabod:
A'i ryw ei hun ar ei hol,
Llu o'i dadws llai didol;
A mawrhau fal y mae rhaid,
Ei lu cynnes, liw canaid:
Deunawfed dydd rhydd fawrhad,
Y daw er ei dëoriad;
A'i chywion beilchion heb wg,
Anwylion yn ei olwg.
Dyna fyth da iawn ei fod,
Doddi cam a dydd cymmod;
Ar fagiad ei fyfogaeth,
Y siria'r Paun, siwr yw'r peth:
Paun waraidd glod, pengwyrdd glan,
Pryd angel parod yngan;
Llais cythrel rhyfel yr hir,
Llwyd hil, a chamrau lleidir;
A gwddw gwag, gweiddi o'i go,
O flaen drycin flin drwcio;
Dyrugl was blin, dryglais bloedd,
Draig gynar y dryghinoedd;
Draig laswerdd yn drwg leisiaw,
Draig yn gloch, darogan gwlaw:
Is cwr llwyn os garw y llais,
Ac oer rugledd ei greglais,
Da ydyw fal y doedir,
Ei lun a'i waith, a'i liw'n wir.
Balch edn ar dalcen dol,
Bras hoewaidd brwys heol;
Yn ei own teg, waneg wâr,
Ysgub ŷd, Esgob adar.
Oes yn ei wisg loewisg liw,
Oes medlc a symudliw;
Lloer rewynt lliw o'r awyr,
Lliw bron haul, lliw wybren hwyr;
Lliwus ganffod llacs gynffon,
Lliw aur rhudd, llawer o hon:
Llwyn pur o hyd, lliw'n parhau,
Lliw gwydr yw y llygadau:
Lliw'r llugorn, llawer llygaid,
Lliw oerlais hin, llwyr leshad;
Noblau cost yn ei blu cain,
Planedau ymhob blaen adain;

Lliw gwŷdd, a grawn, llawn y llys,
Lliw ar unfodd lliw'r enfys;
Lliw Saffrwm llysiau effros,
Lliw dôl yr haf, lliw dail y rhos;
Lliw oleufraith, lliw lifrai,
Lliw fflam werdd, llyw, a phlu Mai.
Lliw o sidan llaes odiaeth,
Lliw llyn tro, lliw llanwad traeth;
Llyw perffaith a lliw porphor,
Lliw tân a mellt, lliw tonau'r mor;
Lliw llyriaid, lliw y llurig,
Lliwiau'r bais, o'r llyw i'r brig;
Lliw rhyfedd lleuer hefyd,
Allan o bob lliw'n y byd.
Gwas dillyn a gastella,
Ei liw teg oleuad da;
Megys Ifan llydan yw'r lles,
A ryglyddai Arglwyddes.
Y Paun sil fal pwn o serch,
A Phaunes o hoff annerch;
Dêl in bro dau lan o bryd,
Lwyth eurwisg i Lathwryd:
Dêl i'ch llys diwael yw'r lle,
Gwir baenes ag aur byne.

---

## MARWNAD GABRIEL GOODMAN, Ysw.,

O NANTGLYN; YR HWN A YMADAWODD A'R BYD Y 10FED DYDD O FIS IONAWR, 1673.

Oed gwyfyn fydd hirddydd ha',
Dau flinach y diflana;
Oes yn rhwydd Iesu i'n rhan,
Braw os aeth heb rus weithian;
Och Dduw a'n pen! Och dwyn pwy?
Ddwyn Gabriel, ddawn a gobrwy.
Goodman oedd godwm i ni,
Wedi wyneb daioni;
Da ei enw, gwr doniawg oedd,
Doeth radol, da'i weithredoedd;
Am aer Edward, mawr ydyw,
Wyneb y fawl, na bae fyw!
Marw yw'r corff mor wir y caid,
Bur rinwedd; byw yw'r enaid!
Is wyneb haul oes neb byw,
Well yr hanes lle'r henyw?
Llin gwaed lle enwog ydyw,
Gabriel ŵyr i Gabriel oedd;
. . . . . . .
Ach Gawen nod y glod glau,
A dau Edward ei deidiau;
Och rwygo âch goreugwyr,
Ach Ifan Goch, a Chefn gwŷr;
O Ddogfael wr difael da,
Cynnyddol fab Cunedda;
O gangau a phrenau ffrwyth,
Tes eglur y tywysog-lwyth;
Trwy fawrwych loes trofalo lin,
Och adwyth i âch Edwin!
Och doriad neu blygiad blaen,
Ach Holbwrch wiw uchelbaun!
Ach Thelwal, och waith wylo!
Ach Brychtyn, llin brigyn bro;
Roedd o Lysfaen rodd lwysfawr,
A Marchweithian wiwlan wawr;
Gwaedoliaeth hwn goedlwyth ir,
Neu rô afon, ni rifir.
Mwy genyf yma gwyno,
Arwyl fawr ar ei ol fo;
Am guddio hwn mae gwaedd hir,
Yn iach lwyddiant! ni chleddir
Yr hawg ei ail, rhywiog wedd,
Iawn rin yn naear Wynedd.
Dysgedig nid oes gwadu,
Yn y gyfraith faith a fu;
Gwedd hwylys gwyddai helynt,
Wir swydd gall yr oesoedd gynt;
Doeth gynghorgar hawddgar rhydd,
A barn ddofn bur iawn ddefnydd;
*Solon* oedd, sail iawn addysg,
*Lycurgus* lawn dawn a dysg!
A'i gof ydoedd yn gadarn,
I gofio heb wyro barn:
Gwr ethol gwiw areithydd,
*Sisero* lyfn, ddyfn i'w ddydd!
A rhoes ym mhwyll rheswm hy,
Didlodaidd mewn dadleudy.
Ymadroddgar glaiar glod,
O iaith ddifyr, a thafod;
Pwy ar ei ol pa wr iach,
Pur ei atteb parotach?
Un o'i eiriau iawn araeth,
Eglura'r pwyth ar gloi'r peth;
Myn'd dewrwalch mwyn naturiol,
I'r gro a wnaeth, oer gri yn ol!
Ifor gwyr ei fawr gariad,
A barodd hyn o bruddhad;
Fo fedre ddiodde'n ddiddig,
Heb ddïal dwys, heb ddal dig;
Rhoi cymod er rhoi camau,
Moddion ei frig maddeu'n frau;
O bae gynen, bai gwynias,
Heddychai, fe grynai gas!
Am ddyddio oes heno son,
A throi adwyth athrodion,
Os ei bryd sobr ydoedd,
Llew o nerth, a llawen oedd.
Y ddau ynghymysg hyddysg hwyl,
Yn ei wyneb oen anwyl;
Sobreiddiwch syber addwyn,
A gwên deg gwae ni o'i dwyn;
Ni bu, nid oes bennod iach,
Araul enwog wr lanach;
Er ei degwch air digoll,
O ran Dduw a'i rinwedd oll.
Bu raid marw bryd y mawredd,
Mwynder byd a myn'd i'r bedd;
Braw dwys iawn i'w briod sydd,
A'i blino heb lawenydd:
Siwsan rwyddlan wareiddloer,

Mae'n cael nŷch mewn calon oer:
Aur Sieb wiw aeres hybarch,
Charles Goodman, o burlan barch;
Dau ffyddlon frau union fryd,
Dau'n eilio, dau anwylyd.
Diddig iawn dau ddigynwr,
Duw acth ag un, doethe gwr!
Duw'n ysgar dau'n wisgi,
Gwae dal hon o'i gadael hi!
Rhad dawn nerth rhoed Duw'n ei ol,
Iddi 'mynedd ddymunol;
Gwae'r chwiorydd gyrch hiraeth,
Oera poen yw er pan aeth
Eu brawd enwog, brau dawnus,
I'r ddaear o'i lwyddgar lys!
Sian a wylodd son alaeth,
Gwraig Mredydd Wyn, syn yw'r saeth!
Gwr cofiwn, a gwraig hefyd,
Braidd na bac brudda'n y byd:
A chur mawr i'w chwaer Mari,
Martha rhoed mewn merthyr hi:
Oera dwr ar ei dwyrudd,
Am ei un brawd mae hi'n brudd.
Mae'r Esqr. mawr ras ceraint,
O Lan Hespin brigyn braint;
A'i wreigdda bereiddia'i bron,
Yma'n eynal mewn ewynion;
Am fab yn nghyfraith faith fodd,
Gu, diwael, a'u gadawodd.
Ow'r llew gwâr! o allu gwŷch,
Ymwaredol Maer ydych;
Clywch bob hawddgar gâr gwrol,
A gwedd chwith a gwaedd o'ch ol.
Gwae'r bonedd gywir bennod,
Tros y rhain y troes y rhod;
Gwae'r wlad am y gwrol doeth,
Gwae'r enwog, a gwae'r annoeth!
Gwir Dduw Iesu gwae'r ddwysir,
Dorri pen t'wysen y tir;
Cantref gaeth yn draeth a dry,
Neu ddyffryn, oni ddeffry;
Dinbych, Ruthyn, Nantglyn aeth,
Mor drwstan weithian waethwaeth!
Gwag pob man, pob llan, pob lle,
A rhŷ wandrist yw'r Hendre;
Gwae'r cym'dogion ewynion eu,
A'i denantiaid dan untu!
A gwae'r tlawd i'w gwrt a'i lys,
Gwir yw nghwyn, gwae'r anghenus;
Yn ol rhain yn druain draw,
Dan wiwglod nid ai'n waglaw,
Hen na gwan, na hŷn nag iau,
Heb elusen o'i b'lasau;
Duw heddyw Dad Ceidwad cu,
I'm saut eilwaith sy'n talu;
Duw oeswr a'i dewise,
Mae Gabriel yn angel ne!
Pa wr erioed pur yw'r âch,
Oedd o fywyd ddifeiach?
Gwae arhôdd gaua rhyddwys,
Yn mlwyddyn ei derfyn dwys.
Dau wythgant mewn moliant mawr,
A fu synach fis Ionawr;
Deg seithwaith iawnwaith uniawn,
A thair blwydd oedd Arglwydd dawn.
Yn iach wrda na chardod,
I'r ne glaer yr awn a'i glod.

---

MARWNAD THOMAS JONES, o'r CRICCYN.

Och! gŵyn byth! och gau un bedd!
Och gloi dawn! och gwlad Wynedd!
Och lwyrnych! och alarnad!
Och wae yn hir! och wanhad!
Och ruddfan uwch arwydd-fardd!
Och fawr bwys, och farw bardd!
Och draw o'r loes, och drwy'r wlad!
Och am wr a chymeriad!
Aeth angau a'n elyniau clod,
Aeth a'r hen athro hynod.
Os Thomas aeth, mae saeth syn,
Ar cri acw i'r Criccyn.
I'w dreftad drwy fywyd hir,
Ei wir iawndai a'i randir:
A dug yno yn deg einioes
Yn dda ei air, yn nyddiau 'i oes.
Mewn hydrael mae'n hwy oedran,
Un gair o'i glod na gwr glan.
A hwy nag oes hŷn nag iau,
Yr â gair ar y gorau.
Tomas gyweithas goethwawd,
Jones oedd eofn golofn gwawd;
Gwr a fu a ddarfu ei ddwyn,
Gynneddfol ac yn addfwyn;
Oedd a'i fydol ddyfodiad,
O Hedd Molwynog a'i had.
Ei lin a'i waed a'i lân wedd,
A fu enwog o fonedd.
Gwanu'r mars, gwae ni o'r modd,
Gwaed Tegeingl a gwttogodd!
O ryw Edwyn yr ydoedd;
Yn rhoi dysg ein herod oedd.
Yn dariau henaduriaeth,
Cyfiawn oedd ein eofio wnaeth.
Ninau gofiwn nen gwiwfawl,
Wedi fyn'd, ei waed a'i fawl;
Gwae lawer rhai galar hwn,
Yw'r gafod oer a gofiwn.
Gwae ei gywelu gu galon,
Troes Duw ei hwyl, trist yw hon:
O'i mawrserch y mae arswyd,
O loes a chur i Ddows Llwyd.
Gwae mor dost, gwae am wr da,
Gwae fu'n ais ei gyfnesa!
Ei blant ffyniant hoff winwydd,
A'i wyrion gwiw, aeron gwŷdd;
Ei wyr sydd aerwys iddo,
Ei wyr o'i fab, a'i aer fo.
Blanche wreigedd, iawnwedd enaid,
Yw'r ail tô ar ol y taid:

Priod, a merch gloywserch glod,
I'r ddau Sion urddas hynod.
Sion Siones oedd, Sion Siones heddyw,
Sydd yn cadw yr henw a'r rhyw;
Aer ac aeres breules brig,
Ar y ddeudy urddedig.
Y Ddol, a'r Cricyn a ddaeth,
I'w dwylaw o waedoliaeth;
Dau hoff anwyl daw ffyniant,
Yn eu plith yno a'u plant.
Un o gyrhaedd iawn gariad,
Tomas, ail Tomas y tad;
Yw'r ail mab araul a mwyn,
O 'marweddiad mor addwyn.
Magdalen sydd mewn cerydd cwyn,
A Marged mwya' oergwyn;
Oer i Sioned ras union,
Ei wyres ef, a'i aer Sion;
Droi' i chwynion drwy ochenaid,
A gwae fyth hon gofio ei thaid!
Wiliam gwyr yr ŵyr o'i ryw,
Gofio ei daid, gofid ydyw:
Er y ceraint, er cariad,
Er llaw chwyrn, er llu a chad;
Er cyfaill, er a'i cofia,
Er moesau a doniau da;
Er cymydog pwyllog pur,
Dyn ni ddeil dan ei ddolur.
Angau tremlas ing trymlyd,
Ryw ddydd a'i gorfydd i gyd;
Ni orfydd yn ei arfod,
Un gwell bardd na gallu bod!
Achwr oedd ucha'i raddau,
Iach iraidd frig, a cherdd frau.
Cist ein hiaith, berffaith heb wâd,
Croniglwr cyrau nawgwlad;
Ail i Ferddin lafarddoeth,
A berw'r pen o bair poeth:
O bair Cyridwen y bu,
A'r pair wedi ddarparu;
Brut o'i lais, brawd Taliesin,
A'i fawl a geid fal y gwin.
Gwin melus a ganmolynt,
Gwell cerdd o'i fin na gwin gynt!
A hwn ydoedd henadur,
Ac awen byd a'i go yn bur;
Gwinllan hen, neu ganllaw'n hiaith,
Gweuad addysg gwawdyddiaeth;
Mawr athro am yr wythran,
Ymadrodd profodd bob rhan;
Clymu, eilio, cloi melwawd,
Cydio'n gerth, cadwyno gwawd:
Cadair oedd, coed ireiddwych,
Cangau'r gerdd, a'u cyngor gwych;
Gweuad adail Gwawdodyn,
Cerddgar mawr, llafar mal llyn.
Gwae ni fyth gau'n ei fedd,
Ganghenau'r groes gynghanedd!
Cadernid cauwyd arno,
Call hyd ei fedd, collwyd fo;
Cell awen oedd, colli wnaeth,
O ferddynion farddoniaeth.
Rhown ein cerdd ddeilwerdd ddilyth,
Yn tân bawb, ond hyny byth;
Am fyn'd tad y gramadeg,
Mae'n haint oer, mewn henaint teg.
A glân iaith i'w ganlyn ef,
I gael wyneb goleu-nef;
Ac i ganu gogoniant,
Ddyfal serch i Dduw fal sant.
Ran ddi wg yr un ddigoll
Gân, amen, a ganom oll.

---

CYWYDD, MOLIANT, I'R ANRHYDEDDUS THOMAS MOSTYN, YSW.,

AC I'W ANNEDDFAWR GYNALIAETH YN NGLODDAETH; MEWN FFORDD O GYNNILDEB AR GYWYDD WYNEB A GWRTHWYNEB YN GYFRODEDIG DRWYDDO AR GYNGANGEDD GROES-RYWIOG DDYCHWELEDIG.

Mi af i'r Llys, mwy-fwy'r llwydd,
Daith hwylus odiaeth hylwydd;
Lles yr iaith, llys orau oedd,
Llys Gloddaeth, lles y gwleddoedd.
Llys orau sydd, lles yw'r serch,
Llys awenydd, llais annerch;
Llys orau fydd, lles ar faeth,
Lles beunydd, llys i bennaeth:
Sgwier Mostyn, ais grymusder,
Llŷs y Glyn, lluaws o gler;
Llŷs Tomas, a llŷs twymyn,
Yw'ch llŷs bras, uwch llawes bryn.
Llŷs da i glod, lluesty gwledd
Llŷs hynod, lles i Wynedd.
Mae'n lles yr hwyl, mae'n llŷs rhydd,
A lle anwyl llawenydd.
Llŷs gorau dawn, llŷs gwr da,
Gwiw rywiog-ddawn, a gwreig-dda:
Llys gwrda, llys y gardod,
Llys da i gla, llys diau glod:
Llys Ifor, a llys afiaeth,
Llys yn min môr, lles mewn maeth:
Llys rhoddion, llys yr haeddiad,
Yw'r llys hon, orau llesâd;
Llys amlhau, lles mil yw hwn,
Llys gorau llys a garwn.
Llys y fawl wyllysiaf fi,
Ddedwyddawl, ddwad iddi.
Llys a ddysg, a lle sydd dda,
Lle gwir addysg, lle gwreiddia;
Llys ffynon, lle hoff i mi,
Llys gar bron, lles gwyr a'u bri:
Llys gwir gerdd, llais ag ergyd,
Llys y gerdd, a'i lles i gyd:
Llyfrdy y ddawn, llafur da i ddysg,
Lle breuddawn llwybrau addysg:
Llys gras mawr, llys groesaw mwyn,
Llys raddfawr, lles wyr addfwyn;

Llys gwyn maeth, llys gwin a medd,
Llys benaeth, llys y bonedd;
Llys seigiau lluosogion,
Llys gwr brau, a lles gar bron:
Llys enwog allo synwyr,
Llys aml cog, llys mel cwyr;
Llys biroedd, lle syberwyd,
Llys a bïoedd rhoi lles bwyd:
Llys dedwydd, lles da ydyw,
Llys a lwydd, a llesol yw:
Llys gwr mawr, 'wyllysgar mwyn,
Llys graddfawr, lles gwareiddfwyn:
Llys bendith, llys byw undod,
Llys fel gwlith, 'wyllys fawl glod;
Llys rhad Duw, lles i'r tai,
Llys un-duw ail 'llusendai:
Llys gair mwys, llys garw mawl,
Llys baradwys, lle ysbrydawl:
Llys aberth, lles ei wybod,
Llys aer y nerth, lle sai'r nod;
Llys hwyr y cei lles aer call
Llys aeres yw'r llys arall.
Llys dilys, lles adeilad,
Llawer llys i'w llwyr wellhad.
Llys iach hwyl, llys wych yw hon,
Llys dau anwyl, lles dynion.
I'w llys dalio lles dilyth,
Llaw Duw fo i'w llwyddo fyth.

---

## CYWYDD, Y PRYDYDD YN YMLIW A'I AWEN.

Fy Awenydd fai annoeth,
Fael egwan bwnc, fal gwŷn boeth;
Pa gynwr iaith? Pa gân rydd,
Bu'n mynych boeni ymenydd?
Pa drydar pendro ydwyt,
Pry'n y pen, pa anhap wyt?
Pa ofer swn? Pa ferw sydd?
Pa ruadwr yw Prydydd?
Paid a'r gerdd pe doi awr gall,
Paid awen, pwy a'i deall?
Pa astudio, pwys dadwrdd?
Pam na ffoi o'r pen i ffwrdd?
Pa ryw swn parhaus ynof?
Pa ddulio cerdd? Pa ddal cof?
Pa barch yw pybyrwch iaith?
Pa ryw enill pur unwaith?
Ai i'r *Muses* 'rwy'n ormeswr,
A dâl dreth ac ardreth gwr?
Prudd westl, pwy rydd wystlon
Am hau cerdd, am *Helicon?*
A phwy a bryn fryn yn frau,
*Parnassus*, purion oesau?
Myfi werthaf, trymaf tro,
Hwyl annoeth fy hawl yno.
Bum golledwr, rhodiwr rhydd,
R'y fynych ar f'awenydd.
Colli wnes, cell awen iaith,
Oerfryd hen ar Frutaniaeth.
Coll amser ofer afiaeth,
Colli budd, cael llai o beth.
A cholled, na wyped neb,
Colli enill callineb.
Nid o'm cerdd, fel oferddyn,
Y daw lles 'rwy'n deall hyn.
A rhy hwyr, mae'n llwyr y llais,
O doi arall y deallais.
Celaf addysg celfyddyd,
Seisnigedd yw bonedd byd;
Ar Saesneg deg y dygwydd
Pur iach wellhâd, parch a llwydd.
Canoes cwsnaeth cawn Saesneg,
Llafur, tâl, a llyfrau teg;
A gwaith ein Beirdd, gwaeth yw'n byd,
Mewn llai achles, mae'n llychlyd.
Llafur ein hoes, llyfrau'n hiaith,
A dalenau di lanwaith;
Pob barcutan llyfrau llwyd,
Heb lai acw a bliciwyd;
Colli'r plu cael llawer plant,
A rhai egron a'u rhwygant;
Pob dalen, gwelen g'wilydd
Yn tanio *tobacco* bydd!
Mae iaith gain Prydain heb bris,
Mae'n ddirprwy, mae'n ddibris;
Darfu ar fath dirfawr fodd,
Ei 'mgeleddiad ymgwilyddiodd.
Y Gymraeg a gam rwygir
Cywilydd ar Gywydd yw'r gwir.
Darfu ei braint, a'i faint fu,
A'i mewn lloches mae'n llechu?
Na choded yn iach wedi,
Mawr yw hyn oll, o'm rhan i.
Pa awr a'n dwg? Pa wŷr da?
Pa sicrwydd? Pwy a'u swera?
Pwy a wna (nid o'm pen i
Nod addysg) farwnad iddi?
Taw awen, gâd rhwymiad rhydd
Pin lanwaith, i'm pen lonydd.

### AWEN.

O'w'r Brutwn annhalgrwn hwyl!
Fu o'i Awen fwy anwyl;
A ddigiaist ti ddygas twyll,
Wrth d'awen, araeth dywyll?
Anufudd dro, na fydd drwm,
Duw a'm rhoes, dyna'm rheswm.
Dawn Duw ydwyf dyn didwyll,
O'm hiawn arfer purder pwyll.
Gwnia di'r iaith, gwna dy ran,
Da yw d'wyllys; dod allan;
Ac na thrista llawna llyd,
I'm plaau agos o'm plegyd.
Mwy rhad yw mawrhad awen,
Di gei barch, a dwg i ben;
O'r gelfyddyd, poen-fryd pell,
Nid oes golled, dysg well-well.
O borthmonaeth gobaith gwan,
Mae colled o'm cau allan;

Os troi at Saesneg, deg daith
Nid oes dim ond estroniaith.
Mwyn glod hir mae i'n gwlad hon
Fagad o bendefigion,
Eto garant deg eiriau,
Y bur iaith hen, heb warthau.
Dwg gwyn i'r rhain, diau cai'n rhwydd,
Iti'n swcraeth, tan sicrwydd.
Y pinagl iaith pena'i glod,
Yw aer Mostyn, rym ystod.
Tomas o rad di amharch
Aer Syr Rosier, purder parch.
Aer a'i genedl ar gynydd,
Aer marchog, yn farchog fydd;
Aer Gloddaeth o Arglwydd-waed,
O fawrhydi gwythi gwaed.
Colofn yr iaith odiaeth wr,
Am glau addysg ymg'leddwr.
Sel o fewn oes sylfaen iaith,
A brawd henaf Brutaniaith.
Cais i'r fan, cysur a fydd,
Tyn di yno, tan ei 'denydd.
Pena o'r llwyth pwy wna'r lles,
Aer Gloddaeth, a'i Arglwyddes?
Aeres i fil a roes fudd,
O ryw *Savage*, was ufudd
Dau hoff anwyl, da eu ffyniant,
Gwres hap a lwc, gras i'w plant.
Gyda hwn i'w gyd henwi,
Yn glod a nerth i'n gwlad ni,
Mae un arall mwyn eryr,
O'i gym'dogaeth, gobaith gŵŷr;
Ei gar, enaid gwirionedd,
Robert Wynne, oreubert wedd,
Aer y Berth ddu, rwyddgu ran,
Dwysgall, a Bodysgallan.
Mae'r ceraint mawr eu cariad,
O fawl a dull fel ei dad.
Fe gar yr iaith, glodfaith glau,
Car feirddion, ceir i'w fyrddau.
Dyna ddau, daioni a ddel,
Yn dynged i'n dau angel.
Llewod agos lle eu digir,
Dau oen i'r gwan, dyna'r gwir.
Purwych hoyw-gamp, parch hawddgar,
Cymraeg hen, Cymry a'u câr.
Dos i'r llysoedd, lleoedd llawn,
Gwa'dd a gefaist, gwedd gyfiawn,
Na chyrch o anwych ornest,
Cymer wa'dd un cam o'r west;
A rhwydded oll rhoddwyd it,
Wahoddion er na haeddit.
Cei o fwynder cyfiawn-drefn,
Dau enwog wr, a Duw yn gefn.

PRYDYDD.

Da gwnest hebgor cyngor co,
I'm f'awen, mi af yno.
Duw o fwynder dy fendith
Drwy gwblhad a drig i'n plith.

## CYWYDD YN ERBYN MEDDWDOD.

Bradus yw'n gwlad gwiriad gau,
Baich hudol o bechodau;
Llwythog ac euog ei gwedd,
Tan wyro at anwiredd.
Un baich a wn o bechod,
Yn dwyn rhwysg o dan y rhod;
Yw Meddwdod, gormod a'i gŵŷr,
A roes anaf ar synwyr;
Poen drwy fâr, pendro a fydd,
Dra mynych i droi 'menydd.
Gormod o ddiod a ddwg
Un ofer-ddrud ar fawr-ddrwg.
Pwy a ddengys a'i fys fai
Mwy na gwendid mewn Gwindai?
Mân defyrn yma'n difa
A byw ar dwyll, heb air da.
Pa anhwyl waeth? Pwy na lwnc
Pob treflan? Pawb a'i traflwnc.
Ac yfed frwd gafod frau,
Dros fesur, diras foesau;
Cyfeillach drwy afiach dro
A fu'r esgus o frwysgo.
Pylu'n hurt, pa wael wanhau
Os yn hir y synhwyrau;
Pylu'r cof trwy anghof trwm,
Bydd rhusol boddi rheswm;
Dinystrio'r corph a'i orphen,
Dallu pwyll, deall y pen.
Cyfeillach drwy afiach dro,
Mewn byr esgus mae'n brwysgo.
Oes modd, neu os meddwyn wyd
Troi'n adyn, truan ydwyd.
Pob afiechyd clefyd clyw,
Di rin wyd, dy ran ydyw.
Wrth ruo cofio cyfaill,
Haner nos a henwi'r naill:
Yr iechyd, ni wrthyd neb,
Phiol lawn o ffolineb.
Dan dy drwyn gwenwyn i gyd,
Yfi achos o afiechyd.
Ei drwyn yn goch, draenog wŷn,
Mor euraid a marwor yn.
Tanbaid yw'ch llygaid eich llog,
Gloyw-gochion ag ael guchiog.
Delw y Tad, dilewyd hi,
Gwarth wyneb a gwrthuni.
Aflendid newid yn ail,
Dan yfed, i anifail.
Gwylia feddwyn, gwael fyddi,
O garu'n llyn, gwrw'n lli;
Dal i'th law, diluw a'th wlych,
Hwn a fawdd, hyn a feddych.
Gwall i ddyn golli ei dda,
Ofer daith efo'i eirda;
Os gwall rhoi isgell yr haidd,
Yn ei fol anifeilaidd.
Gwylia feddwyn, gwael fyddi,
O garu'n llyn gwrw'n lli.

Drwg a wyddost drwy goddiant,
Dryg-waith blin, dy wraig a'th blant.
Drwg i'r corph drwy'r cwrw y caid,
Drwg o ran drygu'r enaid.
Digio Duw, dwg y dial,
Diau it wr y daw tâl.
Oni wellai cyn y llwch,
Tro dy fâr trwy 'difeirwch.
Car air Duw, cywir yw'r dydd,
Ofna'r cur, ofna'r cerydd.
Moddion chwith, meddwon ni chant
Etifeddu at foddiant,
Teyrnas Dduw, trwy naws ei ddig,
Can' ffwrn yn cynneu'n ffyrnig.
Gwae feddwon y gau fyddin
Ephraim wyr, effro am win;
Nid gweddaidd y dygwyddiad,
Ba noeth glwyf i bennaeth gwlad.
Anweddeiddiach yn ddi-ddawn,
I wreng llesg yr ango llawn.
O daw'r byd i wyro barn,
Daw gwedi diod gadarn.
Piga'r gwin hoff frigyn ffrwyth,
Fel y neidr, filain adwyth;
Ag a frath gyfryw wythen,
Flysiwr ffol fel y sarff hen.
Gwae ar deiau gwyr diwall,
Faeddwyr llesg a feddwo'r llall;
Bydd gwarthruddiad chwyddiad chwant,
Oer gwan ar ei ogoniant.
I bwy y mae gwae i gyd?
I bwy ochain heb iechyd?
I bwy gynen bai gwyn-ias?
I bwy ddadwrdd cynwr cas?
I bwy welïau, a'u bod,
Heb achos, ond o bechod?
Pwy a'r llygaid perl lliw-goch,
Ond meddwon meirwon fel moch?
Nid un cythraul hir wael haint,
Oer gwynfan â o'r genfaint.
Llu malais allu milain,
Llu angau rhwth, lleng o'r rhain;
Yn dorf o wyniau dirfawr,
Mam pechod yw medd-dod mawr.
O fedd-dod trwy anghlod trwch,
Drwy waith hyll i drythyllwch.
A deng-waith y daw anghall,
Drwy gwrw llwyd o'r drwg i'r llall.
Marw'n feddw, mor anfuddiawl,
A ddwg lawer un i ddiawl!
Mae'n bryd, llawn bryd wellhau,
Trwy ddychryn tro i ddechrau;
Trwy wahoddiad tro heddyw,
Na oeda fab yn dy fyw.
Dal iawn bwyll, dilyn bellach,
Cymedrolder arfer iach.
A gwaeled yw gwylio dal
Deifas, na fydd diofal.
Och! na ddos i'r geuffos gam,
Sobrwydd â i fynwes Abram.
Na welo'r annuwiolion
Awr lid Duw ar y wlad hon,
Na gwae eilwaith, na gwialen,
Am bechod medd'dod, AMEN.

---

## Y SU-ADERYN A'I NYTH.

Y darluniad canlynol o'r Su adar, (*Trochilidae*) a gymerwyd o'r Gwaith a elwir "*The Romance of Natural History*," gan Mr. P. H. Gosse, yr hwn a gafodd gyfleusderau helaeth, i ymgydnabod â'r teulu ceinwych yma yn yr India Orllewinol, ac a gorpholodd ei sylwadau yn ei Waith a elwir "Adar Jamaica:"—

Am y swyn neillduol hwnw sydd yn y goleuni fflachiadol, mewn cyfuniad â'r lliwiau dysglaeriaf, gloewder meini gwerthfawr, nid oes unrhyw adar, na chrëaduriaid yn deilwng i'w cydmaru â'r su-adar. Y gemau bychain adeiniog, hawddgar hyn, y rhai ydynt yn gyfyngedig i'r Amerig yn unig, o ba rai yr ydym eisoes wedi casglu rhwng 300 a 400 o rywogaethau gwahanol, ac y mae mwy yn cael eu darganfod yn barhaus, oeddynt edryw prydferthwch i Indiaid Mecsico, a Pheru. Fe'u gelwid ar amrywiol enwau gan y bobl ddysyml hyn, yn arwyddocau "pelydr yr haul," "gwallt y seren ddydd," a'r cyffelyb. Eu plu llathraidd, ysgenawl, a ddefnyddid i wneuthur, ar draul amser, amynedd, a llafur dirfawr, y mentyll ysplenydd yn y rhai yr ymddangosai yr amherawdwyr a'r pendefigion uchaf, ar achlysuron o rwysgfawredd; cystal ag i ffurfio trwy fath o frith-waith, y darluniau brodiadawl a gynnyrchent gymmaint o edmygedd y gorchfygwyr Hispaenaidd. Yr oedd yr officiriaid Mecsicanaidd wedi cymeryd yr ehediaid bychain hyn i'w chwedlonaeth; gan ddysgu bod eneidiau y rhyfelwyr a gwympent tra yn amddiffyn y duwiau, yn cael eu harwain gan Toyamigui, gwraig duw rhyfel, yn uniongyrchol i lŷs yr haul; ac yn cael eu traws-ffurfio yn su-adar yno.

Yn ngwig wylleddau ysplenydd rhanau mynyddig Jamaica, ac yn enwedig yn y llanerchau heulawg, y rhai a dorant ar eu hunffurfiaeth yma a thraw, lle y mae y deilwydd irfyth yn ymddyrchu ar bob ochr i'r lawnt agored fel mur, yn orchuddiedig â'r blodau mwyaf ceinwych a pherasawrus, fe'm swynwyd gan eofndra cyfeillgar, ac ysplander gloew y creaduriaid bychain

hyn. Yma, tra yn eistedd ar foncyff cwympedig yn y cysgod, bum yn eu gwylio yn sipian o amgylch, yn hedfan yma a thraw, yn dyfod ac yn myned, bob eiliad yn diflanu yn y cysgodion gwyll, neu yn fflachio allan gyda chwefraniad disymwth, fel yr eiddo troell, i'r heuldes dysglaer. Gellid eu gweled yn archwilio perth ar ol perth yn ddiarswyd, a thra yr arhoswn yn llonydd, yn dyfod o fewn hyd braich i mi, gan brysur yspeilio yr holl flodau yn ol eu gilydd, a chymedranu arwyneb rhyw hoff brysgwydden yn rheolaidd, fel na chollid dim, ac wrth gwrs, yn eu zel, yn pigo yr un blodyn drachefn a thrachefn. Weithiau y mango a fyddai hwnw; gan ymhongiaw wrth edyn chwyrnellawg, o flaen y blodion, ei gynffon-blu ymledawl o'r dugochlas gwychaf, plu ei holl gorph yn wyrdd, ac auraidd, a'i lechweddau a'i wddf yn fflamio yn y goleuni cyfnewidiol, â chlaerder y rhuddem yn awr, yna yr amethyst, yna y saphir; a thrachefn, am ciliad, yn ymddangos yn ddu mwyaf darddwys. Ond, yn llawer mwy cyffredin ar yr achlysuron hyn yr ymwelid â mi gan y Gynffon Hir dlosgain, ffurf feindlos yr hon, ei siobyn o bali du, ei bron werddem, a'i chynffon o blu hirion, a'i dynodant fel y penaf o'r rhywogaeth bendefigaidd yma. Byddai y gem tlws yma yn hedfan o amgylch, haner dwsin o honynt yn weledig ar unwaith, yn gwau rhwng y cangau, yn awr yn pigo yma, ac yna, acw; un eiliad, uchben y blodeuyn, ac yn crymu i waered atto, a'r nesaf, yn hongiaw oddi tano, ac yn estyn ei big goch i gusanu ei chwibol neithdar oddi waered, a'i edyn cymmylog o bob ochr yn chwyrnellu gyda thrwst cyffelyb i droell ffactri, a'i holl wddf, ei fron, a'i fol, yn wisgedig mewn pluf ysgenawg o'r gwyrdd godidocaf, yn amrywio yn hardd â du felfedaidd y gweddill o hono. Y pluawr ysgenawg yma a fflachiai oleu yr haul yn ôl gyda dysglaerdeb nodedig, megys gwerddem ardderchog yn nghoron brenin; yna, gyd a'r troad lleiaf o eiddo yr aderyn, y mae yn dyfod yn ddu, a'r holl oleuni wedi ei lyncu i fynu; yna, ar ysgogiad arall, ymddangosai o liw gwineu-ddu tywyll, ac mewn eiliad yn fflachio allan drachefn âg ysblander gwerddem, dros yr hyn y symuda cymmylau duon a gwineu-ddu, yn ol a blaen bob mynydyn.

Y mae yr olygfa yma o ddysglaerder cyfnewidiol, yn teilyngu sylw manylach nag a gafodd eto. Yn y cyfryw Su-adar ag a ddaethant dan fy sylw i,—ac efallai ei fod yn rhëol gyffredinol,—y mae enfyseiddrwydd y rhanau hyny o'r pluawr ydynt yn gyfnewidiol, yn ysblenydd mewn cyfartaledd i edlymder yr ongl a ffurfir trwy y pelydryn dygwyddiadol â'r un adlewyrchiadol. Fel hyn y mae pluawr ysgenawg gwddf y mango, yn ymddangos yn fanteisiol mewn ystafell a dim ond un ffenestr arni, yn unig tra y safo yr edrychydd a'i gefn at y goleuni, a'r aderyn o'i flaen, ac yn ei wynebu. Yna, y mae y gwregys darbenol, i waered ar hyd y gwddf a'r fron, yr hwn a ymddengys wedi ei gyfansoddi o'r felfed du gorau, wedi ei ymylu ar bob ochr â gwregys llydan o rudd-goch dysglaer, yn gymmysgedig â gwïolydd. Ni wna holl bluawr, hyd yn nod y su-aderyn, arddangos y fflachiadau llachar hyn: y mae rhai o'r cyfliwiau dysglaer yn barhaol, nid yn lliwiau cyfnewidiol, megis y gwyrdd euraidd a addurna y cefn, ac aden-blu cynnifer o rywogaethau; yn y rhai nid yw y lliwiau yn ddarostyngedig i nemawr o gyfnewidiad, a'r unig gyfnewidiad a gynnyrcha cyfnewidiad ongl y goleuni, ydyw trawsffurfiad blaenau y plŷf, i ymddangosiad aur caboledig.

Adeiladir nyth y Su-aderyn gyda manylrwydd anmghyffredin. Weithiau canfyddir bod y rhanau allanol wedi eu gwneyd o ddarnau o goed-gen, mwsogl, dail, a defnyddiau cyffelyb, wedi eu gludiaw yn nghyd â phoeryn yr aderyn, ac wedi ei gydio yn y fath fodd wrth gangen, neu gŷff y pren, fel yr ymddengys megys peth wedi tyfu allan o hono. Y plŷg nesaf sydd gynnwysedig o sylwedd cottymawg; a'r plŷg nesaf i fewn, o ddefnydd sidanaidd, wedi eu tynu o amryfal blanwydd; ac oll yn hynod dyner ac esmwyth.

Y desgrifiad canlynol oddiar sylw personol, a ysgrifenwyd i'r *Zoological Journal*, gan y diweddar Cadben Lynn, R.N.—"Dichon y byddai yn ddyddorawl i chwi gael adroddiad am ryw su-adar ieuainc, dëoriad ac addysgiad y rhai a astudiais yn ddyfal, yn gymaint a bod y nyth wedi ei wneyd mewn llwyn o Oreins, gerllaw rhodfa fynychedig yn fy ngardd. Yr oedd wedi ei gyfansoddi o ddefnydd sidanaidd a dynasid o blanwydd; a'i wisgo oddiallan â darnau teneuon o goed-gen melyn. Yr wy cyntaf a ddodwyid Ionawr 26ain; yr ail ar yr 28ain; ac ar foreu y 14eg o Chwefror, gwnelai dau greadur bychan, tebyg i wenyn, eu hymddangosiad. Parhaodd yr adar ieuainc yn ddeillion hyd Chwef. 28ain; ac ar y 7fed o Fawrth cymerasant eu hadenydd, mor gryfed a chyflymed a'r fam, gan gymeryd eu hergyd gyntaf o'r nyth i bren tuag ugain llath o bellder.

Y mae *Audubon* yn tystio i bryder y fam aderyn dros ddyogelwch ei rhai bâch. "Pe y gallech fwrw golwg ar nŷth y su-aderyn, a gweled fel y gwelais i, y rhai ieuainc newydd eu dëor, ychydig fwy na'r wenynen, yn noeth, ac yn ddall, ac mor wan, fel mai prin y gallant godi eu pig fach i dderbyn ymborth gan y famaderyn; a phe y gallech weled y fam mor lawn o bryder, ac ofn, yn myned yn ôl ac yn mlaen, o fewn ychydig fodfeddi i'ch wyneb, yn disgyn ar gangen, dim mwy na llathen oddiwrth eich

corph, yn dysgwyl y canlyniad o'eh ymweliad di groesaw, mewn cyflwr o'r anymddiried mwyaf, ni's gallech lai na theimlo y bangfa lemaf a all serchawgrwydd tadawl deimlo ar farwolaeth annysgwyliadwy plentyn hoffus. Gan hyny pa mor hyfryd yw, ar eich ymadawiad o'r llanerch, ganfod adferiad gobaith y rhiaint, pan wedi edrych i'r nŷth, y maent yn canfod eu rhai bâch heb gael eu niweidio!"

Y mae nythod y su-adar, weithiau yn crogi wrth flaen brigyn yr oreins, y pomgranad, neu y cotymwydden; eraill, wrth y creigiau; ac eraill wrth y dail, a'r rhai hyn ydynt y mwyaf cyffredin. Yr ydys wedi sylwi pan y bydd yr aderyn yn cydio ei nŷth wrth ddeilen, y bydd efe yn dethol edef wydnaf gweoedd amryfal gopynod, rhai o ba rai ydynt yn nodedig am eu gwydnwch.

Cafodd boneddwr arall gyfleusdra i sylwi ar y Gynffon Hir, (*Long-tailed*) yn adeiladu ei nŷth. Efe a'i gwelai yn ehedeg i wyneb y graig, yr hon oedd wedi ei gwisgo â math o fwsogl tra esmwyth, a chan chwyfiannu ar ei hedyn, fel pe y buasai o flaen blodau, dechreuai dynu y mwsogl yn ei phig, nes ydoedd ganddi dusw da o hono. Yna, canfu hi yn ehedeg i'r nŷth; ac wedi eistedd ynddo, dechreuai gyfleu y defnyddiau newyddion, gan eu pwyso, eu cydwau, a'u llyfnhau â'i phig, tra ei lluniai oddi fewn trwy bwyso ei mynwes wen yn erbyn ei ochrau, ac ymsymud gylch ogylch ynddo ar ei heistedd.

Yn mysg crog-nythod y su-adar, y mae yr eiddo y rhywogaeth a elwir *White-sided Hill Star*, brodor o Andes Acoucaqua, yn cyfanneddu gwregys tua deng mil o droedfeddi uchlaw lyfel y môr. Y mae y nŷth ryw beth yn ffurf crogwely, ac yn gydiol wrth ystlys craig; a gwê y pryf copyn ydyw y moddion a ddefnyddir i'w gydio: defnyddiau y nŷth ydynt fwsogl, goflew, a phlu; o'r olaf y mae cyflawnder wedi eu gludio oddiallan. Nyth arall a grogir wrth graig, ydyw yr eiddo y su aderyn a elwir y *Bar-tailed*, o Bolivia. Cyfansoddir y nŷth o linwydd llysiau, ac fe'i gorphenir â math o labed hir, yr hyn a berthyn, nid yn anfynych i nythod adar o'r teulu yma, er nad yw yn amlwg i ba wasanaeth y mae wedi ei fwriadu. Ffurfir nythod y rhywogaeth a elwir y *Chimborazian Hill Star*, gan ysgen (*lichen*) yn benaf, ac fe'i crogir oddiwrth glogwyn darbenawl, gan ofalu am ei fod yn cael ei gysgodi gan graig-astell oddiarnodd. Y mae y rhywogaeth yma yn cyfanneddu y mynydd uchel, oddiwrth yr hwn y mae yn cael ei enw. Y rhywogaeth a elwir Llif-big Brazil, a wna ei nyth o linwydd main llysiau wedi eu gwau yn fath o rwyd-waith agored, trwy fasgau y rhai y mae yr wyau o fewn y tapinwaith yn weledig. Nyth yr Eurem tanllyd a wneir o fadarch perthynol i'r dosbarth *Coletus*, a chymharir eu gwneuthuriad i fath o fual-groen garw. Y mae amrywiaeth eraill o honynt, i ba rai y perthyn neillduolion, na's meddwn ofod i'w darlunio yn fanol yn yr erthygl hon.

---

## MYFANWY AC ANWES; NEU SWYNION SERCH.

Oddeutu canol prif heol fy nhref enedigol, Llan lonydd, y saif neu y safai, (canys am bethau a ddygwyddasant flynyddoedd lawer yn ol yr wyf yn siarad,) annedd-dy anolygus o briddfaen. Yr oedd wedi ei adeiladu ar gynllun manwl, gyda phalmant llydan o'i flaen, a rhwng y palmant a'r heol, byrth heiyrn, a *railings;* a rhes o goed golygus yn dyrchu eu cangau yn fawreddig, i gysgodi, ond nid i guddio, y palasdy, oedd, fel y gellid canfod yn union, yn cael ei ystyried fel prif annedd y gymmydogaeth. Efe yn ddilys ddiammeu oedd prif balasdy y dref, a pherthynai wrth gwrs i'r twrnai; ac yr oedd y twrnai hwnw, fel y dygwydd yn aml mewn trefydd bychain, yn un o brif gyfreithwyr y sir.

Edward Meredydd, canys dyna ydoedd enw y cyfreithiwr, ydoedd wr o drâs isel, heb dderbyn ond ychydig o fanteision addysg yn more ei oes. Ond er hyny, trwy ddoethineb, diwydrwydd, iawn ymddygiad, callineb, a ffawd dda, efe a ddringodd wahanol raddau bachgen o ysgrifenydd, prif ysgrifenydd, ac is-bartner, hyd nes dyfod o hono o'r diwedd yn brif berchenog swyddfa fawr, ac yn ŵr o eiddo a dylanwad mawr. Yr oedd hanner Llan lonydd yn perthyn iddo ef, ac yn ei gydnabod yn arglwydd; heb son dim am chwech neu saith o ffermydd breision yn y gymmydogaeth, ac etifeddiaeth a maenoriaeth y Garthlwyd, yr hon oedd yn enwog am ei physgod, a'i helwriaeth,—nac am y llogau a dderbyniai oddiwrth ei echwynion i bron bawb oedd yn brin o arian. Mewn gwirionedd, yr oedd efe yn un o'r dynion hyny, ag y mae pob peth a gymmerant mewn llaw yn llwyddo; ac er ei fod yn dilyn galwedigaeth y priodolir rhaib a gorthrwm iddi gan ragfarn y cyffredin, etto teimlad cyffredinol ei gydnabod oedd, ei fod yn teilyngu ei lwyddiant. Meddai dymmer addfwyn, gwnelai ddefnydd cymmedrol o'i allu a'i ddylanwad, yr oedd yn enwog am ei lettygarwch, a dangosai haelfrydedd doeth, gyda phethau bychain fel gyda phethau mawrion; canys o herwydd gor-gynnildeb gyda mân geiniogach, y cyhuddir dynion o grintachrwydd.

Nid oedd ryfedd yn y byd, gan hyny, ei fod yn boblogaidd gyda gwreng a boneddig. Hwyrach fod ei boblogrwydd yn fwy, oherwydd ei berson tál, syth, a lluniaidd; ei wynebpryd siriol, ei lais bywiog, a'i ddull rhydd ac agored o ymgyfeillachu; y mae yn sicr, o leiaf, ei fod yn ddyledus am lawer o'i boblogrwydd i absennoldeb pob math o daeogrwydd neu drahausder yn ei ymwneud â'i gymmydogion; ac nid oedd yn cael ei hoffi yn llai oherwydd nad oedd dim yn darawiadol, yn ffraeth, neu yn wreiddiol yn ei ymddiddan. Nid oes eisieu gwell prawf na hanes ei fywyd, ei fod yn ddyn tra galluog, ond er ei fod ymhob gweithred yn arddangos barn a synwyr rhagorol, etto nid oedd byth yn yngan gair, namyn yr hyn oedd gyffredin, diogel, a diberygl.

Fel y gallesid dysgwyl mewn dyn yn feddiannol ar y fath gyrhaeddiadau, yr oedd y twrnai ers blynyddoedd yn oracl ymysg boneddigion y Sir, efe oedd yn dal yr holl swyddau cyhoeddus, cybelled ag nad oeddynt yn anghysson â'u gilydd; ac un ai fel ystiwart, ymddiriedolwr, neu oruchwyliwr, yr oedd yn gweinyddu hanner etifeddiaethau y sir. Derbynid ef fel ymwelwr ar dir o gydraddoldeb oedd yn beth anghyffredin iawn yn nghymdeithas bendefigaidd y wlad—cymdeithas oedd yn ystyried trâs a gwehelyth bron yn bobpeth, ac yn cau ei phyrth yn nannedd yr iselradd. Ar ol bod yn briod ddwywaith, cafodd Mr. Meredydd ei hun am yr ail dro, ac efe bron yn driugain mlwydd oed, yn wr gweddw.

Dynes ddarbodus, gynnil, a hyfforddus oedd ei wraig gyntaf. Priodwyd hwynt yn ieuainc, ac yr oedd ei hychydig gannoedd punnau hi, a'i harferion darbodus, yn y cyfnod hwnw o'u bywyd, yn dra gwasanaethgar mewn llawer modd, i ddyrchafu a chyfoethogi ei gwr, yr hwn oedd yn llawn mor ddarbodus, ond yn fwy uchelgeisiol. Ni bu iddi hi erioed blentyn; ac ar ol gwneuthur iddo ef bob daioni dichonadwy yn ei bywyd, bu mor garedig a marw yn yr union adeg, pan oedd ei amgylchiadau a'i uchelgais yn gofyn am fwy o haelfrydedd yn nghadwraeth ei dŷ, ac uwch cyssylltiadau cymdeithasol; canys gwyddai ef fod y naill a'r llall yn angenrheidiol er ei ddyrchafiad. Er mwyn cyssylltiadau o'r fath gan hyny, y priododd efe yr ail waith, a syrthiodd ei ddewisiad ar chwaer i farwnig; boneddiges olygus, ond di gynnysgaeth, yr hon a ymddug iddo ddwy ferch, a threigl saith mlynedd rhwng genedigaeth y naill a'r llall. Gyda bod yr henaf wedi cyrhaedd oedran digon aeddfed i gymmeryd lle ei mham fel meistres y teulu, hi a gafodd y brofedigaeth chwerw o golli y ffrynd gyntaf, anwylaf, a thyneraf a ddichon meinir ieuanc gael. Gwerthfawr yn wir oedd coffadwriaeth ei hanwyl fam, i Myfanwy Meredydd! Er fod chwe blynedd wedi treiglo rhwng ei marwolaeth a thymmor dechreuad y chwedl fach hon, nid oedd y ferch serchog trwy gydol yr holl amser wedi gallu ymryddhau oddiwrth ei galar am y golled.

Prif attyniad ty Mr. Meredydd, oedd ei ferched serchoglawn. Trwy ei fod yn ymwybodol o'i addysg anmherffaith ei hun, ni's arbedai na thrafferth nac arian i'w cynnysgaeddu hwynt â phob camp mewn moes, a diwylliant, a dysg.

Fel y dygwydd yn fynych, pa wedd bynag, y lleiaf ei chyrhaeddiadau oedd y fwyaf darawiadol. Yr oedd aml un o fysg y gwyr cyfoethog a'r uchelwyr a ymgynghorent â Mr. Meredydd, yn gallu eistedd yn rhydd a chartrefol wrth fwrdd y twrnai, heb gyffroi dim yn yr olwg ar Anwes bert,—geneth fach fywiog a chwareus, o bryd a gwedd siriol, yn fwsïau, a rhosynau, a gwenau i gyd; ac yn eistedd mewn gwisg arddderchog yn ei hystafell foreuol addurnedig, gyda'i chrwth yn ei mynwes, ei thelyn yn ei hymyl, a'i bwrdd arlunio o'i blaen. Ond byddai yr un gwr yn cael ei daro â rhyw hanner ofn, pan gyflwynid ef i sylw ei chwaer neillduedig a hunan-feddiannol, yn ei gwisg gorseml, ac yn arddangos, yn lle hoen chwareus ei hoedran, y mocsgarwch tawel a gwylaidd, a ymddangosai yn gweddu i'w sefyllfa fel meistres ieuanc y ty.

Urddas tyner ac addfwyn, ond hynod darawiadol, oedd prif nodwedd Myfanwy Meredydd, o ran meddwl ac ymagweddiad. Prydferthwch y gerfddelw oedd ei phrydferthwch, ac nid prydferthwch y darlun paentiedig, canys dibynai yn benaf ar ffurf a mynegiant, ac ond ychydig ar liw. Prin y gallai fod gwrthgyferbyniad cryfach nag a fodolai rhwng purdeb y marmor yn ei gwynebpryd, tawelwch digyffro ei phryd a'i gwedd, a bochau cochion, golygon direidus, a hoewder chwareus Anwes. Ar fyr eiriau, geneth deg ei gwawr oedd Anwes, a dynes brydweddol oedd Myfanwy. Yr oedd y ddwy chwaer yn berffaith ymwybodol o hyn; gwyddai Anwes, am fod pawb yn dyweyd wrthi, a buasai raid iddi fod yn fyddar i beidio gwybod. Yr oedd Myfanwy wedi derbyn yr ymwybyddiaeth trwy ryw oruchwyliaeth lawn mor sicr, ond nid mor uniongyrchol; canys ychydig a fuasai yn meiddio talu gwarogaeth bersonol i un oedd, fel y gellid casglu, yn rhy falch i dderbyn mwynhad o ddim oedd yn tebygu i ffalsder.

Nid oedd nemawr neb, na dim, heblaw ei drŷch, a'i thad, wedi erioed ddyweyd wrth Myfanwy ei bod yn brydferth; ac etto yr oedd yn ymwybodol o'i phrydferthwch tra rhagorol, megis ag yr ydoedd Anwes hithau o'i phertrwydd gogleisiol; ac hwyrach o ran hyny, fod cymmaint o fursendod yn symlrwydd diwyg y naill, ag ydoedd yn ngwychder trwsiadus y llall. Pa

fodd bynag, yr oedd yr allanol yn ddangosiad teg o'r gwahaniaeth mewnol a gwirioneddol a fodolai rhyngddynt, mewn chwaeth, a nodweddiad. Yr oedd y ddwy yn bur, tyner, addfwyn, a charedig; ond yr oedd yr henaf gymmaint yn uwch o ran meddwl ag ydoedd o ran taldra corff, yn llawn gweithredoedd urddasol ac amcanion dyrchafedig. Yr ydoedd yn hoff o arlunio, ond tallodd y bwyntel o'r neilldu, am nad oedd yn cael ei boddhau yn ei chynnyrchion ei hun o'u cydmaru â gweithydd pencampwyr y gelfyddyd; cyssegrai ei doniau cerddorol i'r cylch teuluaidd, am ei bod yn taflu gormod o enaid i'r gân, i'w gwneud yn destyn difyrwch; buasai ond odid yn farddones, oni bai ei bod wedi ymgyflwyno bron yn hollol i'r gwir fawr mewn barddoniaeth; ac wedi ymwerthu i brif-feirdd y byd. Yr oedd hi yn cadw ei chwaeth yn y pethau hyn iddi ei hun, ond yr oedd ei thueddiadau yn rhoddi argraff ar ei hymarweddiad a'i moesau; a bu mwy nag un pendefig, tra yn eistedd wrth fwrdd Mr. Meredydd, yn synio ynddo ei hun, mor weddaidd a phriodol yr edrychai coronig pendefiges, ar ben ei hawddgar ferch.

Nid oedd priodas, pa fodd bynag, yn ymddangos yn cael ond ychydig o le yn ei meddylfryd hi. Unwaith neu ddwy, ei thad a dasgodd arni dderbyn y cynnygion ardderchog a wneid iddi, ond dwysbigid ei galon, a dadorseddid ei uchelgais ar ran ei hoff blentyn, pan y gofynai iddo yn felusaidd, "A ydych chwi wedi blino arnaf? A ydych chwi yn dymuno fy myned ymaith?"

Yr ydoedd efe erioed yn llai balch, hwyrach yn llai hoff, o Anwes, gyda holl swyn ei hieuenctid. Heblaw hyny, yr oedd efe yn ei feddwl ei hun er's hir amser, yn ystyried fod ei thynged wedi ei phenderfynu. Yr oedd ganddo berthynas tlawd, Llewelyn Llwyd, a ddygasid i fyny trwy ei garedigrwydd ef, newydd ddychwelyd at ei deulu, o swyddfa fawr yn Llundain. Hwn ydoedd yr un a fwriadai ef er's blynyddoedd i fod yn wr i'w ferch ieuengaf, ac i fod yn gydberchennog, ac yn y pen draw yn olynydd iddo ef, yn y busnes mawr a blodeuog. Ymddangosai ei ddewisiad yn cael ei gwbl gyfiawnhau yn ymddygiad rhagorol, a galluoedd nodedig ei gefnder amddifad, ac ar y serch a'r dealltwriaeth a gydfodolai rhwng y ddeuddyn ieuainc.

Yr oedd y trefniant hwn yn deg iawn yn ei olwg ef, nid yn unig am ei fod yn darparu bywioliaeth dra rhagorol i Anwes, ond hefyd am y deuai Myfanwy, trwy briodas ei chwaer ieuengaf, yn un o'r etifeddesau cyfoethocaf yn y sir. Yr ydoedd efe yn ei feddwl ei hun hyd yn nod wedi ethol ei darpar wr, yn mherson barwnig ieuanc, oedd yn ddiweddar wedi bod yn ymwelydd mynych â'i dy. Penderfynodd Mr. Meredydd, fod i Myfanwy roddi ei chalon i'r barwnig, er nad oedd y barwnig hyd yn hyn, chwarae teg iddo, wedi dangos rhyw awydd neillduol i ennill serch y fenyw brydweddol. Ond yr oedd y twrnai am unwaith yn benderfynol o arfer yr awdurdod tadol oedd wedi gorwedd yn llonydd cyhyd o amser.

Ond mewn matterion carwriaethol, y mae dyn wedi ei eni i siomedigaeth. Dyna fu cyfran Mr. Meredydd druan. Pan oedd Anwes yn llances deunaw mlwydd oed, a Llewelyn Llwyd, yn ddwy ar hugain, efe a gynnygiodd ei eneth bert, a'i bartneriaeth ennillfawr, i'w gâr tlawd. Parlyswyd ef gan syndod a digofaint wrth weled ei gynnygiad yn cael ei wrthod yn barchus, ond yn benderfynol. Yr oedd y gwr ieuanc mewn dyryswch a phenbleth,—"yr oedd ganddo ef y parch dyfnaf tuag at Anwes, ond nis gallai ei phriodi, canys yr oedd efe yn caru un arall!" Yna dadlenodd gyfrinach ag ydoedd mor annysgwyliadwy ag ydoedd o annerbyniol gan Mr. Meredydd, yr hwn a aeth ymaith mewn blinder ysbryd, a digofaint aruthr.

Yn union ar ol boreufwyd y cymmerodd hyn le; ac ar ddiwedd yr olygfa, aeth y tad cythruddedig i chwilio am ei ferched, y rhai oeddynt yn ymddifyru yn y deildy. Yr oedd Anwes yn ymbicio oddiamgylch fel glöyn byw ymysg yr oreinwydd persawr, a'r blodeu gwridgoch; Myfanwy yn sefyll dan helygen oblygol a hongiai dros ddyfrgist fawr o fynor, ac yr oedd ei ffurf a'i hystum, ei gwisg wen, a threfniad clasurol ei gwallt du, yn rhoddi iddi debyg-wedd mordduwies, megis dernyn o gelfyddydwaith Groegaidd. Yr oedd Anwes, fel y crwydrai yma a thraw, yn parablu yn brysur am ryw gyngherdd y buasai ynddo y noson flaenorol yn nhref y sir:

"Yr wyf yn casau cyngherddau!" ebe y berten fach ddel. "O! mor flin yw eistedd yn sythi ar fainc galed am bedair awr, rhwng pedwar o'r un bobl yr holl amser, heb yn ddichon symmud na siarad â neb, na neb arall ddyfod attom ni!"

"Gwelais Syr Hywel yn ceisio llithro trwy y dorf i ddyfod attoch," ebai Myfanwy, dipyn yn ffroenuchel: "buasai ei bresennoldeb ef, ond odid, yn lleddfu y drwg. Ond yr oedd y gwahanfur yn ormod iddo; bu raid iddo gilio yn ol, heb gyrhaedd ei amcan."

"Oedd, gallaf eich sicrhau, ei fod ef yn ei theimlo yn dreth ar amynedd; dywedodd hyny wrthyf pan oeddym yn dyfod allan. Ac wedyn y gerddoriaeth!" ychwanegai Anwes: "y twrw a alwant yn gerddoriaeth! Dywed Syr Hywel nad yw ef yn malio mewn unrhyw gerddoriaeth ond fy nghrwth i, neu ffliwt ar y dwfr; ac nid wyf finnau yn hoffi unrhyw gerddoriaeth, ond chwychwi yn chwareu yr organ, canu emynau

ar nos Sul, neu Llywelyn Llwyd yn adrodd darnau o brydyddiaeth."

"A ydych chwi yn galw hyny yn gerddoriaeth?" meddai Myfanwy dan chwerthin. "Ac etto y mae adroddiadau Llywelyn yn fiwsig."

"Y mae yn fiwsig na chaiff yr un o honoch chwi ei glywed etto," meddai Mr. Meredydd, yr hwn a ddaeth yn ddisymwth ar eu gwarthaf, "canys efe a fu anniolchgar; ac yr wyf fi wedi ei droi ymaith."

Safai Myfanwy fel pe wedi ei throi yn gareg, a llefodd, "Anniolchgar! O! fy nhad!"

"Nid yw yn bossibl eich bod wedi ei droi ymaith, yn siwr," ebe Anwes, bob amser mewn natur dda; "Llewelyn druan! pa beth a ddichon efe fod wedi ei wneud?"

"Y mae wedi gwrthod eich llaw chwi, blentyn," ebe y tad digofus; "y mae wedi gwrthod bod yn bartner a mab-yn-nghyfraith i mi, ac wedi syrthio mewn cariad â boneddiges arall! Pa beth sydd genych i'w ddyweyd drosto yn awr?"

"Wel yn wir," attebai Anwes, "yr wyf yn llawer mwy diolchgar iddo ef am wrthod fy llaw, nag i chwi am ei chynnyg. Yr wyf yn eithaf hoff o Llewelyn fel cefnder, ond ni buaswn yn hoffi y fath ŵr o gwbl; felly os y gwrthodiad hwn yw y gwaethaf peth a ddygwyddodd, nid oes llawer o ddrwg wedi ei wneud." Ac ymaith â'r chwidren fach lawen ar hyny, gan ddyweyd ei bod "wedi addaw marchogaeth gyda Syr Hywel, a'i chwaer; a'i bod yn eu disgwyl hwynt bob munyd."

Arhosodd y tad, a'i hoff ferch henaf yn y deildy.

"Nid oes dim wedi cyffwrdd â'r galon yna pa fodd bynag," ebe Mr. Meredydd, gan edrych ar ei hôl gyda gwên.

"Nid yw Llewelyn Llwyd wedi cyffwrdd â hi y mae yn amlwg," attebai Myfanwy; "ond a ydyw efe mewn gwirionedd wedi gwrthod fy chwaer?"

"Ydyw yn benderfynol."

"Ac a ydyw efe yn caru un arall?"

"Dywed efe hyny, ac yr wyf fi yn ei gredu."

"A ydyw ef yn cael ei garu yn ol?"

"Ni ddywedodd efe hyny."

"A roddodd efe i chwi enw y foneddiges?"

"Do."

"A ydych chwi yn ei hadnabod?"

"Ydwyf."

"A ydyw hi yn deilwng o hono?"

"Yn dra theilwng."

"A oes ganddo ef unrhyw obaith ennill ei serchiadau? Oes, rhaid fod! Rhaid fod! Pa lodes allai ei wrthod ef?"

"Y mae efe wedi penderfynu peidio ymgeisio. Mae y foneddiges a gerir ganddo uwchlaw iddo ef ymhob modd; ac er cymmaint y mae efe wedi groesi ar fy nymuniadau, y mae yn anrhydedd i Llywelyn, nad ydyw am ddadgan ei deimladau i wrthddrych ei serch."

Bu ychydig seibiant ar ol hyn, a cheisiai Myfanwy lanw ei bryd trwy gasglu blodeu, a dyfrhau y planhigion; eithr nid oedd dim yn tycio, canys yr oedd testyn yr ymddiddan yn agos at ei chalon, ac nis gallai gadw ei meddwl gyda dyledswyddau anghydnaws. Dychwelodd at ei thad, yr hwn ydoedd wedi bod yn gwylied ei hysgogiadau, a lliw cyfnewidiol ei gwynebpryd, a hi a adnewyddodd yr ymddiddan.

"Fy nhad! hwyrach nad yw yn cydweddu â gwylder merch, ond er na ddywedasoch wrthyf erioed eich bwriadau mewn geiriau eglur, yr wyf wedi gweled a gwybod, nis gallaf fynegi pa fodd, yr hyn oll y mae eich gorbleidgarwch i mi wedi ei drefnu i'ch plant. Yr ydych wedi fy ngham ddeall, fy anwyl dad, wedi fy nghwbl gam ddeall; yn gyntaf, wrth feddwl fy mod yn gymmwys i lanw lle rhwysgfawr mewn cymdeithas; yn nesaf, wrth ddychymygu fy mod yn awyddus am rwysgfawredd o'r fath. Meddyliasoch am roddi Anwes, a'r bartneriaeth ennillfawr i Llywelyn Llwyd, ac arfaethasoch fy rhoddi fi a'ch meddiannau eang, i'n cymmydog teitlog a chyfoethog. A chydag ychydig gyfnewidiad yn y personau, gall y trefniadau hyn etto fod yn safadwy. Gall Syr Hywel etto fod yn fab-yn-nghyfraith ac yn etifedd i chwi, canys y mae efe yn caru Anwes, ac Anwes yn ei garu yntau. Gall Llewelyn Llwyd etto fod yn bartner ac yn fab mabwysiedig i chwi, canys nid oes dim wedi dygwydd i leihau eich serch chwi, neu ei deilyngdod ef. Bydded i chwi ei briodi â'r fûn a gâr. Rhaid fod ei huchelgais mewn gwirionedd yn fawr, os nad ymfoddlona ar dynged o'r fath. A gadewch i mi barhau i fyw gyda chwi, fy anwyl dad, yn sengl a dibriod, heb unrhyw bryder ond eich gwneud chwi yn gysurus, dyddanu a sirioli blynyddoedd eich henaint. Na foed i'ch gorhoffedd ohonof fi sefyll yn ffordd eich dedwyddwch." Gwridodd oherwydd difrifoldeb ei hymadrodd, gwyrodd ei phen dros y mynorgist, dyfroedd yr hwn a adlewyrchodd ei ffurf luniaidd, megis pe byddai mewn gwirionedd yn gerfddelw Roegaidd, i'r hon yr oedd darfelydd ei thad wedi ei chydmaru: "Gadewch i mi fyw yn ddibriod gyda chwi, a phoed i Lewelyn briodi gwrthddrych ei serch."

"A glywsoch chwi enw y foneddiges dan sylw? A oes genych chwi ryw amcan pwy ydyw?"

"Nac oes, nid oes genyf yr amcan lleiaf. Meddyliais oddiwrth eich ymadroddion ei bod yn estron i mi. A welais i hi erioed?"

"Chwi a ellwch ei gweled—o leiaf chwi a ellwch weled ei llun yn y dwfr, y foment hon;

eanys yr oedd efe mor wyneb galed a syrthio mewn cariad â'i gyfnither Myfanwy!"

"Fy nhad!"

"Ac yn awr, fy manon, a ydych chwi yn parhau yn awyddus i fyw yn sengl gyda mi?"

"O, fy nhad, fy nhad!"

"Neu a ydych chwi yn dymuno i mi uno Llewelyn âg eilun ei galon?"

"Fy nhad! fy anwyl dad!"

"Dewiswch, fy Myfanwy! Caiff fod fel y gorchymynwch chwi. Siaradwch yn rhydd. Peidiwch fy nghofleidio fel yna, ond siaradwch."

"O, fy anwyl dad! Oni allwn ni oll fyw gyda ein gilydd? Nis gallaf eich gadael. Ond Llewelyn druan—yn siwr, fy nhad, gallwn oll fyw gyda'n gilydd!"

Ac felly y penderfynwyd, a gwelwyd mewn ychydig fisoedd fod serch wedi trefnu yn well i Mr. Meredydd nag y trefnasai ef iddo ei hun. Yr oedd Anwes, gyda'i theitl, a'i phertrwydd, a'i hysgafnder, yn llanw ei lle i'r dim; ond Myfanwy, a'r cefnder ag yr oedd ei gymmeriad uchel a'i alluoedd disglaer yn ei theilyngu cymmaint, oedd yn gwneud i fyny ymffrost a dedwyddwch cartref Edward Meredydd.

W. C. Davies.

---

## RHAG-YMADRODD MORUS KYFFIN,

I DDIFFYNIAD FFYDD EGLWYS LOEGR, GAN YR ESGOB JEWEL.

Dyma i ti, er lles dy enaid, yn hyn o lyfr, sylwedd a chrynodeb y Ffydd wir Gatholig; i'th hyfforddi a'th berffeithio yn llwybr Gwasanaeth Duw, ac iechydwriaeth dyn. Wrth ddarllen hwn y cei di wybod hanes, a deall gwirionedd, y Grefydd Gristionogol, a chyd a hyny ddangosiad a dadguddiad o annhuredd Crediniaeth Pab Rhufain. Rhoed y Goruchaf Dduw i ti ochel y drwg, a chanlyn y da.

Mi a dybiais yn oreu adael heibio yr hen eiriau Cymreig, y rhai ydynt wedi tyfu allan o gydnabod a chyd-arfer y Cyffredin; ac a ddewisais y geiriau hawsaf, rhwyddaf, a sathrediceaf ag allwn, i wneuthur ffordd yr ymadrodd yn rhydd ac yn ddirwystrus i'r sawl ni wyddant ond y Gymraeg arferedig. Eithr am ryw air angenrheidiol, yr hwn ni ellid dangos mo sylwedd ei rym, na synwyr ei arwyddocâd yn Gymraeg, fe ddarfu i mi, yn ol arfer yr iaith Saesonaeg, Ffrangaeg, iaith Itali, iaith Spaen, a bagad o ieithoedd eraill, gymmeryd y cyfryw air o'r Groeg, neu o'r Lladin, yn y modd y mae'n gynnefin gan mwyaf ym mhob gwlad yng Nghred, er ys talm o amser. Nid oes nemawr o'r fath eiriau; ac o'r rhai rheitiaf ti a gei hyspysrwydd a dehongliad ar eu pennau eu hunain, ar ol diwedd hyn o Rag-ddywediad. Er maint fu fy nghofal a'm myfyrdod yn hyn o beth, etto, mi a wnaf gyfrif gael fy marnu a beio arnaf gan ryw fath ar goeg ddynion, y rhai a graffant ar ambell air yma ac accw, ac a ddywedant yn y fan, "*Wele, geiriau Seisnigaidd a Lladinaidd ydyw y rhai hyn, yn diwyno y Gymraeg.* Fy atteb i'r rhai hyny ydyw'r ddiareb, *Ni wyr, ni welodd, ni ddysg.* Druain gwerin, ychydig a wyddant, llai a welsant, ac nid gwiw son am ddysgu iddynt. Myfi a faddeuaf i'r rhai hyn eu hanwybodaeth a'u ffolineb, a gadawaf i rai eraill chwerthin am eu pennau. Hawdd yw gwybod am ryw eiriau Seisnig, nad oes, ac na bu erioed, eiriau Cymreig i'w cael; a hefyd mai geiriau yn dyfod o'r Ffrangaeg yw y rhan fwyaf o'r rhai y maent hwy yn tybied eu bod yn Seisnigaidd. Ac am y geiriau Lladinaidd, pwy nis gwyr nad yw'r iaith Gymraeg yn ei herwydd, ddim amgen onid hanner Lladin drwyddi. Mi allwn, pe bai gennyf hamdden, wneuthur llyfr digon o faint o'r geiriau Cymreig arferedig, a fenthyceiwyd, nid yn unig o'r Lladin a'r Ffrangaeg, eithr o iaith Itali, ac iaith Spaen hefyd; heblaw'r dafod Roeg, ac Hebraeg, a'r cyfryw. Rhyw rai diddysg, disynwyr, a ddywedant ddarfod i'r ieithoedd hyny fenthyccio gan y Gymraeg, ac nid yr iaith Gymraeg ganddynt hwy. Nid gwiw mo'r ymresymu a'r fath ynfydion cynhwynol, namyn eu gadael mewn anwiredd ac oferedd. Yn wir, chwith iawn yw dal sylw ar lawer o Wŷr Eglwysig Cymreig, yn byw ar bris eneidiau dynion, a bagad eraill o Gymry, yn cymmeryd arnynt eilun dysg a goruchafiaeth, heb ganddynt fri yn y byd ar iaith eu gwlad, eithr rhuso ei dywedyd, a chywilyddio ei chlywed, rhag ofn ishâu ar eu gradd a'u cymmeriad; heb na medru darllen, na cheisio myfyrio, dim a fai â ffrwyth ynddo yn Gymraeg; megys mynnu o honynt i bobl dybied fod cymmaint eu rhagorfraint hwy, na weddai iddynt (f'encidiau gwynion) ostwng cyn ised ag ymyryd ar ddim addysg Gymreig. Taled Duw iddynt ddäed eu cynneddfau. Am danaf fy hun, mi allaf ddywedyd, er dwyn o honof y rhan fwyaf o'm byd, hyd yn hyn o'm hoes, ym mhell oddi wrth wlad Gymru, etto, wrth fod ym mysg ieithoedd dieithr, a darfod i mi dreulio fy amser a'm hastudrwydd mewn pethau eraill, ni bu fwy fy ngofal ar fyfyrio, a dal i'm cof un iaith, na'r Gymraeg; gan ddymuno allu o honof wneuthur rhyw les i'r iaith a'r wlad lle y'm ganwyd, yn ol athrawiaeth Plato, yr Athraw mawr, a phennadur llawer o Philosophyddion dyfnddysg, yr

hwn a ddywedodd, *Ortus nostri partem Partia, partem Parentes vendicant, partem Amici;* sef yw hyny, y mae rhan o'n genedigaeth ni yn ddyledus i'n Gwlad, a rhan yn ddyledus i'n Tadau a'n Mammau, a rhan arall yn ddyledus i'n Hoff-ddynion.

Duw a wyr y buasai yn hawsach i mi o lawer, a hynnotach i'm henw, ysgrifenu y cyfryw beth mewn iaith arall, chwaithach nag yn Gymraeg, ond mi a welaf bob peth (onid antur) ym mhob iaith yng Nghred, mor bybyr, ac mor berffaith, drwy ddysg a diwydrwydd gwŷr da, nad rhaid iddynt, yn ei herwydd wrth ddim ychwaneg. O'r tu arall, prin y gwelaf i ddim (ond Llyfr Gair Duw yn unig) yn y Gymraeg, a dim ffrwyth rhinwedd ynddo, i ddysgu ac i hyfforddi y rhai annysgedig. Doctor William Morgan a gyfieithodd y Beibl drwyddo yn hwyr o amser; gwaith angenrheidiol, gorchestol, duwiol, dysgedig, am yr hwn ni ddichon Cymry fyth dalu a diolch iddo gymmaint ag a haeddodd ef. Cyn hyny, hawdd yw gwybod mai digon llesg oedd cyflwr yr iaith Gymraeg, pryd na cheid clywed fynychaf, ond y naill ai cerdd faswedd, ai ynte rhyw fath arall ar wawd ofer, heb na dysg, na dawn, na deunydd, ynddi. O damweiniai i ryw Brydydd, ryw amser, geisio brâs-naddu ychydig dduwioldeb ar gerdd, ef a ballai mewn llawer pwngc, eisieu dysg a gwybodaeth; gan hynodi i'r bobl ryw hen chwedl; neu goel gwrach ar gwr y barth; a hyny wedi ei dynu allan (y rhan fwyaf) o lyfr Myneich celwyddog gynt, yr hwn a elwid *Legenda Aurea*, ac a ellir ei alw *Traethawd y Celwyddau.* Y mae yn fy meddiant i beth o'r fath gerdd Gymraeg i'w dangos, ac y mae'n dostur iawn gan fy nghalon i feddwl ddarfod twyllo ac anrheithio llawer enaid dyn drwy'r fath erchyll ynfydrwydd. E ddarfuesid cyfieithu y Testament Newydd yng nghylch yr wythfed neu'r nawfed flwyddyn o deyrnasiad ein Harglwyddes Frenhines Elizabeth; ond yr oedd cyfled llediaith a chymmaint anghyfiaith yn yr ymadrodd printiedig, na allai clust gwir Gymro ddioddef clywed mo hono yn iawn. Yn nhal y Testament hwnw, y gwelais i Lythyr duwiol dysgedig at y Cymry, o waith y Gwir Barchedig Dad, Richard, Esgob Meniw, i'w tywyso hwy i adnewyddiad yr hen Ffydd Gatholig, a goleuni Efengyl Crist; yr hwn Lythyr a ysgrifenodd y dywededig Esgob mewn Cymraeg groyw, hyfedr, ymadroddus, a diammeu wneuthur o hono les mawr i bob Cymro a'i darllenodd. Heblaw hyny, mi a welais ddosparth byr ar y rhan gyntaf i Ramadeg Gymraeg a brintiesid er ys talm, yr hwn sydd ran o waith dysgedig yng nghelfyddyd Grammadeg, mor buraidd, mor lathraidd, ac mor odidog ei ymadroddiad, na cllir ddymuno dim perffeithiach yn hyny o beth. Ni wn i weled etto, na chlywed sôn am ddim amgenach yn Gymraeg, â nemawr o addysg ynddo.

Julius Caesar yr Amherawdwr cyntaf, er ys mwy na mil a chwe chant mlynedd aeth heibio, a fynegodd yn ei ystori Ladin, a elwir Comentari, y ddysg a'r Philosophyddiaeth oedd gan y Druidion ym mhlith y Brutaniaid yn ei amser ef; ond ni choeliaf fi ddigwydd ddim sylwedd o'r athrylith a'r athrawiaeth honno i Brydyddion Cymru er ys llawer oes.

Tuag at am newid trefn, a newyddu llwybr, ysgrifenyddiaeth Gymreig, drwy ddychymmyg o wyr ryw fath ddieithr ar lythyrenau ac ysgrifen, bawb ar ei amcan ei hun, a hyny fynychaf heb na rhôl na rheswm; anghymmesur iawn yw'r helynt honno. Os newid llythyrenau sydd raid, cymmwysaf llythyrenau i'r Gymraeg yw'r elfennau Groeg; hefyd, â'r rhai hynny, medd yr Amherawdwr Julius Caesar, yr oedd yr hen Frutaniaid arfer o ysgrifenu yn ei amser ef gynt. Ond gan fod y llythyrenau sydd yn arferedig ac yn sathredig, ym mhlith y Cymry er ys cyhyd o amser, gwell yw cadw y rhai hyny rhagllaw, na throi y bobl i ddysgu Gwyddor drachefn. Os anweddus yw gorfod dyblu, d, l, f, yn nechreu geiriau, Eisteddfod o wŷr dysgedig a ddichon drwy awdurdod cyffredin, ddiwygio hynny o fai. Eithr, yn y cyfamser, gormod hyfder mewn un gŵr, pwy bynnag fo, yw rhoi allan math newydd ar lythyrenau ac ysgrifenyddiaeth, a thybied mai cymhwys i bawb ei ganlyn ef. Hyn a wnaeth i mi ochel newid dim yn y llythyrenau, er bod gennyf amryw ddull ar elfennau, gymmaint a chan arall. Eisieu dysg a duwioldeb, ac nid eisieu llythyrenau i adrodd dysg, sydd ar yr iaith Gymraeg. Nid gwaeth gan y newynog fwyd mewn dysgl bren, nag mewn dysgl arian. Mi a fum mor ddiesgeulus ag a ellais, yn ol trefn ieithoedd dysgedig, ac yn enwedig iaith Ffrainc, ac Itali, ar osod ymadrodd hyn o lyfr yn llyfn ac yn llwybraidd, gan ochel drygsain a llediaith (gymmaint byth ag allwn) yn ysgrifenyddiaeth a lleferydd y geiriau; ac fel y gallai Cymro ei ddarllen ef yn rhwydd ac yn rhygl. O digwydd i ti, ar y cais cyntaf, gyfarfod â pheth anghynnefinder ac anhawsder mewn ystyr a deall rhyw ddywediad neu sentens weithiau, yna darllen di'r man hwnnw drachefn; a pha fynychaf y darllenir ef, hawsach, hawsach fydd ei ddirnad. Hefyd, rhaid i ti wybod, na ellir cyfieithu dim o iaith arall yn Gymraeg cyn rhwydded a chyn rhydded ag y dichon un ysgrifenu'r peth a ddychmygo ac a fynno fo ei hun. Yn y naill, rhaid yw dilyn dywediad a chanlyn cerddediad gŵr arall; yn y llall, mae i ddyn gymmeryd y llwybr a welo fo yn dda, a gwneuthur ei daith a'i waith a fynno, ai hir ai

byr, ai crych ai llyfn, yr hyn peth a ŵyr pawb dysgedig. Yn ychwaneg, gwybydd ddarfod i mi (yn bennaf dim) beri printio hyn o Draethiad, yn y llythyrenau arferediccaf a chydnabyddusaf i'r rhai annysgedig (oddieithr rhyw fath ar eiriau a dywediadau arbennig yn rhyw fannau o'r llyfr); a rhaid yw cyd-ddwyn âg ambell fai a ddiangodd dan ddwylaw y Printiwr, herwydd nid peth cynnefin yw printio Cymraeg. A chymmesur yw adrodd i ti yn hyn o fan, pa ddialedd a llwyr-gam a wnaeth Gŵr Eglwysig o Gymru mewn Eisteddfod; pan crybwyllwyd am roi cennad i un celfydd i brintio Cymraeg, yntau a ddywedodd, nad cymhwys oedd gadael printio math ar y byd ar lyfrau Cymreig, eithr fe a fynnai i'r bobl ddysgu Saesonaeg, a cholli eu Cymraeg; gan ddywedyd ym mhellach, na wna'r Bibl Cymreig ddim da, namyn, llawer o ddrwg. Wele, onid rhinweddol a naturiol oedd bod yn Eglwyswr fel hyn? A allai Ddiawl ei hun ddywedyd yn amgenach? Nid digon oedd ganddo ef yspeilio y Cyffredin am eu dâ daearol, ond ef a fynnai yn gwbl anrheithio eu heneidiau hwy hefyd. Herwydd pwy ni ŵyr mor annhosibl fyddai dwyn yr holl bobl i ddysgu Saesonaeg, ac i golli eu Cymraeg? ac mor resynol, yn y cyfamser, fyddai colli peth aneirif o eneidiau dynion eisieu dysg a dawn i'w hyfforddi? Onid tebyg oedd hwn i'r ci yn gorwedd yn y preseb, ni wnai na bwytta gwair ei hun, na gadael i'r ŷch bori ychwaith? Na bo gwell helynt ei enaid ef, nag oedd ei ystyriaeth fo am eneidiau eraill. Dyweded pawb Amen, ac na chlywer byth son am dano. Ond gan fod Llyfr Gair Duw wedi ei Gymreigio a'i brintio, nid gwiw i neb o blant Diawl bellach geisio tywyllu golenni Cymru, gwnelont eu gwaethaf. Gwaith rheidiol iawn fyddai troi'r Psalmau i gynghanedd Gymreig; nid i gynghanedd Englyn, nac Owdl, na Chywydd, nac i fath yn y byd ar gerdd blethedig; herwydd felly ni ellir troi na'r Psalmau na dim arall yn gywir; eithr i'r fath fesur a thôn cynghannedd ag sydd gymmeradwy ym mhob gwlad a ddiwygiwyd drwy dderbyniad disgleirdeb yr Efengyl; ac fel y gwelir yn y Saesonaeg, Scotiaith, Ffrangaeg, iaith Italia, iaith Germania, a'r cyfryw; fel y gallo y bobl ganu i gyd ar unwaith yn yr Eglwys, yr hyn beth a fyddai ddifyrwch a diddanwch nefol iddynt yn y Llan, a chartref. Am Englyn, neu Owdl, neu Gywydd, e ŵyr pawb nad cynnefin ond i un dyn ar unwaith ganu'r un o rai hynny. Heblaw hynny, ni wasanaetha tôn yr un o honynt i gerdd ysbrydol uchelfraint; a phe gwasanaethai, etto, cabledd mawr yw cymysgu cerdd yr Yspryd Glân yn yr un dôn ganiad â cherdd faswedd ofer. Rhaid i'r neb a gychwyno hyn o orchwyl cyssegr, ddeall amryw ieithoedd dysgedig, megys na rhoddo ef un gair yn y gynghanedd ond a fo gwbl gydsyniol â meddwl yr Yspryd Glan. Pettai gennyf y seibiant a'r hamdden sydd gan lawer, cyntaf peth a chwannoccaf poen a gymmerwn i arnaf, fyddai tueddu at hyn o waith, ar ol cyd-siarad â Dysgedigion Cymru ynghylch pa ddull a math ar gynghanedd a dybygid oreu a chymmesuraf i hyn o dduwioldeb. Yn y cyfamser, Ddarllenydd Cristionogol, dyro groeso i'r llyfr duwiol yma, a droes i o Ladin, er mwyn y rhai annysgedig; yn yr hon iaith yr ysgrifenodd yr Esgob Jewel ef, un o'r gwŷr goreu ei ddysg, a duwiolaf ei fuchedd, a'r a fagwyd erioed dan Gred a Bedydd. Duw a roddo i ti hyfryd gynnydd a chymmorth ym mhob daioni ysprydol. Ac yn ol archiad Crist ein Prynwr, *Yn gyntaf, cais deyrnas Dduw a'i gyfiawnder, a thi a gei bob peth yn ychwaneg.*

---

## Y PERERIN IEUANC.

### HANESYN SYML.

Unig breswylydd ieuanc tŷ mawr hen ffassiwn, mewn tref henafol, yn nghanol Gogledd Cymru, oedd Maria Wynn. Yr oedd hi yn byw gyd a'i nain, a dwy fodryb heb brïodi, y rhai y buasai hi yn eu galw yn hen iawn mewn gwirionedd, er nad oeddynt hwy mewn un modd o'r un farn. Yn wir byddai y ferch fâch yn dadlen yn dŷn ar bob achlysur cyfaddas, ac annghyfaddas weithiau hefyd, na allasent fod erïoed mor ieuanc ag yr ymddangosent yn eu *pictiurs*, y rhai a'u darlunient fel dwy hoeden dal, annestlus, yn dechreu dynesu at gyflwr o wreigeiddrwydd; un, â *pharot* ar ei llaw, a'r llall, â chath fach ddryg-argoelus yn ei breichiau; a'r ddwy yn meddu y gwallt dnaf, y gruddiau cochaf, yr amdwygau (*frocks*) gwynaf, a'r *sashes* mwyaf *pinc*.

Buasai y rhan fwyaf yn dysgwyl cael Maria fâch yn un o'r plant hurtiaf, a mwyaf anhapus, gan fod y lle yn ymddangos yn fwyaf annghydrywiol â thymherau bywiog geneth fechan lawen; yn gymaint a bod dystawrwydd marwolaeth yn teyrnasu trwy yr holl dŷ, adseiniau yr hwn ni ddeffroid un amser gan unrhyw drwst heblaw cynffon *Lili* yn curo yn erbyn drws y gyfarchfa, pan ei canfyddai yn ganedig; yr hon a arferai y moddion hwnw er cael dyfodfa i fewn i'r cylch oddeutu y lle tân, lle yr ymddangosai ei blew gwynion prydferth i fantais neillduol yn ymyl dyblygion gwychion, sidanau duon y Nain. Yr oedd *Lili* yn hanu o'r gâth fach a ddangosid yn y darlun ar freich-

iau Modryb Maria; ac yr oedd hyn yn amgylchiad a ddyrysai lawer ar feddwl ieuengaidd Maria, yr hon ni's gallai gymmodi y meddylddrych i greadur mor hen fod yn wyres i un mor ieuanc; gan ei bod yn sylwi ei bod yn hollol wahanol rhwng ei nain a hithau.

Pa fodd bynag yr oedd Marïa yn blentyn hynod o ddedwydd, er na's meiddiai drystiaw dim yn un man ond yn ei hystafell chwareu ei hunan, yn mhen uchaf y tŷ. Wrth gwrs, yr oedd iddi ei thrallodau, fel genethod bychain eraill, hyd yn nod y rhai hyny na roddir attalfa fyth ar eu llais; a byddai yn arfer myned i brofedigaethau blinion weithiau; ond, hi a arferai ddyfod o honynt yn fuan; ac nid oedd yn cael ei blino gan ofidiau am y mynedol, nac ofnau am y dyfodol.

Y cyfyngder tra difrifol cyntaf a allai Marïa ei chofio ei hunan ynddo, a ddygwyddasai un diwrnod, pan oedd y Nain a'r ddwy Fodryb wedi myned allan i giniawa, yr hyn oedd yn ddygwyddiad tra anfynych, ac o ddyddordeb arbenig yn y teulu. Yr oedd y ddwy fodryb wedi bod yn petruso peth yn nghylch y prïodoldeb o adael Marïa wrthi ei hun dros gyhyd yspaid; ond gan yr ymddangosai allan o'r cwestiwn i un o honynt hwy aros gartref i gymeryd ei gofal, nid oedd dim i'w wneyd ond rhoddi y siars fwyaf difrifol, i'r deuluyddes, Mrs. Martha, i ofalu na's gollyngai hi i fyned allan o'i golwg.

Yn awr nid amcanai Mrs. Martha ar un cyfrif i fod yn euog o fod yn anffyddlawn i'r ymddiried a roddid ynddi. Ond, hi a brynasai dê *green* rhagorol, ac a bobasai deisen flasus, ac a wahoddasai ddwy lawforwynion boneddigesau i yfed tea gyda hi; ac nid oedd bod i Marïa fod gyda hwy trwy y prydnhawn, yn cydweddu mewn un modd a'i golygiad ar eu cysur, gan y gallasai hi ail adrodd yn y gyfarchfa dranoeth, yr hyn a glywsai hi yn eu hymddiddanion hwy.

A chan ei bod mor awyddus am ochel y badell ffrïo a'r tân, fel y dywedai drachefn, wrth Hannah, y dŷ-weinyddes, hi a benderfynasai roddi i Miss Marïa ddefnyddiau i wneuthur gwledd fechan gyda'i thegan-lestri yr ydoedd newydd eu cael; a chludasai fwrdd, a chadair fechan yr eneth fach, i lanerch ar y werddon, ar gyfer ffenestr fawr eu hystafell hwy. Yno eu cyflëodd, yn nghyda basgedaid fawr o deganau, yn nghysgod gwrŷch o bren bocs, a dorasid ar lun eryr anferth, gan gredu y buasai y plentyn felly o fewn cyrhaedd golwg yn wastadol, ac os y crwydrai, y byddai iddi ganfod ei cholli yn ddïoed, ac y gallai ei chanlyn yn fuan. Ni's gallai ddyfalu pa ham yr oedd y boneddigesau mor bryderus am iddi gael ei gwylio ar y diwrnod hwnw, gan y byddai Marïa yn arfer chwareu wrthi ei hunan yn yr ardd am oriau beunydd; "ond," ebai hi wrthi ei hun, "y mae e yn ddigon naturiol, mae yn debyg, gan eu bod yn myned mor anfynych i blesera, eu bod yn ofnus yn ei chylch hi."

Yr oedd Marïa yn y cyffredin, yn eneth hynod o dda, a phe caniattasid iddi foddhad rhesymol i'w chwilfrydedd plentynaidd, ni buasai y dymuniad a lanwai ei holl feddwl yn awr, wedi cael lle yno erïoed. Ond byddai ei modryb, Priscilla, bob amser yn haeru mor bendant na ddylesid caniattau i enethod bychain ofyn cwestiynau, gan y byddai iddynt pan dyfent i fynu wybod pob peth y buasai yn dda iddynt ei wybod; a hi a deimlasai mor llym-dost yn ddiweddar dan chwerthiniad ei modrybedd, pan y gofynodd a oedd gan afonydd ddannedd cystal a safnau, fel y penderfynodd na's gofynai gwestiynau, ond y ceisiai ddarganfod drosti ei hunan, yr hyn y dymunai ei wybod mor fawr yn bresenol; ac ymddangosai y diwrnod ar yr hwn yr oedd ei nain a'i modrybedd i giniawa allan, mor gymhwys i wneyd yr ymgais, fel y parai clywed fod Mrs. Martha i groesawi ei ffryndiau yr un prydnhawn, lawenydd mawr iddi. Yr oedd Marïa wedi cael ei haddysgu yn ofalus, fel y gallai ddarllen yn dda iawn, ac yr ydoedd wedi dechreu dysgu ysgrifenu, ac wedi cael gwersi mewn daiaryddiaeth, a hanesyddiaeth; er fod ei drychfeddyliau am ofod, ac yspaid, yn ddyryslyd a thywyll o angenrheidrwydd, fel canlyniad naturiol y dull sŷch a diflas, y gweinyddid addysg iddi. Hi a ffurfiasai amcan-dyb o'r eiddi ei hun, fod pob enwogion o wahanol wledydd, ag y dechreua eu henwau â'r cyffelyb sain, yn gyfoeswyr; er enghraifft, y gallasai bod y Frenines Anne, a Hannibal; y Frenines Mary, a Marius; Brutus, a Bruce y Teithydd, yn adnabod y naill y llall, pe buasent yn byw yn ddigon agos i'w gilydd. Nid oedd ei syniadau am ddaiaryddiaeth yn rhyw lawer amgenach, fel y gellir casglu oddiwrth y ffaith ei bod hi yn credu am ryw orgloddiau oeddynt yn y fynwent, eu bod mewn gwirionedd yr hyn yr haerai Martha eu bod, yn nodi beddau y babanod a laddasai Herod! Dywedai ei nain wrth ei holl gydnabod, y fath drapherth fawr a gymerasai hi i roddi egwyddorion dâ i Marïa. Gellid crynhoi ei holl ddarlithiau ar y pethau hyn dan bump o benau; sef, rhoddi pob peth yn ei le prïodol, gwneyd pob peth yn ei iawn bryd, cadw pob peth i'w iawn ddefnydd, bod yn foneddfoes, a chasau y Ffrancod. Nid rhyfedd gan hyny, gyd a'r fath ddygiad i fynu, fod darllen "Taith y Pererin," o'r hwn y rhoddasid eiliad, (*copy*) iddi yn ddiweddar, wedi rhoddi gogwyddiad hollol newydd i'w meddyliau. Mawr oedd ei helynt yn ceisio dyfalu, pa faint o hono a allai fod yn wir, tra ar un diwrnod, fel yr oeddynt

yn marchogaeth yn y cerbyd, y canfyddai ychydig bellder o'r ffordd, dŷ tra phrydferth. Ar waith rhyw un yn gofyn pa beth oedd ei enw, ni's gallai glywed yr attebiad yn eglur; ond, yr oedd yn sicr iddi glywed y gair PRYDFERTH, a chan eu bod yn y fan yn dechreu disgyn i lawr i riw, hi a benderfynodd yn y fan mai y "Palas Prydferth" ydoedd, ac mai "Bryn Anhawsdra" oedd y bryn hwnw. Yr oedd un pwnc wedi ei sicrhau bellach, sef bod y cyfryw leoedd mewn gwirionedd; ond hi a ddechreuodd fod yn hynod o drallodus, pan ddeallodd eu bod yn teithio mewn cyfeiriad gwahanol i'r hyn a ddylasent.

Yr oedd yr Hen dref yn dref lle y cymerai llai o gyfnewidiadau le nag mewn lleoedd mwy diweddar a phoblogaidd; a phrin y gallai Marïa gofio iddi glywed am neb wedi ei gadael un amser. Yn sier, ni chlywsai hi erïoed am neb wedi myned ar bererindod, a rhyfeddai lawer pa fodd y gallai ei modrybau, y rhai a ddywedasent wrthi fod Taith y Pererin yn llyfr mor dda, ei ddarllen, heb feddwl fod yn angenrheidiol iddynt gymeryd y cyngor a drosglwyddid iddynt ynddo.

Dygwyddai periglor y plwyf alw yn nhy Mrs. Walker dranoeth, ac fel yr oedd ef yn myned ymaith, efe a ymofynai mor garedig am yr eneth fach, fel ei gelwid hi o'r ardd i'w weled ef. Efe a ofynai iddi pa lyfr yr oedd hi yn ei ddarllen, a phan y dywedai mai Taith y Pererin ydoedd, efe a dynai ei law dros ei phen, ac a ddywedai, ei fod ef yn gobeithio nad oedai hi heb gychwyn ar ei phererindod hyd oni byddai yn oedran Cristion, gan ychwanegu, mai Pererin ieuanc oedd y gwrthddrych mwyaf dyddorawl y gwyddai ef am dano.

Yr oedd y cyfeillesau cynnulledig yn ystafell y deuluyddes, newydd droi wynebau eu cwpanau i waered, yn arwydd na's mynent eu llenwi drachefn, pan ofynodd un o honynt ganiattad Martha, i roddi darn o fara, a menyn tew arno, a siwgr ar hyny, i Miss Marïa,—fel arwydd o ddïolchgarwch, debygid, am iddi ymgadw o'u ffordd. Rhoddwyd y caniattâd; ond, gan na's gellid canfod Miss Marïa, aethant oll i'r ardd i chwilio am dani. Chwilid pob rhodfa, ond yn ofer; ac o'r diwedd, wedi canfod clwyd fechan a arweiniai i'r coed, yn agored, chwilid y coed; ond heb ddim gwell llwyddiant. Y fath ing a ddyoddefai Mrs. Martha, pan feddyliai mor ffyddlawn yr addawsai na's gollyngai y plentyn o'i golwg! Dychwelasant i'r tŷ, gan fod rhyw un yn awgrymu y gallai ei bod yno. Ond, nid oedd! Yr oedd eu holl ymchwiliad yn ofer. Meddyliai Hannah, y gallai ei bod wedi myned i brynu melusion; ond ni's gwelsid hi yn y siop, nag ar y ffordd tuag yno; canys safai Hannah i ofyn i bob un a gyfarfyddai, os gwelsent y plentyn. Treulid awr ar ol awr mewn ymchwil aflwyddiannus; ac o'r diwedd, cyrhaeddai y boneddigesau adref, pan gymerai golygfa gyffrous annysgrifiadol le. Yn nghanol hyny dyna fachgenyn yn dyfod, a chanddo esgid fechan, yr hon y meddyliai ei bod yn perthyn i'r foneddiges ieuanc; ac erbyn ei hedrych, nid oedd un amheuaeth mai esgid yr eneth golledig ydoedd; ac aml oeddynt y dagrau a dywelltid uwch ben yr hyn medd Mrs. Martha, oedd y cwbl oedd yn aros yn awr o Miss Marïa. Ni's gallai y bachgen roddi unrhyw hysbysrwydd pa le y cawsid yr esgid fach, gan mai gwraig anadnabyddus iddo ef, a'i rhoddasai iddo i'w chymeryd i Mrs. Walker, gan ddywedyd yn unig ei bod wedi ei chael gan ddyn nad adwaenai, yr hwn a ddywedai ei fod wedi ei chanfod, ond na's gofynasai iddo pa le: ond, pan glybu hi fod boneddiges fechan wedi colli yn yr Hen dref, iddi feddwl os yr eiddi hi ydoedd, y byddai yn rhyw ddyddanwch i'w chyfeillion gael rhyw beth a berthynai iddi.

Ond, y mae yn bryd i ni ddychwelyd at Marïa. Pan wnaeth hi ei meddwl i fynu i gychwyn i'w siwrnai, yr hyn a drallodai ei meddwl oedd, na's gwyddai pa gyfeiriad i droi er canfod y llwybr yr oedd i'w ddilyn; ac yr oedd yn benderfynol na's gofynai y ffordd i neb, gan ofn cyfarfod Mr. Bydol Ddoethyn. Hi a wyddai nad oedd y ffordd y daethent yn y cerbyd, wedi eu dwyn trwy y porth bychan. Gan hyny, hi a ddaethai i'r penderfyniad, fod o angenrheidrwydd, ryw lwybr gwahanol at droed Bryn Anhawsder, yr hwn a welai yn eglur o'r ardd; felly hi a benderfynodd fyned trwy y caeau, gan obeithio y dygwyddai ddyfod iddo: ond, oni lwyddai i gyrhaedd yno ar hyd yr iawn lwybr, y cyrhaeddai yno pa fodd bynag; a phan y cyrhaeddai luest y porthor wrth glwyd y palas, hi a ofynai yno am iddynt ei chymeryd yn ol i ben y llwybr, yr hyn y credai yn ddiamheuol a wnelai rhyw-un o honynt. Gan hyny hi a gychwynai, gan ddysgwyl bob eiliad, glywed ei henw yn cael ei alw o'i hol; canys cofiai fod cyfeillion Cristion yn daer arno i droi yn ôl, a thybiai yn naturiol, y byddai yr eiddi hithau felly hefyd; ond yr oedd hi yn benderfynol i fyned rhagddi megis yr aeth yntau; a dodai ei bysedd yn ei chlustiau rhag eu clywed. Mae yn wir ei bod yn lled amheus o'r prïodoldeb o adael cartref; ond yna hi a adgofiai fod Mr. Roberts wedi ei chynghori mor bendant i ymgymeryd â'r daith, fel na's gallai ei modrybau feio llawer arni, yn enwedig gan ei bod wedi sylwi mor galonog y cydsynient âg ef yn nghylch yr angenrheidrwydd o hyny; ac mor fynych y byddent ar brydnhawn Sabbath yn ei chynghori i wneyd yn nghorff yr wythnos, yr oll a gymhellai Mr. Roberts yn ei bregethau, fel y meddyliai, neu y ceisiai feddwl, na chaent

un achos i achwyn am unwaith. Dringai dros, neu ymwthiai drwy, amryw wrychoedd, heb weled dim tebyg i lwybr trwy y caeau: eto, hi a ddychymygai ei bod yn nesau at y bryn, a meddyliai os gallai gyrhaedd y Palas, y caniatteid iddi gysgu yno, er na ddaethai trwy y Porth Bychan, gan ei bod hi mewn gwirionedd yn dymuno myned drwyddo; ac ymddifyrai drwy ddyfalu, a gai hi gysgu yn yr un ystafell ag y buasai Cristion yn cysgu ynddi, a pha un a roddent hwy arfogaeth iddi hi, ynte gan bererinion gwrrywaidd yn unig y gwisgid arfogaeth. Torid ar ei myfyrdodau, trwy ganfod o honi luaws o wartheg yn rhedeg tuag atti hi, fel yr ofnai; felly dechreuai hithau redeg; ac ni chanfyddodd ei bod wedi colli un o'i hesgidiau yn ei ffōedigaeth, hyd onid oedd wedi dringo dros glwyd i'r cae nesaf;—dyma yr esgid a barasai gymaint o wylofain gartref. Ac ni's meiddiai fyned yn ol i chwilio am dani, gan fod ei yn parhau i ymlid y gwartheg; ond meddyliai y gallai gerdded hebddi, gan fod y glaswellt yn dra esmwyth, a chredai y buasai Doethineb, Duwioldeb, neu Cariad, yn rhoddi un newydd iddi hi. O'r diwedd, hi a gyrhaeddai y brif-ffordd, a dechreuai esgyn y bryn. Erbyn hyn yr oedd hi yn dra lluddedig, yn dra chysglyd, ac yn dra newynllyd; ond, cofiai fod Cristion wedi teimlo yn gysglyd yma hefyd; a phenderfynai, er mor flin ydoedd, na chysgai yn y Gwydd-babell, am yr hon, modd bynag, yr edrychai yn ofer; a phenderfynai ei bod wedi ei thynu i lawr: ni's gallai lai na theimlo yn llawen am hyny; gan y buasai yn dra anhawdd iddi, gyd a'i haelodau bach, lluddedig, wrthsefyll y demtasiwn. Teimlai yn ddirfawr wrth weled gynnifer o bobl oeddynt yn dyfod i waered y bryn, ac nad oedd neb ond ei hunan yn esgyn iddo. O'r diwedd, canfyddai ddau ddyn mawr, mewn ymddangosiad yn ymryson rhedeg i waered, a'i chalon fach a gurai yn gyflymach fel y meddyliai mor ofnadwy yr ymddangosai y llewod: canys os nad Ofnog a Digred eu hunain oedd y rhai hyn, nid ammheuai am fynyd nad oeddynt wedi eu brawychu yr un modd. Ni welsai hi ddim llewod y diwrnod yr aethent heibio yn y cerbyd, a buasai weithiau yn anturio gobeithio nad oeddynt mewn bod mwyach; ond, fel y crynai y druan fach ar gyrhaeddiad trofa yn y ffordd, lle y cyfeiriai at y lluest a welsai o'r blaen, pan yr ymddangosai dau lew anferth, yn gorwedd dan gysgod dwy ffawydden fawr! Nid oedd Marïa yn gyfarwydd ar anianyddiaeth, pe amgen hi a fuasai yn canfod ar unwaith mai o faen eu gwnelsid; ond, nid amheuodd hi am fynyd nad *y gwir* lewod oeddynt. Safai yn craffu ac yn crynu dros beth amser, gan ail adrodd yn barhaus, "Yr oedd y llewod wedi eu cadwyno; ond ni's gwelai ef y cadwynau;" ac yna, gan ymgalonogi hyd yr eithaf, hi a redai rhyngddynt yn gyflym, ac a aeth trwy y glwyd, a churodd ddrws y lluest â'i holl allu bychan. Fe'i hagorid gan wr tal, siriolwedd; ac fe'i dylenwid hi âg arswyd wrth weled o'r diwedd, fel y tybiai, un o'r rhai y darllenasai am danynt, ac y buasai yn meddwl cymaint yn eu cylch; a hi a ymgrymodd iddo, ac a ddywedodd, "Rhynged bodd i chwi syr, a'i chwychwi yw Gwyliadwrus?" I'r hyn yr attebai y dyn yn siriol, gan ddywedyd, "Wel Miss, o ran hyny, gobeithiaf fy mod yn wyliadwrus; attolwg pa beth oedd arnoch chwi eisiau?" "Y mae arnaf eisiau Pwyll, os gwelwch chwi yn dda syr," medd Marïa. "Oni chlywch chwi, Meistress," medd y gŵr, gan edrych dros ei ysgwydd ar ei wraig, "a glywsoch chwi y fath beth a hynyna erïoed?—dyma ferch fechan yn dywedyd fod arni eisiau pwyll. Yn wir myfi a welais lawer un o'r blaen ag yr oedd arnynt ei eisiau; ond, ni welais yr un erïoed a addefai hyny." Ar hyny ymddangosai gwraig deneu, sur yr olwg arni, tra annhebyg i ddim a ddysgwyliasai Marïa ei weled mor agos i'r Palas Prydferth.—"Felly, y mae arnoch eisiau pwyll, Miss? Wel, y mae yn syn genyf onid oes arnoch eisiau rhywbeth arall." "Yr oeddwn yn meddwl," medd Marïa, gan geisio ymddangos yn ddewrwych, "y dichon y caniattasid i mi gysgu, naill ai yma neu yn y Palas." Cymerodd cyd ymgynghoriad o'r neilldu le yn awr, rhwng y gŵr a'r wraig, yn yr hwn y cyttunwyd bod iddo ef gymeryd Marïa at y boneddion yn y tŷ mawr, gan y gallai y byddai iddynt hwy wneyd rhyw beth o honi hi. Teimlai Marïa yn falch iawn pan ei cafodd ei hun a'i llaw yn llaw Mr. Gwyliadwrus, ac mewn gwirionedd ar y ffordd i'r palas. Gadawai ei harweinydd hi oddiallan, tra y gofynai am gael ymddiddan â Mrs. Adams, wrth yr hon y dywedai, ei bod yn ymddangos bod galluoedd dëallawl y foneddiges fach, yn un pentwr, gan mor ryfedd oedd clywed un o'i bath, yn dweyd fod arni eisiau pwyll, neu gallineb, er ei fod yn ddïamheuol fod hyny yn ddigon gwir. Dywedai Mrs. Adams wrtho am geisio march yn barod, fel y gallai ei anfon ef at gyfeillion yr eneth fach, can gynted ag y deuai i wybod pwy oeddynt; a hi a ddaeth, ac a dywysodd Marïa gerfydd ei llaw i'r gyfarchfa (*drawing-room*) mor dyner, gan edrych arni mor dirion, fel y dechreuai Marïa ei theimlo ei hun yn gwbl ddyogel. Yr oedd yn llawen pan ganfu dair boneddiges ieuanc yn yr ystafell, y rhai y tybiai yn ddi betrus nad oeddynt neb amgen na Duwioldeb, Pwyll, a Chariad. Wedi i Mrs. Adams roddi darn fawr o fara ac ymenyn iddi hi, a llaeth newydd, dywedai wrthi, "Yn awr fy

anwylyd, mynegwch i ni eich enw, a phwy yw eich tâd a'ch mam." "Fy enw, Madam, yw Marïa Walker; ond ni fu genyf dâd na mam erïoed," medd Marïa, gyd a'r symlrwydd mwyaf. "A pha le yr ydych chwi yn byw, fy anwylyd?" "Yn yr Hen dref, gyda fy nain." "I ba le yr oeddych chwi yn myned, fy anwylyd?" "Nid oedd arnaf eisiau myned yn mhellach na'r tŷ hwn heno. Yr oeddwn bob amser yn bwriadu cysgu yma." "A oes neb yn gwybod eich bod yn bwriadu dyfod yma?" "Nac oes, Madam. Nid oedd neb yn gwybod fy mod i yn bwriadu dyfod heddyw; ond, yr oedd ein hoffeiriad, Mr. Roberts, wedi fy nghynghori i yn ddifrifol i ddyfod, ac efe a ddywedai na's gallaswn gychwyn yn rhŷ fuan." "Pa beth oedd eich amcan yn dyfod, Marïa?" "Yr oeddwn yn dymuno rhoddi siampl i holl bobl yr Hen dref," oedd yr atteb; ac ni allai Mrs. Adams a'i merched ddirnad pa beth i'w feddwl o'u hymwelyddes fechan.

Pa fodd bynag, ennillai Marïa gymaint o galondid, fel y meddyliai y gallai bellach feiddio gofyn ychydig gwestiynau, a dechreuai drwy ofyn, "A fydd llawer o blant yn dyfod yma, Madam?" "Bydd, fe fydd genym blant yma weithiau. Yr ydym oll yn dra hoff o honynt pan fyddont yn dda." "A oes genych chwi unrhyw arfogaeth i enethod bach, Madam?" Yr oedd hyn braidd yn ormod i ddifrifwch Mrs. Adams; ond penderfynai na's gadawai i'r eneth weled gymaint o ddigrifwch oedd hi yn ei gael; eithr yn hytrach, cefnogai hi i ofyn unrhyw gwestiynau a fynai, gan obeithio y gallai drwy hyny gael rhyw oleuni ar y sefyllfa ryfedd yn yr hon yr ymddangosai fod ei meddwl. "O nag oes!" ebai hi; ond pa ham y mae arnoch chwi eisiau gwybod?" "Yr oeddwn yn ofni nad oedd genych," ebai Marïa; ac yna, gan edrych yn dra difrifol, dywedai, "Attolwg, *madam*, dywedwch i mi, a ydyw y tŷ hwn yn agos iawn i Lyn Cysgod Angeu?" "Fy mhlentyn tlawd," medd Mrs. Adams, gan ei thynu yn nês atti ei hun, a'i chusanu, "ni's gall neb o honom ddywedyd pa mor agos ydyw e; efallai ei fod yn nês nag yr ydym yn meddwl." "Ond, nid anfonwch fi yno heno, a wnewch chwi?" ac yr oedd y plentyn yn haner wylo, fel y gofynai y cwestiwn. "Chwi a adewch i mi aros a chysgu yma?" "Cewch y crwydryn bach anwyl, chwi a gewch hyny; ac yr ydwyf yn meddwl y rhaid fod arnoch eisiau cysgu mawr, canys yr ydych yn ymddangos yn flinderog, ac y mae eich llaw fechan yn boeth iawn." "Mae yn debyg na fydd neb byth yn dyfod yn ol yma wedi bod trwy y Glyn," medd y plentyn yn mhellach, fel pe y buasai yn myfyrio yn hyglyw. Cyffyrddai hyn â llinyn tyner yn mhob mynwes oedd yn bresenol, nes eu cynhyrfu drwyddynt; canys yr oedd eu galar-wisgoedd eto yn newydd, am un anwyl iawn ganddynt, a yrasid yn ddisymwth drwy y Glyn a grybwyllasai Marïa. "Bum yn meddwl, Madam, y buasai yn beth arswydus i eneth fach fel myfi orfod myned yno yn unig, heb arfogaeth. O! gadewch i Dduwioldeb ddyfod gyda mi!" medd y plentyn, gan ryfeddu pa beth a allasai hi fod wedi ei ddywedyd, i beri iddynt oll wylo felly. Ar y fynyd hon cyrhaeddodd y porthor i ddywedyd ei fod ef yn barod, a dymunai Mrs. Adams arno hysbysu Mrs. Walker, fod ei Marïa fach yn ddyogel, ond yn dra blinedig, ac y byddai iddi hi ei chymeryd adref yn y boreu; neu, y byddai yn dda ganddi weled y boneddigesau yn dyfod i'w hymofyn, os dewisent hyny. "Nid oes arnaf eisiau myned adref," medd Marïa, "yr unig beth sydd arnaf eisiau, ydyw myned yn ol can belled a'r Porth Bychan, fel y gallwyf ddechreu yn y dechreu." "O, yn awr, yr ydwyf yn gweled y cyfan!" medd y foneddiges, am yr hon y meddyliai Marïa yn sicr mai Cariad ydoedd; "yr ydych chwi, y creadur bychan anwyl, wedi bod yn darllen Taith y Pererin, hyd onid yw eich pen bychan wedi troi, fel yr ydwyf yn sicr y buasai yr eiddof finnau yn eich oedran chwi, oni buasai fod genyf fam dda, i'w egluro oll i mi; a chan na fu genych chwi fam erïoed, pa fodd y gallech chwi wybod dim am dano?"

Ychydig gwestiynau doeth yn awr, a dynodd allan holl hanes ei phererindod oddiwrth Marïa, a phan gyrhaeddodd eu modrybau cyn boreubryd dranoeth, yr oeddynt wedi synu ei gweled yn edrych mor dda, a dedwydd, a rhesymol, gan eu bod wedi eu brawychu yn fawr trwy yr adroddiad a roddasai Mr. Gwyliadwrus iddynt am yr hyn a alwai efe yn ben-ysgafnder, a diffyg synwyr.

Mrs. Adams a ddymunai am iddi gael caniattad i aros gyda hwy dros rai dyddiau; a chyn i amser ei hymadawiad ddod i fynu, yr oedd yr alleg brydferth a barasai gymaint o ddyryswch iddi, wedi ei gwneyd mor eglur, fel y meddyliai ei bod yn hynod o bendew, na buasai wedi cael y meddwl allan iddi ei hun.

Mae yn ddiamheuol genyf y bydd yn dda gan ein darllenwyr ieuainc glywed, bod Marïa, gan yr hon y mae genethod bychain o'r eiddi ei hun yn bresenol, wedi cael hyd i'r Porth Bychan gwirioneddol er's llawer o amser bellach, ac yn awyddus i ddangos i eraill y rhagorfraint o gael myned i mewn trwyddo. Ychydig yn yr oes bresenol sydd, na chawsant fwy o fanteision nag a gafodd hi; ac os tueddir neb i ofyn iddynt eu hunain y cwestiwn pwysig, pa un a ydynt hwy, gyd ag addysg ragorach, mor ddifrifol am sicrhau yn nyddiau eu hiechyd, Dduwioldeb yn gydym-

aith trwy y Glyn tywyll, yr hwn sydd raid i ni oll ei droedio yn fuan neu yn hwyr, ni bydd fy chwedl wedi ei hysgrifenu yn ofer.

---

## YR HANESYN AM GERALDINE,

GAN UN O'I CHYFEILLION.

Y mae ni weithian rhwng deugain a haner can mlynedd, er pan yr oedd fy chwaer a minnau yn preswylio yn agos i ardal brydferth CAERWEL, mewn parth rhamantus o Loegr, na ymwelir âg ef ond anaml yn awr; ond oedd ar y pryd hyny yn uwchder yr enwogrwydd hwnw, am dymor byr, ag sydd yn sicr o hynodi pob cymydogaeth, lle y byddo ffynhonau o ddwfr iachus a meddygol newydd gael eu darganfod, gan y rhai a hoffant bob peth newydd yn ein gwlad. Y mae cynnwrf a bywiogrwydd gorwych Caerwel wedi myned agos yn anghof er ys llawer dydd; nid yw y meddygon bellach yn ystyried fod ei ffynhonellau yn un moddion neillduol er gwellhau oddiwrth bob anhwylder marwol; ac nid yw y byd mawr, sydd wedi blino ar rwysgfawredd neuaddau ein henafiaid, yn prysuro i'r gwestdai; nac yn ymdrechu, drwy ymgyflwyno i anghyfleusderau amserol, er mwynhau yr hyn a all roddi blas iddynt ar eu cartrefi. Y mae pob peth yn awr yn ddistawrwydd a llonyddwch, ond i olwg fy meddwl i, bydd byth mwy, yn cael ei ddarlunio fel yr hyn ydoedd y pryd hwnw, yn hytrach na'r hyn ydyw yn awr.

Yr oedd fy chwaer a minnau bron wedi dyfod i'n hoedran ar y pryd yr wyf yn ysgrifenu am dano yn awr; yr oeddym wedi cael ein gadael yn amddifaid mewn oedran rhy ieuangc i allu gwybod maint ein colled; ac er pan adawsom yr ysgol, yr oeddym wedi treulio ein hamser gan mwyaf, i ymweled a'n perthynasau lluosog; ond yn uniongyrchol wedi dyfod i feddiant o'r gwaddol eang a ddisgynodd i ni trwy ewyllys ein tad, pan y deuem yn un ar hugain oed, daethom i'r penderfyniad o gymeryd anneddle prydferth bychan am ychydig fisoedd yn nghymydogaeth Caerwel, a gadael ein cartref sefydlog, fel yn anmhenderfynol am y pryd. Aeth misoedd yr haf heibio yn gyflym, ac anfynych yr wyf yn credu, y bu i unrhyw etifeddesau ieuaingc, fwynhau mor helaeth y dyrchafiad a'r weniaith, a bentyrwyd dros yr holl fyd arnynt mor gyflawn ag y darfu i ni. Yr oeddym yn disgwyl gadael ein Bryn Euryn hoff (canys felly y gelwid ein bwthyn) yn mhen tua phymthefnos, pan ar un boreu hydrefol teg, y canfyddais i nad oedd fy chwaer mor barod at ei boreufwyd ag oeddwyn i fy hun, y cymerais fy mhenguwch, ac y gelwais ar ein ci bach Ffancon, i gymeryd gwibdaith gyda mi trwy yr isffyrdd gerllaw, gan ddisgwyl peri syndod i Harriet ar fy nychweliad, wrth ei hysbysu fod y gylchdaith benodol, wedi cael ei gwneud mewn tuag un ran o dair o'r amser ag a arferid gymeryd at y fath ffordd. Pa fodd bynag, nid oeddwn i wedi myned yn mhell, cyn i mi gyfarfod â gwraig, bwthyn yr hon y buaswn i yn ymweled âg ef lawer gwaith, a'r hon, drwy ddwysder ei hymddygiad, a rhyw ddifrifoldeb yn ei golwg, a ymddangosai fel yn dywedyd mor eglur âg y gellid llefaru â geiriau, "Pe na buasech chwi ar y fath frys, Miss Emily, mi a ddywedaswn i chwi beth a fusai o ddyddordeb mawr i chwi." Mi a sefais yn y fan, a dechreuodd yn uniongyrchol ofyn i mi, a oeddwn i wedi clywed am y ddamwain echrydus oedd wedi cyfarfod y cerbyd boreuol, er tu ag awr o amser yn ol? Yr oedd wedi cael ei ddymchwelyd, ac yr oedd y gyriedydd a'r gwarcheidwad wedi cael eu lladd ar y fan; ac yr oedd y teithwyr oddiallan wedi cael eu hanafu yn fawr; ac am y rhai oedd o fewn,—y rhai nad oeddynt ond un wraig, tua chanol oedran a golwg barchus arni, a phlentyn bychan;—y mae y wraig yn awr yn gorwedd yn ddideimlad yn y gwesty, tra y mae y plentyn wedi diangc heb ddim niwaid. Yn mhen y pum mynud, mi a gawn fy hun mewn ystafell fechan yn y gwesty bach, sydd yn agos i'r fan lle y cymerodd y ddamwain le; yr oedd y meddyg a fyddai yn gweinyddu i ni, yno yn barod; ac efe a'm cymerodd wrth fy llaw, a dywedodd wrthyf, "Miss Emily, nid ydyw hwn yn lle i chwi; y mae bywyd y wraig hon druan ar derfynu; ni all eich presenoldeb wneud dim daioni iddi hi; ond pe byddai i chwi ddifyru ychydig ar y plentyn bach hwn, byddai yn wir garedigrwydd, o blegid y mae y dyoddefydd druan yn gwybod am ei hocheneidiau, a dim ychwaneg." Gyda ei fod wedi dywedyd hyn, efe a dynai allan eneth fach, yr hon oedd yn teimlo yn lled gyndyn, o'r ochr bellaf i'r gwely, lle yr oedd ei gwyneb bach wedi ei guddio yn y cwrlid, ac a'i harweiniodd ataf fi. Ar yr olwg gyntaf a gafodd arnaf fi, deuai yn mlaen, gan waeddi, "O mammi! mammi! ond yr oedd ail olwg yn ddigon i'w hargyhoeddi o'i chamgymeriad, ac yn gwneud iddi waeddi yn uwch am ei magwres anwyl. Mi a welwn fod Ffancon yn gymorth gwerthfawr er enill sylw fy nghyfeilles bach newydd; a chan adael gair, y cymerwn i hi adref i gael boreufwyd, ni a brysurasom yno; ac yn wir, yr wyf yn meddwl fod fy llawenydd mor fawr, wrth fy mod wedi dyfod yno, nes y bum i agos âg anghofio dyoddefiadau y fammaeth druan; o leiaf, mi a wn hyn, pan y daeth ein

cyfaill, y meddyg, wedi boreufwyd, acw i ddywedyd fod pob peth drosodd; a phan y gwelodd fi mewn chwareuon llawen gyda yr eneth bach, myfi a deimlwn fath o bangfa yn myned droswyf, fel pe buasai ei bywyd hi wedi myned yn aberth i'm difaterwch i. Dywedodd nad oedd dim wedi ei gael, trwy yr hyn y gellid sierhau i bwy y perthynai y plentyn, nac o ba le y daethai; nid oedd dim sypynau a berthynai iddynt hwy; ac nid oedd yn llogell y famaeth ddim ond pwrs prydferth, oedd yn arddangos yn eglur mai eiddo rhyw foneddiges ydoedd, yn cynwys ambell gini, ac ychydig o arian gwynion yn nghyd; ac nid oedd enw yr eneth bach ar yr un o'i dillad. Nid oedd neb o'r teithwyr oedd oddiallan i'r cerbyd, wedi dyfod o ddim pellach nac ychydig o orsafau, ac ni wyddai yr un o honynt, o ba gan belled yr oedd y wraig a'r plentyn wedi teithio; ni allai yr eneth bach roddi dim o'i hanes ei hun, yn mhellach na dywedyd mai geneth bach ei thad a'i mam ydoedd hi; o blegid o'i rhan ei hun, yr oedd hi yn ymddangos fel pe buasai pob enw arni; yr oedd pob peth tlws a phrydferth mewn daear ac awyr, fel pe buasent yn enwau arni—yr oedd hi yn Diamwad—yn Rhosyn—yn Llygad-dlos—ac yn Dywyniad haul, &c.; ond yr enw a roddai hi arni ei hun oedd, Cherri. Os gwenid arni wrth ei chlywed yn dywedyd yr enw Cherri, ymddangosai yn anfoddog. Pa fodd bynag, yr oeddym yn gwbl hyderus, y denai ei rhieni yno cyn yr elai y dydd drosodd; neu o leiaf, y cyrhaeddai hanes y ddamwain oedd wedi dygwydd yn fuan atynt, ac y dygid ein Cherri bach oddiwrthym; ond dydd ar ol dydd, ac wythnos ar ol wythnos a aethant heibio; ac o'r diwedd daeth y dydd i ben, ar yr hwn yr oeddym ni i adael Caerwel, heb fod cymaint ag un ymofyniad am ein plentyn bach anwyl; ac anwyl yn wir ydoedd hi,—i mi, o leiaf, yr oedd hi yn meddu swynion rhagorach na dim a welais i yn neb arall. Y dydd cyn i ni ymadael, dywedais wrth fy chwaer, wrth reswm, na ymadawn i ddim a'n hanwylyd bach chwareus cyn y delai ei rhieini i ymofyn am dani. Hi a synodd beth ataf, fy mod yn tynnu y fath faich a gofal arnaf fy hun yn y fath fodd; ond gallwch ddeall nad oedd ei gwrthwynebiad hi yn gryf iawn, o blegid yn mhen tua chwe mis ar ol hyny, daeth hi yn wraig boneddwr oedd yn meddu wyth o'r fath feichiau; a diau wedi hyny, daeth yr amser i minnau ddechreu rhyfeddu; eto y mae yn sier na chafodd un achos am unwaith i edifarhau am yr hyn a wnaeth hi, mwy nac y cefais innau am yr hyn a wnaethym innau. Cyn gadael Caerwel, mi a anfonais fy nghyfarwyddiad yn Llundain, y lle yr oeddym ni yn myned, i'r holl westai, a'r lletyau, gyda desgrifiad manwl o fy Cherri bach, a hanes y ddamwain a'r holl amgylchiadau i'r newyddiaduron.

Diau fod fy Cherri bach wedi cael ei dwyn i fynu yn y modd mwyaf gofalus, a'r peth cyntaf a wnaethym i wedi cyrhaedd Llundain, ydoedd prynu llyfr priodol i gadw cofnodau o bob peth a ddywedai yr eneth bach, a fyddai yn tueddu i daflu goleuni ar ei bywyd blaenorol; o blegid na allwn ymddiried yn fy nghof yn unig; yr ail beth a wnaethym, oedd cael ei darlun wedi ei dynu yn gywir, fel, os na byddai iddi hi gyfarfod a'i rhieni hyd oni byddai gormod o gyfnewidiad wedi dyfod arni hi iddynt hwy allu ei hadnabod, y byddai y darlun yn rhyw arweiniad iddynt hwy am y peth ydoedd hi pan y daeth gyntaf dan fy sylw i.

O'r foment ag y darfu i ni adael Caerwel, mi a ddaethym i'r penderfyniad i gyflwyno fy holl amser, i dalu sylw at ddaioni yr eneth anwyl hon; ac a ddechreuais ar gylch o ddarlleniad a obeithiwn, a'm gwnelai yn alluog i ddwyn yn mlaen ei haddysgiaeth hi yn y modd goreu ag y gellid. Mi a astudiais gymaint ag a ddywedodd Locke, a Mrs. Chapone, Miss Edgworth, Hannah More, a Miss Hamilton, mewn ysgrifen ar y pwnc; a difyrais fy hun mewn ffurfio cynlluniau, a dybiwn i, a ddygai fanteision y cyfan yn nghyd, heb ddim o ddiffygion yr un o honynt. Can gynted ag y daeth hi i oedran priodol i gael athrawes lywyddol, myfi a arferais bob gofal i ddethol un a fyddai yn debyg o gydweithredu â mi yn y drefn o gyflwyno iddi hyfforddiant yn y gradd uwchaf o ymddygiad moesgar, gyda'r hyfforddiad mwyaf sylweddol, fel sylfaen addysgiaeth ddeallol drwyadl. Nid oeddwn, er hyn oll yn gallu cadw ei hathrawesau, ond ychydig dros fis o amser yn aml, gan fod fy ngofynion oddiwrthynt yn bur benderfynol, hyd nes y cefais wasanaeth un Mrs. Baker, yr hon ydoedd yn bob peth a allwn ei ddymuno. Yr oedd y foneddiges hon, yn un heb gartref na chyfeillion; ac yr oedd ei holl hanes mor ddyddorol genyf, fel y penderfynais ei chymeryd ar brawf. Yr oedd hi newydd ddianc o Ffrainge, lle y buasai hi yn garcharor, ac heb un modd i ohebu a'i theulu a'i chyfeillion, am ddeng mlynedd pryderus iawn; a phan y daeth, o'r diwedd, yn weddw unig, nid oedd ond i'w chanfod ei hun, heb yr un cyfaill, gyda cheiniog mor fechan, fel yr oedd raid iddi fyned i ryw wasanaeth, er ei chynal ei hun yn y byd. Llawenychais yn fawr, wrth weled y cyfnewidiad a ddaethai yn fuan ar Cherrie. Yr oedd Mrs. Baker yn ymddwyn yn mhob modd mor briodol, ac wedi dyfod i ddeall ei chymeriad mor berffaith, a threfnu cylch ei haddysg mor deilwng, fel y penderfynais ei gadael dan ddwylaw un mor fedrus, wedi i mi weled yr effaith a'r argraph a wnelai arni.

Yr oedd holl ddedwyddwch Mrs. Baker, yn ymddangos yn nghyflwyniad ei gofal am Cherrie; prin y gwnai hi yr un cyfeiriad at ei dioddefiadau blaenorol; a phan y gwna'i hyny, nid oedd byth i ddim, ond i'w gyferbynu a'i sefyllfa bresenol, a'i rhwymau o ddiolchgarwch am hyny; ac mewn gwirionedd, anfynych y bu trioedd yn cydfyw gyda'r fath ddedwyddwch am bum mlynedd o amser, ag y buom ni yn nghymdeithas ein gilydd. Mi a ganfyddais o'r dechreu, fod Mrs. Baker o gymeriad anghyffredin, ac yr oedd pob mis yn arddangos llinellau newyddion o ragoriaethau yn ei hymddygiad oedd yn enill parch ac edmygedd pawb.

Pan y daeth Cherrie tua deunaw mlwydd oed, mi a ganiateais iddi dreulio ychydig fisoedd gyda'm chwaer, yr hon oedd yn myned i gymeryd taith trwy ogledd Lloegr, pan y darfu i mi gymeryd y fantais ar fynych erfyniadau oeddwn wedi eu cael i ymweled a'm cyfeilles Y Bendefiges Marsden, yr hon nad oeddwn wedi ei gweled er ys llawer blwyddyn, er fod gohebiaeth gynes yn cael ei dwyn yn mlaen rhyngom beunydd. Derbyniais y croesawiad mwyaf serchus yn Mharc Marsden, ac yr oeddwn yn cael hyfrydwch mawr mewn bwthyn bychan prydferth, gerllaw porth y Parc oddiallan, yn wynebu ar faesydd gwyrddion y pentref; ac wrth ganfod fod y lle i'w osod, ac yr ymofynid am ddeiliad, mi a benderfynais gymeryd y lle yn ardrethol, gan olygu y byddai yn gartrefle priodol i Mrs. Baker, ac erfyn arni gymeryd gofal fy annedd pan y byddwn i o gartref; ac fel yr oeddwn yn penderfynu yn ddirgel na byddai byth yn breswylfa wastadol i mi am hir amser, meddyliwn felly y byddai yn foddhaol i'w theimlad hi, gan nad ymddangosai fel un ddibynol ar arall, fel y buasai yn naturiol iddi deimlo wrth ein dilyn ni ar ein symudiadau i bob man; heblaw hyny, yr oeddwn wedi ei chlywed yn son gyda gorfoledd am olygfeydd y gymydogaeth, yr hyn a wnelai y pryd yn un o adegau mwyaf dedwydd ei hoes. Cefais yr hyfrydwch o'i gweled yn fuan wedi ymsefydlu yn gysurus yn y bwthyn, yr hwn y mynaswn iddi ei alw fel yr eiddo ei hun; ond ni fynai fy nghyfeillion i mi adael y Parc ar hyn o bryd. Yn mhlith eu hymwelwyr eraill, yr oedd nith i'r Arglwydd Marsden, yr hon oedd yn fy mawrygu i trwy yr holl le, hyd eithaf dymuniad fy nghalon. Yr oeddym wedi treulio llawer awr, ar un boreu gwlybyrog, mewn ystafell yn yr hen barth o'r adeilad, yr hon oedd yn llawn o arluniau y teulu, y rhai oeddynt wedi myned ymaith er ys amser, fel y rhosyn gwywedig, (ag arfer drychfeddwl prydferth Herbert) a fynai ail fywhau, ac ymweled a'r ddaear drachefn; ond gyda'r oll o honynt, yr oedd Ffanny Milton yn ymddangos mor gydnabyddus, a phe buasent yn perthyn i'r genhedlaeth hon; ac am obeithion siomedig, ac ofnau ofer y rhai yr oedd ganddi lawer archwedl darawiadol i'w hadrodd; pan y dywedai, "A wyddoch chwi, y mae genyf fi gynllun anturiaethus yn fy meddwl; y mae genyf fwriad i'ch arwain yn ddirgelaidd i ystafell, lle nad oes neb wedi myned iddi er ys llawer blwyddyn, ond fy ewythr, druan; y mae yno ddarlun o'i wraig gyntaf, yr hon, gyda'i hunig blentyn, a gollwyd ar y mor fel y gwyddoch; y mae yn y lle oedd yn ystafell wisgo yr Arglwyddes Marsden, ar y cyntaf; ac ni oddefodd fy ewythr i neb fyned yno, o hyny hyd yn awr. Y mae efe yn ymweled a'r lle bob dydd, ac mi a allaf ddywedyd bob amser am y pryd y bu yno, o blegid ei edrychiad hynod ddifrifol. Byddaf yn synnu yn fynych, wrth feddwl ac ymofyn a ydyw ei foneddiges brydweddol bresenol yn gwybod rhywbeth am y lle; neu o leiaf, a wyr hi beth y mae yr ystafell yn ei gynwys; o blegid rhaid ei bod yn gwybod ei fod ef yn ei gau ei hun i fynu yno yn fynych. Yr wyf wedi bod weithiau yn meddwl am ofyn iddi, ond yr wyf wedi ymatal, rhag ofn i hyny ei gwneud hi yn eiddigus. "Ond," meddai hi, gan ychwanegu gyda gwên, "y mae genyf finau fy nialedd, eto mewn trysorfa, os byth y bydd iddi hi fy mhoenydio i, dyna y cwbl." "Ond," meddwn innau, "pa fodd y byddai yn bosibl i ni gael mynedfa i'r ystafell, pan nad yw, hyd yn oed Y Bendefiges Marsden yn cael caniatad i fyned yno?" "O! gadewch chwi hyny i mi," meddai hithau. Yr wyf fi yn myned i edrych, bob tro y bydd fy ewythr wedi myned oddiyno, a fydd ef wedi gadael yr agoriad yn y drws; ac yr wyf, dri neu bedwar tro, o bob pump o'i ymweliadau, wedi bod mor ffodiog a'i gael yno; ac y mae cymaint o amser er pan y bu'm i mewn, fel y mae genyf ryw ddychymyg na byddaf yn hir cyn y gallaf drefnu modd i fyned yno eto."

Yn mhen tua thair wythnos wedi hyn, yr oeddwn mewn trwm gwsg ar un noswaith, pan y'm deffrowyd gan Ffanni Milton, tra y safai gerllaw, gan ddywedyd, "Deuwch, deuwch, Miss Montague, y mae yr agoriad yn y drws, ac yr wyf fi wedi bod yn disgwyl, hyd nes bod yn sicr fod fy ewythr wedi myned i'w wely; ond rhaid i chwi brysuro, o blegid bydd fy nghanwyll i wedi llosgi ymaith yn fuan, ac y mae eich un chwithau, mi a welaf, yn lled debyg; ond gofalwch na wneloch ddim trwst, er dim." Yr oedd rhywbeth yn bur ddifrifol ynom wrth fyned i ystafell y meirw yn ddirgelaidd, ac ar yr awr honno hefyd, "O, fel y dymunaswn iddi fod yn oleu dydd," meddai Ffanni, nid yw y pabwyryn canwyll yma, ond help bychan yn lle goleuni haul; o blegid anfynych y gwelais i

# DAFYDD THOMAS, NEU DAFYDD DDU ERYRI;

Gelwid y Bardd enwog hwn, gan ei gymydogion yn gyffredin, Dafydd Thomas o'r Waenfawr. Cydnabyddid ef gan y cyhoedd fel un o feirdd godidocaf ei wlad; ac yr oedd wedi enill iddo ei hun radd dda fel hynafiaethydd gwybodus, a llenor disglaer. Efe ydoedd fab ieuengaf Thomas, a Mari Gryffydd, yr hwn a anwyd yn mis Ebrill, yn y flwyddyn 1760, mewn lle a elwir Penbont y Ceunant, Waenfawr, Llanbeblig, swydd Gaernarfon. Gwehydd oedd ei dad o ran ei alwedigaeth, o sefyllfa gyffredin; ond yr oedd o gryn dalent naturiol, ac yn alluog i ddarllen ac ysgrifenu yn iaith ei fam, yr hyn oedd y pryd hwnw yn beth lled anghyffredin yn mhlith y werin. Yr oedd hefyd, yn feddianol ar gyrhaeddiadau treiddgar, a mwy anarferol mewn gwybodaeth na'i gymydogion, fel yr oedd yn deall rheolau Barddoniaeth Gymreig yn lled dda, yr hon oedd tua yr amser hwnw yn dra isel yn ein gwlad; ac anfynych y gellid cyfarfod âg un bardd teilwng o'r enw, yn y cymydogaethau hyn; o'r hyn lleiaf, nid oedd

"Prin ddau lle'r oedd gynau gant;"

Bernir mai hoffder ei dâd o Farddoniaeth, a fu yn foddion i roddi y cyfeiriad cyntaf i duedd a chwaeth Dafydd ei fab, at y ddawn farddonol. Yr oedd ei dâd hefyd yn ddyn diehlynaidd, o fuchedd grefyddol, ac yn fath o gynghorwr gyda y Methodistiaid; a diau fod dylanwad yr addysg foreuol a gafodd, wedi effeithio i raddau mawr, i gynnyrchu y dyhewyd cysegredig sydd fel gwythien fawr yn rhedeg drwy y rhan fwyaf o'i Ganiadau. Dechreuodd farddoni pan nad ydoedd dros wyth mlwydd oed. Anfonwyd ef i ysgol yn Llanberis, oedd yno dan ofal y Parch. I. Morgan, offeiriad y plwyf; gyda'r hwn, o herwydd y draul, neu ryw achos arall na's gellir ei fynegi, ni arosodd dros wyth mis; eto, o fewn yr ychydig ysbaid hwnw, efe a ddaeth yn lled hyddysg yn yr iaith Saesonaeg, ac yn rheolau dechreuol rhifyddiaeth; a hyny, oddigerth y tri mis y bu dan ofal Mr. Lewis, offeiriad Bettws Garmon, oedd cymaint o ysgol a gafodd yn ei dymor boreuol. I'r cyfnod hwn yn mywyd Dafydd Thomas, y mae yn rhaid i ni edrych am osodiad i lawr sail ei enwogrwydd barddonol. Dyma yr adeg y darfu iddo ymgyflwyno i feithrin ei dalent awenyddol, yr hon a ymddysgleiriai, hyd yn nod yn ei gynnyrchion cyntaf i'r fath raddau, fel y derbyniodd gymeradwyaeth y cyhoedd, ac anogaeth ei gyfeillion i fyned rhagddo gyda hyder penderfynol. Fel hyn, wrth odreu mawreddog yr Eryri, ac yno yn cael ei amgylchynu âg adeiladau dyrchafedig natur yn eu holl hynodrwydd amrywiaethol, y derbyniodd ac y meithrinodd yr elfen wreichionol honno, ag na ddiffoddodd yn ei fynwes hyd ddiwedd ei dymor ar y ddaear. Bu Abraham Williams o'r Cwm-glas, o gryn gynnorthwy iddo, pan yr oedd yn cychwyn ar ei yrfa lenyddol. Er na chafodd felly ond ychydig o fanteision addysg foreuol, daeth yn fuan yn Gymreigydd gwych, ac yn alluog i feistroli y Saesonaeg yn dra boddhaol; ac yr oedd wedi cyrhaedd cryn raddau o wybodaeth o elfenau Lladin, Groeg, a Hebraeg. Bu am gryn dymor yn dilyn galwedigaeth ei dad fel gwehydd; a bu wedi hyny, yn cadw ysgol, o bryd i bryd, yn Llanddeiniolen, Bettws Garmon, a Llanystymdwy. Estynodd amryw gyfeillion law o gymhorth iddo, mewn ffordd o addysg tua yr amser hwn. Tu a'r flwyddyn 1780, daeth i adnabyddiaeth â Robert Huws, Ceint Bach; neu "Robyn Ddu o Fon," fel ei gelwid. Bu y Parch. Richard Davies, person Llantrisant, Mon, oedd yn preswylio yn Bangor; a John Williams, Ysw. o Dreffos, Mon, yn mhlith ei noddwyr ffyddlonaf; cafodd yr allwedd i'w llyfrgellau cyfoethog o drysorau gwybodaeth, yr hyn a fu yn fantais fawr iddo yn ei lafur llenyddol. Ymdrechodd yn weithgar a diorphwys yn ol y manteision a gafodd, i gyfoethogi ei feddwl, a daeth yn fuan yn ŵr o enwogrwydd yn ngolwg y cyhoedd.

Daeth Dafydd Thomas i amlygrwydd fel bardd galluog, tua'r flwyddyn 1789, pan gynhaliodd y Gwyneddigion Eisteddfod yn y Bala; er na bu yn ymgeisydd buddygol yno; canys Gwallter Mechain a enillodd yr ariandlws ar destyn yr Awdl, sef "Ystyriaeth ar oes dyn." Enillodd yn Eisteddfod Llanelwy yn 1790, ar y testyn, "Rhyddid." Bu yn fuddygol hefyd ar destyn y Gwyneddigion, sef "Gwirionedd," yn Llanrwst, yn 1791. Yr oedd yr holl amgylchiadau hyn yn uno i ddwyn ei enw fel bardd ger bron y wlad. Bu ganddo law yn nghyhoeddiad gwaith Dafydd ab Gwilym, yn 1789. Yr oedd erbyn hyn yn cael ei ystyried yn un o gewri yr awen; a gwaherddid iddo ef, a Gwallter Mechain, ymgysdadlu ar destynau y Gwyneddigion; yr hyn a fu yn gryn dramgwydd i Dafydd. Bu yn ohebydd i amryw o'r Cyhoeddiadau cyfnodol. Bu yn cydweithredu â Ieuan Brydydd Hir, yn cyfoethogi Llyfrgell enwog Mr. Panton, Plas gwyn, Mon. Bu gohebiaeth farddol led chwerw rhyngddo â Dafydd Ionawr, Cyhoeddodd ei waith barddonol dan yr enw "Corph y Gainge" yn 1810; ac eilwaith yn 1834, yn cynwys amrywiaeth, o deilyngdod uchel, mewn Awdlau, Cywyddau, Englynion, Carolau, Caniadau Duwiol, ac amryw o duedd "Foesol a Difyr." Yr oedd yn ysgrifenu mewn llaw eglur, a thlos iawn, megis y gwelir, yn ei "Reolau Barddoniaeth Gymreig," sydd yn awr ger ein bron. Darparai y gwaith ar gyfer y wasg, ond ni chafodd oes i'w

argraphu. Y mae mynegi y manylion yn nghylch amgylchiadau ei farwolaeth, yn afreidiol yma, yr hyn a fu, Mawrth 30, 1822. Ceir yr hanes am ei gladdedigaeth, &c., yn ei Fywgraphiadau, gan hyny arbedir y gofod yma, er mwyn cael lle i ddetholion o'i waith.

## "YSTYRIAETH AR OES DYN;"

AWDL AR Y PEDWAR MESUR AR HUGAIN.

TESTYN EISTEDDFOD CYMDEITHAS Y GWYNEDDIGION, YN Y BALA, YN Y FLWYDDYN 1789.

Ystyriwn, bwriwn yn ber,—ein dyddiau
A'n diddym fyr amser;
Amryw waeldaith marwolder
Dyna sydd o dan y ser!

Rhoed dyn i'w syddyn[1] a'i sedd,[2]—hyd einioes
I daenu clodforedd;
A gweini i ogonedd
Creawdr byd, o'r cryd i'r bedd.

Clwyf trwm y codwm blin caeth,—ddu ogwymp,
A ddygodd farwolaeth;
Neud pechod a'i nod a wnaeth,
Eres gur, yr ysgariaeth!

Dyn gwamal, cynal mewn cô—a ddylai,
Neu ddilys fyfyrio;
Fod hynt groes ei fer-oes fo
Yn niwlen wyw anolo.[3]

Mae dyn, ail gwyfyn yw gwedd—ei fer-oes,
A'i fwriad ar wagedd;[4]
Yn dwyn hon dan anhunedd
Erioed o'i faboed i'w fedd.

Nid llym-flin, fflamflin arf fflwch—i'r einioes,
Yw'r iawn ddiogelwch,
Teflir a lluchir i'r llwch
Bob arwr o'i bybyrwch!

Mal rhos, neu effros[5] yn nyffryn,—isel
Yw oes frau ei therfyn;
Gofid yn gynt na gwyfyn,
A dawdd wychder, dewrder dyn!

Os daeth ystyriaeth oes dirion—yn lan,
I lynu'n y galon,
Tyner yw'r fireinber fron
Lwythog, fyfyriol weithion.

Mae'r oes, wan einioes, yn ail—ei thyfiad
I orhoff godiad rhyw ffug adail;
Mal gwychion wyrddion irddail—mae'n edwi,
Brau wedd at oesi—breuddwyd disail!
Gwychion a gwaelion eu gwedd,
Gwywedig ynt yn gydwedd;
O dy'r bedd i dir y byw,
Sicr ydyw, na's ceir adwedd.

[1] Cartref, trigfan. [2] Gorsaf, eisteddiad. [3] Iago iv. 14. [4] Gen. vi. 5. [5] Y Dorfagl (*Euphrasy*).

O ble daw y blodeuyn?
O'r ddaear, daear yw dyn:
Daear yw lle'r blodeuyn,—i'r ddaear,
Od esgar, y disgyn!

Swyn a bai sy yn y byd,
A hudoliaeth ffraeth yn ffrwd:
Mawr flinder yn drymder drud,
Ydyw'n rhan o dan y rhod,
Gan ddolur, llafur, a llid,
Hoewber oes, heibio a rêd—
Einioes dyn sy wan ystad.

Na fwriwn hynt fer ein hoes,
Mewn balchder ac ofer gais;
Dedwyddyd diwyd nid oes
Y'myd y tristyd a'r trais.

Tymor byr tu yma'r bedd,
I ddynion, is heulgron sydd;
Nid cryfder a gwychder gwedd
A estyn derfyn y dydd.

Dirfawr derfyn, a ddaw i ddyn:
Pa briddyn,—pawb a roddir,
Yn flin mewn daerin dir,
Pob gwr beich-drwm, gorthrwm gawr,
Ef i lawr, a falurir.

Pawb a wyrant o'u pybyrwch,
Wycha dewrnerth, a chadarnwch,
Tirionwch at oer annedd;
Pob balch wr hoewfalch, O rhyfedd!—trythyll,
A ddaw i 'stefyll ei ddystaw—fedd.

Dawngar einioes dyn gwyrenig[1]
Amser ydyw mesuredig;
I'w ddaearu e ddaw orig,[2]
Cau am y pwdr gorph cwympiedig.

Y mae y dynion mwya' doniol,
Llon o fwriad oll yn farwol;
Ef a iawn weddai yn feunyddiol,
I fwynweis dewrwych fyw'n ystyriol.

O nos du angau ni's diengir;
E drŷ y gloywdeg draw i gleidir;
Pen mawredd, dewredd ar dir—prif fonedd,
O Dduw, o'u tudwedd[3] a ddatodir.

E dawdd ammodau diddymedig,
Y gwisgi wiwddoeth a'r gosgeddig;[4]
E drŷ ei nodau dirwynedig,
At ryw fynudau terfynedig;
Cyn hir, symudir siomedig—ry frau,
Darf ei wawdiadau darfodedig!

[1] Blodeuog mewn nerth. [2] Awr, awr fechan. [3] Tiroedd, bro, ardal. [4] Gweddus, hardd.

Casglu ynghyd y byd enbydus,
A charu beiau gwydau gwawdus,[1]
Dyna holl fwriad dyn llafurus
Nes troi ei anian, naws truenus;
A chael dewr afael di rus—ar fwyniant,
Gwiw erfai lwyddiant gorfoleddus.

Y gwyr llueddog[2] o'r holl lwyddiant,
Moethau a gwinoedd, meth ddigoniant,
I rym llaw angau'r ymollyngant,
Er llawen-gerdd a'r lliw ewyn-gant,[3]
Trysorau gorau, ac ariant,—gwerthawg,
Y ddaear foddawg a ddarfyddant.

Dynion ydym dan newidiau,
Tra enbydus trwy'n bywydau;
Croes, einioes unig, enawd gwawd gwywedig,
Gwledig dreigliadau.
Er cael heddwch, a dyddanwch
Dyddiau einioes,
Ar ei ymdaith, un o ddylaith,[4]
Ni ddaw eiloes.
Gan laddiadau, terfysgiadau,
Gwayw rwygiadau, ae ergydion;
Mae profiadau, fel rhodiadau
Ein holl dadau yn alldudion.

Priddyn o'r priddyn; i'r priddyn, priddyn;
E dynna terfyn dyn at oerfedd;
Daear o'r ddaear; i'r ddaear, daear;
Daear mewn daear, dir[5] mae'n diwedd!

Pob dyn yn disgyn i dir—iselaidd,
Ei sylwedd datodir;
Naws tw' einioes ni estynir,
Er y glendid ar y glyndir,
Un o'r bydoedd ni arbedir,
Er goludoedd o arw gleidir
Ni chaiff llinos dlos[6] ystlys-hir,—ddiflin,
Fwyn iesin,[7] fyw'n oes-hir.

Er bod eroesau loesau anfelusion,
Yma is yr haul i amserolion,
E gyrcha Iesu goruwch ei weision;
I heirdd ardaloedd, gwiw lysoedd glwysion:
Gwleddau, anneddau newyddion,—a gant,
Gwlad o ogoniant, goleudeg union.

Dedwydd ddydd a ddaw, gofid, llid, gerllaw,
A dry yn hylaw dirion helynt;
Ni chawn digllawn daith, glywed, gweled gwaith
Nych angau hir-faith, na chynghorfynt.[8]

Y gwyr doeth, gywir deithi,[9]
Ynghanol gwae, ynghyni,
Derbyniant, rhag dirboeni,
Gyfodiad o'r gofidi;

Duw a rydd ar daer weddi,
Adnewyddiad, i'w noddi;
F'arwain y rhai'n i wir hedd,
At rinwedd o'u trueni.
I'r hael a'r rhydd, y fael a fydd,
Diwael y dydd, duwiol daith,
Mor rhwydd mawrhawn, ein llwydd yn llawn,
I'n swydd neshawn, hoenus iaith.

Bywydolion byd a elwir,
A rhybuddir hwy i'r beddau;
Eu hamseron hoyw mesurir,
Ow! diweddir hwy o'u dyddiau!
Adystyriwn yn dosturiol,
Wyw naws hudol einioes hediad;
Ac eiddunwn, agwedd ddoniol,
Am wiw radol ymwarediad;

Caiff fforddolion ufuddolion,
A grasolion gywir seiliad;
Gwneir duwiolion yn drigolion
Anfarwolion nef oreuwlad.

Ceir mwy, wiw dramwy odremydd,[1]—ar wlad
Wiw loywdeg dragywydd;
Oes anfarwol fythol fydd,
Hoff ras hael, i'w phreswylydd

Ba'nd eywir, a gwir yw'r geiriau,—y gwr
A garo gam lwybrau
Gnawd[2] fydd i'r dyn, briddyn brau,
Ofni ing afon angau.

Mae'n ddilys felys orfoledd—i'r gwr
A garo ffordd rhinwedd,
A gar anian gwirionedd
Nis ofna boen—safn y bedd!

Os ydyw tymp arswydol—anhunawg
Ein heinioes yn freuol,
Oes arall anfesurol
Dragywydd, newydd sy'n ol.

[1] Pechodau, beiau. [2] Rhyfelgar.
[3] Gwyn, neu gan, o liw'r ewyn. [4] Angau, marwolaeth.
[5] Gwir, diamheu.
[6] Felly y dylid arfer y gair am fenyw, a thlws am wrryw.
[7] Teg, glan, tirion, berth; felly Tal iesin yw talcen teg. G. O.
[8] Cenfigen. [9] Cynneddfan, rhinwedd.

---

## AWDL AR RYDDID.

A ENNILLODD YR ARIANDLWS YN EISTEDDFOD LLANELWY, 1790.

Arddwyrea'r[3] ddewr awen,
A chyrch hyd yn entyrch nen;
Dyrcha fawl bywiawl o ben,—yn ddilid,
I Ryddid, wawr addien.

Lluoedd, niferoedd anfarwawl,—bodau
Y byd mawr tragwyddawl
Canant, emynant eu mawl,
Am Rydid ymwaredawl.

[1] Cip olwg. [2] Peth naturiol.
[3] Dyrcha, ymddyrcha, esgyn di i fynu.

Gwiw Ryddid yn y gwreiddyn,
Yn ngwaelod cydwybod dyn,
Mae'n gysur hoyw-bur ei hawl,
Cry didawl i'r credadyn.

Mae Rhyddid ysbryd, pryd priodol,
Praw' iawn o degwch prynedigol,
Dawn Dduw uchod i'r dyn heddychol,
Cu wiwdeb ydyw, cydwybodol;
Gwelid nad Rhyddid treiddiol—i bechu,
Yn groes i Iesu, Ion grasusol.

A feddo'r tangnefyddawl—wir heddwch,
A'r Rhyddid ysprydawl;
I'w erbyn, ddyn diddanawl,
Ni fydd Duw—ni faidd diawl.

Hawddamawr heddyw yma—i Ryddid,
O rodd y Gorucha';
Llwydd i'r gynnes dduwies dda
Lath arian, Eleutheria.[1]

Neud hysbys dengys y dydd,—wawr heddwch
Er hyddoeth lawenydd,
Cangen lawen olewydd
Yn ei llaw fangaw[2] a fydd.

Fy mwriad a fy mawredd—fwyn awydd,
Fy newis anrhydedd,
Yw datgan rhan o'i rhinwedd
Bob pryd o'm bywyd i'm bedd.

Neud[3] gwerthfawr, llwyddfawr er lles,—hoff rinwedd
Ffrwyno trais a gormes,
I ddynolryw, ddoniol wres,
Didwyll yw'r Warcheidwades.

Hi wnaeth i lawgaeth wiw les—hoen eithaf,
Hi wnaeth i'r anghynes,
Weled haul, oleua tes
A thirion fawrwyrth eres.

Dan nef ei haddef lân hi—nod gwiwdeg,
Nid yw gydwerth iddi
Darnau aur ein daear ni,
Neu arian yn aneiri'.

Er ei mwyn hyfwyn yw hi,—yn ufudd
Y nofir y weilgi;
Caiff y mor, holl oror lli,
Drin ei gesig draw'n gwysi.

Ein haflwydd annedwydd ni,
Echrysawl yw ei chroesi;
Caredig, cywir ydi
Neud cas yw ei hanes hi;
Mae rhediad ei mawrhydi
O fêl a llaeth fal y lli;

[1] Eleutheria oedd enw y dduwies Rhyddid yn y Gryw, neu yr iaith Roeg.

[2] Hylithr, llawn parodrwydd; o'r gair ban, uchel; a caw, peth a ddalio neu ymgylymo yn nghyd.

[3] Yn ddiau, yn ddiampen, ba'nd, neu paham nad.

Arwyrain firain o fawl
Dragwyddawl a drig iddi!

Hi a amddiffyn ddyn, a'i feddiauau,
Hi a geidw wledydd, ac adeiladau;
Mae'n puro'r eglwys mewn per aroglau,
O'r lli a'r godwrdd, a'r holl rwygiadau;
Duw tramawr, detyd rwymau—hen ragrith,
Er taro y geulith i'r tir golau!

Ffrwyth cynnen, bendraphen droch,
Flin wedd yn aflonyddwch;
Ffrwyth Rhyddid, trefnid nid rhoch,
Yw llwyddiant oll, a heddwch.

Tyn yr oes o tan oer iau,—echrysawl,
A chroesion ymbleidiau;
Dryllia goelion, gweigion gau
A thröedig gaeth rwydau.

Rhag dirdra aerfa erfawr,—rhy athrist
Y rhuthr wyllt gleddyfawr,
Tra iesin yw y trysawr,
Penllâd rhwng lleuad a llawr.

Ys berthid Rhyddid yn rhwydd,—wawr liwdeg,
A wna'r wlad yn ddedwydd;
Mal yn Sparta[1] llawna' llwydd
A Thule[2] mewn iaith hylwydd.

Lycurgus,[3] lyw cywirgoeth,
A Solon,[4] heddychlon ddoeth;
Troisant i'w llwyddiant y llid
I Ryddid yn oreuddoeth.

O'i phlaid, yr hen Geltiaid[5] gynt,
Diddawl, anorfod oeddynt,
A'u harfau yn gwau mewn gwynt,
A dynion marwol danynt.

I gadw'n ol gyda nerth
Orwag ynfyd rwyg anferth,
Da fu rheol lesol iawn
A thiriawn gyfraith Iorwerth.[6]

Er hardded, glaned mewn glyn—yw Rhyddid,
A'r heddwch i'w dilyn;

[1] Dinas freiniol gynt, yn Peleponnesus a elwid hefyd Lacedemon; y trigolion oeddynt hynod o herwydd eu haelioni, a'u hymdrech yn erbyn trawsarglwyddiaeth.

[2] Ynys ogleddol a grybwyllid yn fynych am dani gan y Groegiaid a'r Rhufeiniaid gynt; ac y mae yn debyg mai yr Iwerddon ydoedd, sef Tyle ysgawd, neu drigfa yr Ysgodion. Hwy a elwid felly o herwydd eu tueddiad i gyfaneddu mewn cysgodion, neu goedydd ac anialwch, gan mai hyny yw ystyr Ysgodion; ac y mae enwau llwythau eraill o'r un genedl, yn arwyddocau yr un peth; sef y Gwyddelod, neu drigolion y gwyddeli; a'r Celyddon, rhai yn preswylio mewn celydd—Medd Mr. Gwilym Owain.

[3] Brenhin gynt yn Sparta; hefyd brenhin arall yn Thrace, yr hwn a orchymynodd ddyfetha y gwinwydd, er mwyn cadw ei ddeiliaid rhag meddwi.

[4] Gosodwr cyfreithiau, neu ddeddfwr hynodol, yn Athen gynt.

[5] Yr enw y gelwid yr hen Gymry gynt; sef cyn drigolion Ffraingc a Phrydain.

[6] Edward VI.

Nid teg yw rhedeg ar hyn
Trwst hirfaith tros y terfyn.

Rhag blinder o boethder byd,
Naws rhuddfaog, bradog brwd,
Hwy na dal dial ar dud
Y sai'r hedd is y rhod;
Ei adsain, leddfsain ddi lid,
Drwy'r ddaear hygar hed;
Ba'nd rhyfedd rhinwedd y rhad.

Prif olud clau dud clodadwy,—yw hon
A hynod gynorthwy;
Ni fu gwlith un fendith fwy
I Frydain le dyfradwy.

Drwy nodded gogoned Gun[1]
Trugaredd rhinwedd y Rhên,
Diau nad oes eirioes un
Bro dan haul fel Brydain hên.

Drwy Brydain gywrain rhoed gawr,[2]—lawn uchder
O lonychdod dirfawr;
Bu lawenydd i'n Blaenawr,
Gael aur wên a goleu'r wawr.

Dan Sior ein llawn-bor a'n Llyw,
Gwawr Rhyddid a geir heddyw;
Gwawr odiaeth gywir adeg,
A gwawr deg o gariad yw.

Fflwch[3] degwch digaeth
Eurwawr dymawr daeth
I'r wladwriaeth, o reol dirion;
Edfryd iechyd oes,
O byd, glefyd gloes,
I rywiog eirioes wr y goron.

Dull o wiwdrefn da y llywodraeth,
Ein bro dirion wen briodoriaeth;
Rhag ail ennyn rhwyg o elyniaeth—
Ymrysonau amryw wasanaeth.

Wele dirion wyliadwriaeth,
Penaduriaeth Paun hyderus,
Iawn gloi dewrion ein gwladwriaeth
Rhag bradwriaeth rhwyg bryderus.

Duw a rannodd o'i dirionwch,
I'r wen frodir, iawn hyfrydwch:
E gaed Rhyddid gyda'r heddwch,
Edef euraid yw difyrwch.

Ail Rhyddid, wawl oreu ddoeth,—mae'n eisiau,
Mewn ysol ffwrn fflamboeth;
Cras enbyd le creision-boeth
Yw holl ardal Belial boeth.

Yn nef, awr haddef y Rhyddid—beunydd
Nid oes boen nac erlid,
Na thraha, lladdfa, na llid
Rhyfel, nac unrhyw ofid.

[1] Arglwydd. [2] Bloedd. [3] Dysglaer, gloyw.

Rhwydd-deb, cysondeb cu sydd,—a Rhydid
Yn rhedeg drwy'r gwledydd,
Gwreichionen gre' ei chynnydd,
Ei mawl rhyfeddawl a fydd.

Lle bu gwenwyn a hyll Baganiaeth,
I bawb oddef o dan Babyddiaeth,
Llaw goleuni yn lle gelyniaeth
Dirymai'r chwil-lys,[1] drom oruchwyliaeth.

O medraf, daliaf, af i'w dilyn,
I oror Eidal, ar aur edyn;
Drwy Hispania, neu dros y Penwyn[2]
Uchel-drumawg wych oleu dremyn;
Y ddychymyg fyg a fyn—yn ddioer,
Dan wych wenloer dynu i'w chanlyn.

Naws gywirserch o Ynys Gorsig[3]
Ar hyd moroedd rhed i Amerig,
Goloywr Asia yn eglwysig;
Goleuo, deffro gwaelod Affrig.

Heb Ryddid hybereiddia'—a hoyw-fraint
Ei hyfryd fwyneidd-dra,
Cysur i natur ni wna
Drwy randir daear India.

Rhyddid calondid y cla',—ddiogel
A ddwg yr esmwythdra;
Os heb wres y dduwies dda
Gwae Rufain ac Arafia.[4]
Y mae'r arian a'r mererid,[5]
Trai annifyn yn troi'n ofid,
Heb Ryddid un boreuddydd;
Gafael gaeth, ysywaeth sydd,
Ddol einioes ddilawenydd,
Ni ddichon yn foddion fad
Ond cariad ddwyn y cerydd.

Bai ar wyr Ewrop ber yr awrhon,
Yw eu mordwyaeth am wyr duon;
Dwyn o India ar deneu wendon,
Aneirif gaith dan arw fygythion,
Hir-ddrwg, rhyw olwg greulon,—dwyn heddwch
A mawr ddyddanwch myrdd o ddynion.

Dynoldeb, purdeb mwyn per,—a ddylid
Ei ddilyn bob amser,
Gan ddangos yn achos Ner
At yr Indiaid dirionder.

Bob amser, rhodder y rhan—o borthiant
A berthyn i'r truan;
Tynerwch tannau arian,
Fo'n ystyr gwewyr y gwan.

[1] Enw y llysoedd mewn gwledydd Pabaidd, lle yr erlynir pawb a ymneillduant oddiwrth grefydd y deyrnas, ac eu poenydir trwy amryw foddion arswydus.
[2] Mynydd uchel rhwng Ffraingc a'r Eidal.
[3] Ynys yn mor y Canoldir; trigolion yr hon a ymdrechasant, yn wrol yn mhlaid Rhyddid yn y cynamseroedd.
[4] Ffynnonydd budron a ddiwynasant y ffrwd nefol o wir grefydd; y cyntaf sydd orsedd y Pab; ar llall Mahomet. G. O.
[5] Maen gwerthfawr a faga mewn mor gregyn, o liw gwynlas, a elwir *pearl* yn Saesonaeg.

Dyranno Iesu i druenusion
Rhyddid ac iechyd, rhoddiadau gwychion;
Duw a fo noddwr y Difynyddion
Llyw ei ber eglwys o'i holl beryglon;
A rhodder i'n Ner, ein Ion,—fawl hyber
Naf a addoler o iawn feddylion.

Dwyre'n ol i dir nes,
Fy awenydd—i'r fynwes;
Datgan fraint, hoyw-fraint, a hedd,
Bri Gwynedd, ein bro gynnes.

Mae sain drwy Frydain frodir,—gair anwyl,
A gwirionedd cywir,
'Fengyl o'i themyl a'i thir,
Brig y iaith a bregethir.

Mwyn doreithiog yw y man draethau,
Eigion y llynnoedd a gwinllanau,
Ceir pob rhywogaeth ffraeth eu ffrwythau,
O'r iach hoyw frodir i'w chyfreidiau;
Da blithog, laethog lwythau—da corniog;
Ceir da gwlanog'r hyd y glynau.

Trwy holl Wyndud o try llawnder,
Hoywaidd fendith, a'i haddfwynder,
Achles cynnes cawn,
Hafdes, gwres a gawn
Gair uniawn goreuner.

Trefner, cyfoder cofiadon,—hynod
O henwau'r grymusion;
Iawndda cadw yn ddihocedion,
Goffadwriaeth o gyff dirion,
Prawf o lwyddiant prif luyddion
Lloegr anwyl, a'i holl gywreinion;
Da wrol-barch i dir Albion,
A thir Gwalia a'i thrigolion;
Bid ein iaith, hen iaith yw hon—mewn blodau
Yn nyddiau Gwyneddion.

Na ddel gormeilwyr, ddwylaw grymialog,
Eto i'r ynys yn wŷr tarianog;
Na bo i'r galon yn rhai bygylog,
Lygru draw wythi hen Loegr doreithiog,
Llawn Rhyddid llon rhieddog,—hyd ddiwedd
A fo'i holl Wynedd hywiw feillionog.

Trwy'r byd, nid tristyd y tro,—cu Rydid
Caredig a lwyddo;
Rhag i gwmwl dwl yn do,
A chaddug, ei orchuddio.

Moli'n ddilid, Duw a ddylid
Am ein Rhyddid, mwyn yw'r heddwch
Gwawr gywiraf, dydd dedwyddaf,
O lunieiddiaf wiw lonyddwch.

Cynal rhyw ofal rhyfedd—a ddylid,
I ddilyn ffordd rhinwedd;
Dilyn byth hyd lan y bedd,
Gywreinwaith y Gwirionedd.

Bo i deulu bydolion,
Fyw'n addas i ras yr Ion;
Dan wen dda lawen ddi lid,
A Rhyddid Nef, a'i rhoddion.

---

## CAROL NADOLIG.

"HYFRYDWCH Y BRENHIN SIOR."

Dewch i ganu mawl plygeiniol
Mwyn bereiddiol, mae'n iawn bryd;
Rhown uchel glod yn awr
I Benaeth mawr y byd:
I ddatod hudol waith y diafol,
Gelyn marwol golyn mawr,
Daeth Iesu mwyn ar frys
O'i nefol lys i lawr;
Wel dyma'r gwr sy'n haeddu
Ac yn rhyglyddu'r glod;
Yn mhob rhyw fan, gan gryf a gwan,
Yn rhyfedd dan y rhod;
Cymerai'r swydd i'n dwyn yn rhwydd
Naws dedwydd o'n hen 'stad,
Iachawdwr gwych ei wedd,
Pur rhyfedd yw'r Mab rhad.
Mae'r Iesu mawr bendigaid
Am gynal enaid gwan;
Un dawn nid oes, ond gwaed y groes,
I'n dwyn o'r loes i'r lan;
Trugaredd Ion, sydd fel y mor,
A'i drysor yn ddidrai;
Er cymaint aeth i'r ne,
Nid ydyw'r lle ddim llai.

Dewch i byngcio i Dduw Siloh,
Pob un ag yspryd effro doed,
I foli'r canol wr
Gwaredwr goreu erioed:
Er mwyn ein gwared o'n caethiwed,
Goddefodd Iesu galed gûr;
Ar fynydd Calfari,
Y ca'dd ei dorri â dur:
Goddefodd boenau dirfawr,
A'i waed i'r llawr yn lli,
Y person pur, ca'i wawd a chur,
Wrth wisgo ein natur ni;
Gan Unduw Tri tuag atom ni,
Y mae tosturi ystor;
Mae gan Dywysog hedd
Amynedd fel y mor.
Mae'r Iesu mawr bendigaid, &c.

Cawsom newydd, ar foreuddydd,
Sain llawenydd sy'n y lle;
Fe anwyd goreu gwr,
Da noddwr, Fab Duw ne'!
Efengyl hynod Duw y Drindod
I'n dwyn i gymod gyda'g ef,

Daeth fel llen-llian fawr,
  I lawr yn awr o'r nef:
Y g'lomen ddaeth a deilen
  Yr olewydden werdd,
Mae'n taenu heb gur, arogledd pur,
  Er cysur hyd le cerdd;
Newyddion da i'r clwyfus cla';
  Sydd dan y pla'n ein plith;
Cysurus yw i'r saint,
  Mae'n gwella'r haint bob rhith.
      Mae'r Iesu, &c.

I roddi 'n rhyddion, garcharorion,
  Oeddynt gaethion oll eu gyd,
Ca'dd Iesu teg ei wawr,
  Ing boenfawr yn y byd:
E ddaeth ein Ceidwad bendigedig,
  Hardd garedig, hawddgar wedd;
I fyn'd dan bwys ein bai,—
  Disgynai, D'wysog hedd;
Drwy uno'r natur ddynol,
  A'r ddwyfòl, arwydd iach,
Fe ddaeth yn blaid, wrth angenrhaid,
  I buro'r enaid bach:
Agorodd ef y ffordd i'r nef,
  Ar allor gref y groes;
Iawn dros ein camwedd ni
  Ar Galfari a ròes.
      Mae'r Iesu, &c.

Y rhai a gredant Dduw'r gogoniant,
  Ar Grist gorphwysant yn ddiffael,
I bawb sy'n perchen ffydd
  Anfeidrol fydd y fael;
Mawr anfeidrol, a rhyfeddol,
  Ei dadol ofal didawl ef;
Ei roddion ddaeth i ran
  Dyn anmhur dan y nef;
Gorphenwyd agor ffynon
  Is dwyfron Iesu doeth,
Mae'n ffrwd ddi drai, i buro bai
  Eneidiau 'r rhai sy'n noeth
Gwir had y Wraig a 'sigai'r ddraig,
  Ar graig mae sylfaen gras;
Gorchfygodd angau cryf
  A'i farwol gleddyf glas.
      Mae'r Iesu, &c.

Nid di-ddarfod bwysau pechod,
  Ond llysu a gwrthod Iesu gwiw;
Sy'n gyru dyn di lwydd
  I odde' o wydd ei Dduw;
Annerbyniad o'i gynnygiad,
  Gwrthodiad cariad Ceidwad cu
Sy'n taflu enaid dyn
  I eitha'r dibyn du!
Mae melltith barn cyfiawnder,
  Yn bygwth toster twn,
Am goelio 'n gâs, brif elyn gras
  Dyhirwas ydyw hwn;
Rhyw felltith drom (a saif heb siom)
  Ar ddinas Sodom sydd;
Pob ffals bechadur ffol
  A ddaw i'r ddol ryw ddydd.
      Mae'r Iesu, &c.

Gorchwyliaethol law dragwyddol,
  Yn amserol yma sydd,
Yn erbyn cnawdol chwant,
  Bai trachwant, bywyd rhydd:
Llais ysprydol sydd wahanol,
  I deimlad cnawdol deddfol dyn,
Yn ei briodol waith
  A'i hynod iaith ei hun;
Tŷ Lot oedd gysgod cymhwys
  O'r Eglwys, gwraig yr Oen;
Mae'n lloches glyd, i'r duwiol fryd,
  Dan erlid byd a'i boen;
Gan deulu dall, yw'r fyddin fall,
  Sef pawb o'r anghall ryw,
A'r ffolion rai di ffydd,
  Yn Babel sydd yn byw.
      Mae'r Iesu, &c.

Gweision Iesu sy'n ymwadu,
  Nol iddynt gredu ei air yn grwn,
Oddiwrth annuwiol fryd,
  Tueddiad y byd hwn;
Rhaid i weision Brenhin Sion,
  A gadwant union radlon rol,
Fel Joseph ado'u gwisg,
  A'u harddwisg ar eu hol;
Mae'n rhaid i ddyn fyn'd allan
  O'i hunan, egwan yw,
Gan ffoi oddiwrth bob pechod swrth
  I ddisgwyl wrth ei Dduw;
Rhaid ffoi i'r arch, drwy nefol barch,
  Da hybarch, di wahan;
Cyn gwlawio o'r nef i lawr,
  Y dylif mawr o dan.
      Mae'r Iesu, &c.

Rhyfedd! rhyfedd! yw amgeledd,
  A mwynaidd deg amynedd Duw!
I'r sawl yn Nghrist a gred,
  Mor ddwfn o ymwared yw;
Efe a gynal y rhai gweinion,
  Mewn peryglon, yn mhob rhi',
Ef ydyw'r meddyg mawr,
  Duw noddfawr, da i ni!
Er gwenwyn dreigiau annwn,
  Ac udgwn uffern gas,
Ni chaiff y chwyn, medd Iesu gwyn,
  Oresgyn nefol ras,
Fe ddwg ei lu'n ddiogel iawn,
  I'w brodir llawn ryw bryd;
Er gwaetha llid a gwawd
  A beiau cnawd a byd!
      Mae'r Iesu, &c.

Gwel bechadur, er dy gysur,
  Oddefaint pur Benadur ne';
Fe aeth dan glwyf a gloes,
  Dolur-loes yn dy le;

Iesu feddyg bendigedig,
  Sydd yn cynyg, heb nacau,
Lawenydd perffaith, bur,
  A chysur i'n hiachau,
Pob enaid a'i derbynio,
  Mae'n selio'r fynwes hon;
Mae teimlad dwys, a bywiol bwys,
  Yn y ddifrif-ddwys fron;
Mae cymorth rhwydd i'w gael er llwydd,
  Rhag llwyth euogrwydd llym,
Dim nerth mewn dyn nid oes,
  Yn Oen y groes mae'r grym.
    Mae'r Iesu, &c.

---

## FY ANWYL FAM FY HUNAN.

Pwy a'm hymddygodd yn ddi lys,
  O dan ei gwregys mwynlan?
Pwy roes i'm faeth a lluniaeth llon,
  O laeth ei bron, ber anian?
A phwy a'm cadwai rhag pob cam?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

Pwy i'm a suai uwch fy nghryd,
  Pan oeddwn wanllyd faban?
A phwy fu 'n effro lawer gwaith
  Drwy'r hirnos faith annyddan;
Pwy a'm gwarchodai rhag pob cam?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

Pwy a'm dilladai er fy llwydd,
  Bryd diniweidrwydd oedran?
Rhag imi fawr beryglu f'oes
  Ysigo einioes egwan?
A phwy a'm noddai rhag drwg nam?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

Er blino'm mam garuaidd iawn,
  A digio,—na chawn degan,
Hi'n fynych wedi'i'm syrthio'n groes,
  Iachaes fy loes a chusan;
Pwy ni chwenychai i mi gam?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

A phwy a'm gwyliai ddydd a nos,
  Rhag syrthio dros y geulan?
Neu gwympo ar yr aelwyd boeth
  Mewn cyflwr noeth a thrwstan;
Pwy a'm golygai rhag drwg lam?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

Pwy ond fy mam, dirionaf merch,
  O eithaf traserch gwiwlan,
A wylai drosof, waelaf drych,
  Pan oeddwn wrthddrych truan
A pheth ond llaw Rhagluniaeth lon.
  A ddaliai hon ei hunan?

Pwy a'm cynghorai, bob rhyw bryd,
  Rhag arwain bywyd aflan?
Ond parchu enw Duw trwy ffydd,
  A chadw'i ddydd sancteiddlan
Heb wneuthur unrhyw dwyll na cham?
  Fy anwyl Fam fy hunan.

Er mwyn i'm hawddgar Fam heb groes,
  Ddiweddu oes yn ddiddan,
Wrth iddi blygu bob yn bwyth,
  Dan ddirfawr lwyth o oedran,
Rhag suddo i'r bedd dan ofal bwn,
  Cymeraf hwn fy hunan.

Pan fyddo angau llym gerllaw,
  Ei phen a'm dwylaw daliaf,
A thrwyddi gras, yn fendith gref,
  Fy Ion o'r nef erfyniaf.
A'm serch yn rhaffau heilltion rhed,
  Wrth dalu'r ddyled olaf.

O blegid credu'r wyf fod Duw,
  A wel, a glyw y cyfan;
Ei lid o entrych wybren fawr,
  Melltenai'i lawr drwy f'anian,
Pe meiddiwn oddef cynyg cam
  I'm hanwyl Fam fy hunan.

---

## ANTURIAETH RYFEDD YN Y GOGLEDD.

### HANESYN GWIRIONEDDOL.

Amryw flyneddoedd yn ôl, pan yn ngogledd yr Alban, yr oedd yn ofynol i mi groesi un o'r mor-geinciau mawrion sydd yn y rhan hono o'r wlâd; ond, o herwydd rhyw resymau neillduol nid ydwyf yn dewis enwi y forgainc, neu y borthfa, (*ferry*). Digon yw dywedyd, fod yn rhaid i mi groesi un o'r porthfeydd hyn; a bod y moddion i wneyd hyny yn lled anhawdd eu cyrhaedd. Yr oedd pob gwr, gwraig, ac hyd yn nod plentyn, dros ben a chlustiau yn ngwleidiadaeth etholiad, ac yn dra gwladgarol yn arddangos eu pryder am y daioni cyffredinol, trwy lwyr esgeuluso yr eiddynt eu hunain. Pe y buasai merch arglwydd Ullin, a'i phennaeth, yn rhwym i'r Ucheldiroedd, yn bloeddio, "Fadwr, nag oedwch," nes rhwygo eu hysgyfaint, ni chawsent yr un dyn a fuasai yn eu rhwyfo dros y for-gainc, am gariad nac am arian; ac felly buasent yn aros heb eu boddi, er colled fawr i holl fabanod chwedleugar yr ysgolion, a mân areithwyr siopau y cryddion, a'r gofaint.

Nid oedd trawsiad y for-gainc hon yn fyr, na dim yn debyg; a gofynid rhywbeth amgenach na chor-fad, fel cyfrwng y trosglwyddiad o'r naill lan i'r llall, pe amgen, gan fy mod ar beth brŷs, efallai y buaswn yn anturio yn y cyfryw, yn hytrach nag ymdroi yn bryderus. O'r diwedd, dygwyddodd cyfleusdra i gael croesi; canys deuai llestr arfor fechan i'r golwg, gan hwylio ger y lan, yn nghyfeiriad y pwynt o'r lle y gellid croesi y forgainc yn fwyaf dyogel; ac aethum ar ei bwrdd, mewn bâd a dynid tuag atti. Wedi ymofyn a ellid fy nghymeryd drosodd, ar ol peth oediad, fe'm hattebid yn gadarnhäol; er mewn modd lled surllyd ac anserchog.

"Y dwylaw ar y bwrdd" oeddynt yn cael eu gwneyd i fynu o dri o ddynion, a bachgen; ac un o'r dynion hyny oedd llywydd y llestr, neu y *captain;* os gellid ei alw felly. Yr oedd yno ddau eraill hefyd, y rhai yr oedd yn amlwg nad oeddynt yn perthyn i'r llestr, gan eu bod mewn gwisgoedd cyffelyb i wŷr tir, cyfrifol. Yr oedd y rhai hyn oll ar y bwrdd pan aethum i'r llestr; ac yn wir, nid oedd y cyfleusdra dan y dec yn gyfryw ag a fuasai yn eu temtio i fyned i waered, fel y sylwais ar ol hyny. Yn ddigon naturiol, un o'r pethau cyntaf y meddyliais am dano, oedd myned i siarad â'r llywydd. "Diwrnod hyfryd ar y dwfr," meddwn, "chwi a wnewch y fordaith yn gyflym." "Nid oes arnom ddim brys," oedd yr atteb sarrug. "Ond, os pery y gwynt yn deg," meddwn yn mhellach, "fe'n cludir drosodd yn fuan." "Mi a welais y gwyntoedd yn troi," oedd yr attebiad. Edrychais ar y dŷn. Yr oedd ei wynebpryd yn galed, a hin-guredig, a gerwinder sefydlog ar ei ael, yr hyn nid oedd yn hyfryd i'r llygad ar un cyfrif. Wedi fy nymchwelyd yn llwyr gan ei atteb diweddaf, troais ymaith, ac ymdrechais i gael gair neu ddau allan o'r ddau ddyn arall a wnaent i fynu griw y llong. Yr oeddynt yn fwy hynaws na'u huwchafiad, ond yn llawn mor dueddol mewn ymddangosiad i fod yn dawedawg. Yr oedd hyd yn nod y bachgen yn sychlyd, fel colfach rhydlyd; ac ni's gallai namyn erician atteb cwtta. Yna tröais at y ddau deithydd, y rhai oeddynt yn ddynion lled weddus, er yn ddigon cyffredin yr olwg arnynt; pob un mewn ymddangosiad rhwng deng mlwydd ar hugain, a deugain mlwydd oed; a chyfeillion mynwesol, gallasid tybied wrth y difrifwch â pha un yr ymddiddanent â'u gilydd. Ymddangosai eu bod yn ymddiddan ar ryw destun a'u gwnelai yn llawen; fel y llon-gyfarchent eu gilydd drachefn a thrachefn, gan daro llaw, y naill ar ysgwydd y llall.

Cyfarchais y dynion hyn gyda sylw ar yr hin —y testun sydd mor gyfleus ar bob achlysur. "Hin deg! ydyw yn wir Syr;" attebai un o honynt. "Myfi a feddyliwn y byddwn ni drosodd mewn awr neu ddwy," meddwn i. Edrychai y ddau ddyn arnaf yn syn. "Pe byddem yn myned yn uniawn i'r ochr draw," medd un o honynt, "nyni a allem fod yno mewn awr neu ddwy. Ond nid felly yn hollol y mae pethau." "Pa beth?" bloeddiwn, "onid ydym yn myned drosodd rhag blaen! Pa ham ynte y cymerth y meistr fi ar y bwrdd?" "Ni chrybwyllasoch i ba le yr ochr draw yr oeddych chwi yn rhwym, pan ddaethoch i'r bwrdd." "Gwir; ond nid oedd genyf un drych-feddwl, fod unrhyw amcan arall mewn golwg i'r llestr, heblaw croesi y borthfa." "Nid felly y mae, modd bynag," medd y dyn; "y mae y cychyn yma wedi ei logi i amcan neillduol, ac yn rhwym i le neillduol, yr hwn sydd mae yn wir, yr ochr arall i'r dwfr; ond nid yn uniawn ar draws. Gwelai y captain eich bod yn bryderus, a chymerodd chwi i fewn, o natur dda, mae yn debyg." "Natur dda yn wir!" meddyliwn, wedi fy nghythruddo yn dost gan yr hysbysiad yna; "yn mhell y bo ei natur dda; ac wrth ddywedyd hyny yr ydwyf yn sicr nad ydwyf yn amcanu nemawr niwed i ddim o'r eiddo; canys fe ymddengys mai ychydig iawn a fedd ef o'r nwydd hwnw." Wedi mynyd o ystyriaeth, yr oeddwn ar ofyn i'r ddau estron arfer eu dylanwad i gael fy rhoddi ar y lan yr ochr arall mor fuan ag y gellid, pan ymddangosai pen y *captain* uwchlaw grisiau y lle a elwid caban, ac yn amneidiaw, trwy ergydio ei ben yn ôl, ar y ddau ddyn i ddyfod atto ef. Hwythau yn y fan a sylwasant ar yr alwad, ac wedi rhyw gip-drem ddyeithr o betrusder arnaf fy hunan, ac yna, edrychiad i ben arall y llestr, hwy a ufuddhasant i'r amnaid.

Gan dybio eu bod wedi myned i gyfranogi o ryw luniaeth, myfi a gerddais ymaith, gan benderfynu siarad am gael fy rhoddi ar y lan, ar yr adeg gyfleus gyntaf. Aethum tua phen ol y llestr, yr hwn a gawn oll i mi fy hunan; ac wedi cerdded yn ol a blaen dros beth amser, gan syn fyfyrio; sefais yn llonydd, gan syllu ar y dyfroedd o'm hamgylch, a'r lan yn yr olwg; ac yn ddisymwth disgynai ochenaid ar fy nghlust! Dychlamais mewn braw lled fawr; ac yna gwelwn fy mod wedi bod yn sefyll ar ragddor rhyw le dan y dec. Gwrandewais yn astud, a chlywn yr ochenaid eilwaith. Crymais tu a'r llawr, a chlywn lais dyn yn hustyng, fel na's gallwn ddeall namyn ambell i air.—"O mwrdwr! pa beth yw hyn?" oeddynt y geiriau cyntaf a ddeallais. "Y fileiniaid! y fileiniaid gwaedlyd! —O! Susy Grant, Susy Grant, da yr ydwyf yn cofio eich cynghorion fy ngwraig; ac os gadawir fi, myfi a feddyliaf fwy am danynt eto, ac a wellhaf. Chwi a ddywedasoch lawer gwaith y byddai i'r farn fy ngoddiweddyd am fy nghamweddau; ond Dafi Deuchar, y creadur meddw,

a'm perswadiodd y byddwn yn ynfyttyn, i sylwi ar glec gwraig. Ni's dylynaf ei gynghor ef yn hwy, Susy, fy ngwraig, pe bawn unwaith o ddwylaw eu hur-lofruddion gwaedlyd.—Och, fy anwylyd! gwraig druenus a fyddwch chwi heno; a Tom, ac Isabel, a Johnny bach, y pethau gwirion! hwy a wylant eu llygaid allan. Och fi! Och fi! pa beth yw hyn oll!" Yna ymdorrai i wylo yn chwerw iawn; ac ni's gwyddwn yn y byd pa beth i'w wneyd o hyn oll. Er fod rhywbeth braidd yn ddigrifol yn nhôn, a sylwedd ei gwynion, ni's gallwn lai na theimlo at unrhyw greadur wedi ei gau i fynu yn ngheudod cwch fel hyn, a hyny yn amlwg yn erbyn ei ewyllys. Gwrandewais yn astud drachefn, gan ogwyddo fy nghlust at y dec. "O y fileiniaid, y fileiniaid gwaedlyd! dyna oedd ei hoff ebychiad—"tywyllwch, a gwellt pŷs! goleuni y dydd wedi ei gau allan! O! yn mha beth y diwedda hyn—pa beth a ddaw o honof!—wedi fy nghludo i gaethiwed—i wneyd priddfeini efallai; neu, efallai i wneyd siwgr yn mhlith dynion duon! Ond, a adawant hwy fy mywyd i mi? Y fileiniaid, y fileiniaid gwaedlyd! tynu dŷn gonest oddiwrth ei aelwyd ei hun—oddiwrth ei wraig a'i blant,—Tom, ac Isabel, a Johnny bach—O'r anwyl! O'r anwyl!" Ac yma eto, ymddangosai fod adgof y dyn truan am ei deulu, wedi ei orchfygu. Dechreuais deimlo y tosturi mwyaf diffuant at y carcharor; a rhaid i mi gyfaddef hefyd, fod rhyw feddyliau dyeithriol wedi fy meddiannu, o barth y lle y daethwn iddo. Wedi edrych o'm hamgylch, a chanfod nad oedd neb yn y pen hwnw o'r llong lle yr oeddwn i, oddieithr y bachgen, yr hwn oedd yn cysgu, penliniais i lawr, a dywedais mewn sibrydaeth uchel, trwy agenau y rhagddor, "Pwy ydych?" Bu dystawrwydd am beth amser: yna dywedai, "Os ydych chwi yn un o'r rhai a'm dug i yma, chwi a wyddoch yn dda pwy ydwyf."—"Dyn dyeithr ydwyf fi, a chyfaill i chwi," meddwn. "O syr," attebai y carcharor, mewn llais dyrchafedig, "os ydych yn gyfaill, agorwch y rhagddor hon, a gollyngwch fi allan. Yr ydwyf yn ddyn gweddus. Fe'm lladrattawyd ymaith i'm llofruddio! O syr, cymerwch fi allan oddiyma,—cymerwch fi allan oddiyma cyn iddynt ddwyn fy mywyd. Y mae genyf wraig, a thri o blant anwyl.—O syr, cymerwch fi allan o'r fan yma!" "Fel mai byw fi," meddwn yn haner wrthyf fy hun, "y mae rhyw beth o'i le yn myned yn mlaen yma!" "Rhywbeth syr," medd llais garw o'r tu ol i mi, "a'r hyn nid oes genych chwi o leiaf, ddim i'w wneyd." Y llonglywydd a ddywedai y geiriau yna; ac fel y llefarai, ei fraich a'm cyfodai yn ffyrnig ar fy nhraed. Fe'm cynhyrfid gan y weithred hon, a chan yr amgylchiadau; ac attebais ef, gan ddywedyd, "Y mae yma rywbeth â'r hyn y mae a wnelwyf fi, a phob dyn gonest a gâr ymddygiadau teg. Y mae yma ryw un yn cael cam dirfawr—" Yna dywedai un o'r mynedolion, yr hwn a ddylynasai y llong-lywydd, "Ni's gall y boneddwr weled yn mhell trwy faen melin, pe amgen buasai yn gwybod fod cwsg ar wellt pŷs glân, yn ffordd dda i ddadebru cyfaill wedi cael ei orchfygu gan wirod."

Y gwyddfodolion a chwarddent am y sylw hwn; ond, yr oedd rhyw beth treisiol yn eu crechwen, a gallwn ganfod bod y ddau deithiwr yn ymddangos yn fwy gwelw na chynt. Ond ymddangosai y llong-lywydd yn berffaith ddi gyffro. "Nid yw o un pwys pa beth a welo y boneddwr, neu na's gallo ei weled," ebe fe, "ni's mynaf fi i neb yspïena i fynu ac i waered yn fy mâd i. Gan hyny gwell iddo edrych ar ol ei negeseuon ei hun tra fyddo yma."

Yr oedd y doethineb o hyn mor amlwg dan yr amgylchiadau, fel na's dywedais air ar y peth; ond symudais i gŵr arall o'r llestr. Wedi myfyrio wrthyf fy hunan dros beth amser, dygwyddais sylwi ar unwaith fod y llestr wedi newid ei chwrs; a'i bod yn rhedeg yn awr, nid am y lan, ond bron yn gyfredol a'r lan. Aethum i ymofyn am y llywydd yn y fan, yr hwn a gefais yn ymddiddan yn ddyfal gyd â'r ddau deithydd. Yr oeddynt wedi eu llyncu i fynu yn gymaint gan destun eu hymddiddan, fel yr oeddwn ar eu gwarthaf cyn sylwi o honynt, a chlywn un o'r ddau ddyn yn dywedyd, "Y mae e yn ymddangos yn un tra phenderfynol—na's gellir rhoddi taw arno yn rhwydd—ac os rhoddwch ef ar y lan, efe a all dynu drwg am ein penau cyn y bydd helynt Grant wedi myned tu hwnt i feddygyniaeth." Dodais fy llaw ar ysgwydd y llywydd; a chynhyrfodd y cyfan pan y'm gwelsant. "Captain" meddwn, "a ydych chwi yn myned i'm rhoddi i ar y lan yn fuan?" "Fe'ch rhoddir can gynted ag y byddwn ger y lan." "Ond yr ydych wedi newid eich cwrs," meddwn innau. "Y mae y bâd syr, wedi ei logi gan y ddau foneddwr hyn yn bresenol, ac y maent yn meddwl y byddai yn annghyfleus i redeg yn agos i'r lan yn y fan hon, neu y pryd hwn." Dywedai hyn yn benderfynol; ac yr ydoedd ar droi ymaith, megis y gwnaethai y ddau wr arall eisoes, pan ofynais iddo, "Pa bryd gan hyny y bydd yn gyfleus i chwi fy rhoddi ar y lan?" "Yn foreu y foru," oedd yr attebiad. Ar y cyntaf, yr oeddwn ar ymliw yn fy nigter â'r ddau ŵr; ond wedi ail ystyried, gwnaethum fy meddwl i fynu i fod yn ddystaw, a gadael i bethau gymeryd eu cwrs.

Yr ydoedd yn mhell ar y dydd pan ddaethwn ar y bwrdd, ac yr ydoedd yn dechreu nosi yn gyflym yn awr. Rhyw bryd wedi yr ymddiddan diweddaf rhyngwyf a'r llywydd, efe a ddaeth i

fynu attaf, ac a ofynodd i mi gyda chymaint o hynawsedd ag yr oedd yn feddiannol arno, a ymunwn i âg ef a'i gyfeillion, i gyfranogi o wydraid o wirod, yn y caban. Derbyniais y gwahoddiad, yn gymaint oddiar obaith cael clywed rhywbeth yn nghylch y carcharor oedd yn ngheudod y llong, a dim arall. Canfum fod y caban yn dwll bychan, wedi ei ddodrefnu yn wael iawn. Cymhellai y llywydd a'i gyfeillion fi i gyfrannogi o'u dïod, yr hyn a wnaethum: ond tröai yr holl ymddiddan ar ryw bethau hollol ddi bwys; a blinais arno yn fuan. Yr oedd genyf gochl drom gyda mi; ac wedi fy nhrefnu fy hun mor gysurus ag y gallwn, ymollyngais i gysgu. Y peth diweddaf a gofiwn i mi ei glywed, ydoedd "*heave-yo*" y llywydd a'i ddynion yn rhoddi yr angor i lawr.

Pan ddeffroais, yr ydoedd eto yn nos; ac wrth y tân oedd yn y lle bychan lle yr oeddym, yr oedd y capden, a'r ddau ymdeithydd, yn eistedd, ac yn cysgu yn drwm, fel y tystiai eu chwyrniad uchel. Daeth y carcharor, a'i sefyllfa ddyeithr, ar draws fy meddwl yn y fan, a theimlwn demtasiwn gref i ymafael yn y cyfleusdra, er cael ymddiddan âg ef drachefn. Ond yna, y perygl o gael fy narganfod! Ymdrechais i dawelu fy meddwl i gysgu drachefn: ond yn gwbl ofer; felly ymwrolais, ac ymlusgais yn ddystaw ar y dec.

Yr oedd digon o oleuni i mi allu canfod fod un dyn i fynu; ond ymddangosai bod hwnw yn cysgu. Ymsymmudais yn ochelgar i'r pen arall i'r llestr; ac wedi fy sicrhau fy hun nad oedd neb yn y pen hwnw, aethum ar fy ngliniau wrth y rhagddor, a sibrydais,—"A ydych chwi yn cysgu?" Dim atteb. Curais ar y bwrdd, ac ail ofynais yr un peth. "Nac ydwyf," oedd yr atteb, "ni all neb gysgu yn hir yma." "Siaradwch yn rhydd," meddwn wrtho, "myfi yw yr hwn a fu yn ymddiddan â chwi o'r blaen; ac a ddymunai allu eich cynnorthwyo. A ydych chwi yn gyfaill i'r dynion sydd yn y llestr hon?" "Cyfaill!" medd y carcharor; "ni wn i ddim byd am danynt, ond bod y creuloniaid wedi fy nghymeryd i ddalfa yn hwyr neithwyr, ar heolydd fy nhref gartrefol fy hunan, a'm bwrw i'r ceudwll tywyll yma: a'r Arglwydd yn unig a wyr beth a fydd y diwedd!" "A ydynt hwy yn eich newynu? A oes genych chwi ddim bwyd?" oedd fy ngofyniad nesaf. "Y mae genyf fwyd a dïod; ond ni's gallaf weled i'w gymeryd; ac nid oes genyf chwaeth atto. O syr! os ydych yn gyfaill, ac nad ydych yn fy ngwatwar, mynwch fy nghael o'r lle hwn; neu, o leiaf, ewch i—a chyflwynwch fy ngeiriau olaf i'm gwraig a'm plant! Ymofynwch am wraig John Grant, a dywedwch wrthi hi, pe y buaswn wedi cymeryd ei chyngor hi, na buaswn i ddim yma heno. Ond O! dygwch fi allan os gellwch; hyny a fyddai y ffordd oreu." "Beth yw eich enw?—o ba le yr ydych chwi yn dyfod?"—"Yr ydwyf yn dyfod o——; dyna fy nghartref; a'm henw yw John Grant, masnachydd mor lwyddiannus a chyfrifol a neb yn y dref." "A oes genych chwi un drych-feddwl o'u bwriad yn eich cymeryd ymaith; neu, pa beth y maent yn fwriadu ei wneyd â chwi?" "Fy llofruddio yn ddiammeu, y fileiniaid gwaedlyd," ebe y carcharor, gan atteb fy ngofyniad olaf yn gyntaf. Fel yr oedd ef yn dywedyd y geiriau diweddaf, fe'm brawychid gan drwst cerddediad ar y dec; cyfodais i fynu, a dechreuais gerdded yn araf. Nesâi y dyn a fuasai yn cysgu yn agos i borth y caban. Pa un a oedd ef wedi fy nrwg-dybio ai nad oedd, ni's gwn; ond sicr yw, iddo roddi attalfa effeithiol yn fy ffordd i adnewyddu yr ymddiddan, er rhodio o honof o amgylch dros amryw oriau. Weithiau, pan y clywn ruddfanau Grant druan, fel y caniatteid i mi weithiau, gan y dystawrwydd a ffynai o amgylch, tueddid fy meddwl yn gryf i ymddiddan â'r morwr. Ond, yr oedd ei fod ef yn berffaith ddi sylw o'r cyfryw ruddfanau, yn fy argyhoeddi ei fod yn y gyfrinach, beth bynag oedd ei natur; ac mai ofer a fyddai i mi ddywedyd dim wrtho. Yna aethum i waered, a disgynais i drymgwsg drachefn.

Pan agorodd fy llygaid unwaith drachefn, yr ydoedd yn olau ddydd; ac yr oeddwn wrthyf fy hun. Aethum i fynu i'r bwrdd, a chanfum ein bod yn awr yn rhedeg yn agos i'r lan. "Chwi a laniwch yn awr," medd y capden; "caiff un o'r bechgyn eich rhoddi ar y lan gyd a'r cwch." Ac yn fuan wedi hyny gollyngid bâd i lawr; ac yr oedd pob peth yn barod. Rhoddais i'r capden yr hyn a farnwn yn gydnabyddiaeth ddigonol, ac efe a'i rhoddodd yn ei logell, heb ddywedyd gair. Yr oedd y ddau ymdeithydd yn sefyll ychydig bellder oddiwrthym. Ni's gallwn adael y llestr heb ddywedyd fy meddwl o berthynas i'r carcharor tlawd. "Foneddigion," meddwn, gan fyned i fynu attynt,—"gwell i chwi fod ar eich gwyliadwriaeth, pa fodd yr ymddygoch at y dyn truenus yna," gan gyfeirio at y fan lle yr oedd efe; "nid cyfaill i chwi ydyw ef. Yr ydwyf yn hysbys o'i enw, a'i drigfa; ac yn sicr, myfi a wnaf yn hysbys yr hyn a welais. Cewch chwi, neu y capden o leiaf, dalu yn ddrud am unrhyw niwed a wnewch chwi iddo." Ni wnelai y dynion namyn chwerthin am ben fy ngeiriau; a'r capden yn lled afrywiog a ddywedai, "Brysiwch, syr; y mae y bâd yn dysgwyl am danoch." Gan na's gallwn wneyd dim ychwaneg, disgynais i'r bâd, ac mewn ychydig fynydau cyrhaeddais y lan.

Yr oedd pentref bychan yn y golwg, ac yno y cyfeiriais fy nghamrau, a'm taith-god yn fy llaw. Pan droais, fel yr oeddwn yn myned

rhagof, i edrych ar y llestr a adawswn, canfyddwn er fy syndod, ei bod wedi troi, ac yn cyfeirio ar led-traws y for-gainc i'r ochr arall. Tueddai hyn i gadarnhau fy meddwl bod rhywbeth o'i le, a phan gyrhaeddais y pentref, ymofynais am hedd-ynad, fel y gallwn ei hysbysu o'r hyn a welswn: ond nid oedd yr un yn y lle. Pa fodd bynag, mynegais fy chwedl i feistr y gwestdy. Yr oedd ef yn tueddu i edrych ar y cyfan fel rhyw gellweiriaeth, â'r hyn ni's gallwn i gyttuno. Ond, gan fod y llestr bellach, allan o gyrhaedd yn hollol, nid oedd yn hawdd gweled pa fodd y gellid gwneyd dim yn yr achos.

Wedi llogi cerbyd cyfaddas, gadawais y pentref, ac aethum tu a'r dref, lle yr oedd fy neges ar yr hon y croeswn y borthfa, yn gorwedd yn benaf. Adroddais y chwedl yma drachefn; ond gwelwn ei bod yn cael ei chyfrif yn gyffredin fel rhyw gellweiriaeth. Ni's gallwn gydsynio a'r meddyl-ddrych yma; ac o'r diwedd, wedi trefnu fy negeseuon, penderfynais ymweled yn bersonol â'r dref lle y dywedasai John Grant fod ei breswylfod. Yr ydoedd yn bedwerydd dŷdd wedi fy anturiaeth ddyeithr ar y borthfa, pan gyrhaeddais dref—Yr oedd y fwrdeisdref heb ymdawelu eto o gyffro etholiad oedd newydd gymeryd lle. Y gwr yr ymofynais âg ef gyntaf mewn perthynas i John Grant, ydoedd meistr y gwestdy lle yr arhoswn. Efe a'm hysbysai fod pedwar o wŷr o'r enw hwnw yn y dref, oll yn fasnachwyr. "Ond," ebe fe, "y mae un o'r enw, Cynghorwr Grant, yn aros yn y drws nesaf." Penderfynais adrodd fy chwedl i'r gŵr hwnw; a chael allan ffawd ei gyfenw truan, od oedd rhyw wirionedd yn yr hyn a ddywedasai y carcharor.

Yr oedd maelfa Grant yn ymddangos yn un barchus iawn. Ar fy ngwaith yn ymofyn am Mr. Grant, fe'm harweinid i ystafell fechan yn y cefn, mewn rhan yn barlwr, ac mewn rhan yn swyddfa, lle y gwelwn ddyn bychan, trefnus, trwsiadus, yn eistedd wrtho ei hun. "Eisteddwch syr," eb efe, gan ddodi cadair i mi. Y geiriau a ddywedai oeddynt ychydig; ond y dôn, a'r llais, a barai i mi gyffroi, a chraffu arno: yna dywedais, "Esgusodwch fi, syr, am fy sydynrwydd; ond a fuoch chwi ar fwrdd llestr yn y gaincfor gyfagos yma yn ddiweddar?" Y masnachwr a edrychai arnaf, gan godi ei ysgwyddau, ac a ddywedai, "Mewn gwirionedd syr, myfi a fum, i fy nghost. Fe'm cludid ymaith er fy nghadw rhag pleidebu, gan y fileiniaid trawsion; ac y mae y peth yn debyg i fy andwyo yn hollol; canys ni fyn ein hochr ni o'r Cynghor gredu, nad myned ymaith yn wirfoddol, ac o fwriad i roddi yr etholiad i'r blaid arall, a wnaethum. Prin y gellir cael gan fy ngwraig fy hunan gredu yn amgenach." A gruddfanai y dyn truan fel y dywedai hyn. "Myfi a allaf dystiolaethu i wirionedd yr hyn a ddywedwch. Myfi yw yr hwn oedd gerllaw i chwi, ac a fu yn ymddiddan â chwi ar fwrdd y llestr." Neidiai y masnachwr bychan oddiar ei sedd, cydiai yn fy llaw, a llamai o wir orfoledd. "O'r anwyl, ddyn! yr ydwyf yn llawen eich gweled," ebe efe. Yna, wedi agoryd drws tufewnol, llefai yn uchder eithaf ei lais, "Susie! Susie! tyred yma, tydi fenyw annghrediniol! Dyma y boneddwr oedd ar fwrdd y llestr gyda mi. Y mae pob peth yn iawn eto." Ar hyn, ymddangosai gwraig y masnachwr; gwraig dêg yr olwg arni; a thri o blant yn ei chanlyn, y rhai y penderfynais ar unwaith oeddynt "Tom, Isabel, a Johnney bach." Cyffroisid hwynt oll gan y llef; ond ni chlywsent hwy y geiriau. "O blant," medd y wraig, gan edrych ar ei gŵr, yr hwn oedd eto yn parhau i grych-neidio, "O blant, y mae eich tâd wedi dyrysu! Mae y fôr-chwedl yma wedi troi ei ben yn llwyr!" Ond y dyn diniwed a eglurodd y cwbl yn fuan; a dechreuwn ganfod rheswm da am ei fod yn gwerthfawrogi cymaint ar fy ymddangosiad a'm tystiolaeth, pan y'm hysbysai ei fod ef wedi ei feddiannu â'r ofnau mwyaf y buasai ei holl fasnach yn cael ei dystrywio gan yr annghrediniaeth cyffredinol â'r hwn y derbynid ei adroddiad. Gwedid ei haeriadau yn benderfynol gan y blaid arall; a chan fod yn ymddangos mai dyeithriaid a logasid ganddynt i'w draisddwyn, yr oedd yn anhawdd iawn cael prawf o'r peth. Ond, er pob peth, ni chyrhaeddasent eu hamcan; gan mai plaid John Grant a ennillasai trwy un bleideb. Yr ydwyf yn awr wedi dyfod hyd derfyn fy chwedl. Mynai John Grant i mi aros gydag ef dros ddau neu dri diwrnod, â'r hyn y cydsyniais, er fod hyny wedi trethu fy amynedd yn ddirfawr; gan fy mod wedi fy ngorfodi i adrodd y chwedl drosodd, a throsodd, ugain waith neu fwy; ac ni allasai dim beri i mi fyned trwy y llafur hwnw, ond fy awydd i adferu y masnachwr diniwed i ymddiried ei gyfeillion, a'r cyffredin: a chefais yr hyfrydwch o weled hyny wedi ei wneyd yn effeithiol.

—Chambers's Edinburgh Journal.

---

## DETHOLION O GYFANSODDIADAU TUDUR ALED.[1]

### CYWYDD I GANMOL Y WRAIG,

AG I DDUCHANU'R GWR.

Y Fun fwyaf a garaf fi,
O liw'r wylan, neu'r lili;
Beth o nwyf byth ym a wna,
Ai dy garu wedi gwra?

[1] Am y Sylw Buchofyddol, gwel t.d. 337, cyf. i.

Y naill ai gorfod yn ol,
Ai ynfydrwydd anfeidrol.
Dymuno yr wyf nwyf nawfis,
Yn lle dy wr priod, fod fis;
Gwae fo i'th gwyno na'th gaid!
Gwae finnau na'th gaf f'enaid!
Meddyliais drwy ymdduwioli,
Gasau dy ŵr, a'th geisio di:
Dy gael rhag dewred y gŵr,
Oedd ofalus ddu filwr.
Ei wyneb ef a wna Bŵ,
Na bo hen wyneb hwnw;
O chlyw air cellwair callwyllt,
Gwr y gôd a'e yn garw gwyllt!
Ymddiddan ddyn feingan fach,
Air heb wybod i'r bwbach;
Di erwin yw dy eiriau,
A garw yw tôn y gwr tau:
Diddig wyd bob dydd, a gwâr,
A dig ym yw dy gymmar.
Teg wyt yn nrysau tai gwin,
A'r gwr sy hagr a gerwin.
Rhai a fydd yn rhyfeddu,
Rhoi eigr deg i wr hagr du;
Y gwr llaes a'r geiriau llen,
A'ch rhwymodd och i'r rhumen!
Am rwymo gwr mor wammal,
A dyn deg ganneidwen dal;
Gwraig ganaid a llygaid llus,
A gwr milain grymialus;
Gwraig deg fwyn garedig falch,
A gwr anfwyn gerwin-falch.
Seren ganheidwen ydwyd,
Sauff yw d'wr, di syrffed wyd!
Dig ym yw yn ei fyw fo,
Dygasog am dy geisio:
Dyn taer pwy od anturiwn,
Dy gael fun hael er ofn hwn.
Dy liw a wna i deulu wr,
Dy garu a dyfalu d'wr;
Dy wyneb Wen di enwir.
Dwy ael o liw du o lir;
Dy lun och na'm dilynai;
Dy fodd sy lan a di fai,
Dy gorph fel pei gwneid o gŵyr,
Dy hoewliw di haul awyr.
Del i'th gywyddawl du-lwyd.
Dy gael mor garedig wyd.
Dy geisio ferch digus fu,
Dy gael oedd rhaid ei gelu;
Dy ganmol ferch urddolwaed,
Dy wr i'w fedd ei ddiwedd aed!

. . . . . . .

---

## CYWYDD MARWNAD HOWEL

### AP RHYS AP HOWEL, O RUG.

Duw gwyn er digio ennyd,
A'i difa'r iaith yw dy fryd;
Hynt oedd, oer hwnt, a ddyry ŵg,
Hoedl a thrin hudoliaeth ddrwg;
Corwen mae accw'r arwyl,
Cefn y Rug, gwae finnau'r wyl!
Crio fyth accw'r wyf fi,
Yntau Howel sy'n tewi;
Darllen bum fain ei fedd,
Dyn wr dani i orwedd;
Damasc a roed am ei ysgrin,
Deolir a dal ermin;
Hwya' llen i holl ynys,
Hilio pridd Howel ap Rhys.
Doe r'oedd Duw'n di-wra dyn,
O letty'r ferch, ac Eutyn;
Mae hon yn drom o hyny,
Marged hael, marw gwr y ty!
Dwyn trysor Duw a'n trinodd,
Da gwnai roi, deugain o rodd.
Yn lle allan yn llety,
At ei frawd awn etto fry.
Ef a rydd Duw i Feirdd dâl,
A ddug hwn oedd i'n cynnal.
Ni buasai wiw byth son,
Eithr tan obaith y rhont meibion,
Ofer oedd wŷdd fry a ddel,
O ba'i hwy meibion Howel.
Duw'n rhoi pedwar dyn y rhawg,
Dwy ferched, a dau farchawg;
Iawn yw gadael yn geidwad,
O weithred Duw aeth y tad.
Beth a dal obeithio dysg,
Bwrw egwyddor brig addysg,
Bwrw i'n gŵr bras y gweryd,
Bwrw blodau gwybodau'r byd,
Bwrw eog llyn, a brig llwyth,

. . . . . . .

Bwrw Howel ar elawr,
Bwrw Ysgwier Llwyd, braisg i'r llawr!
Bwrw ŷch bannog, braich bonedd,
Bu'n yr iau benna o'r wedd;
Odyd fyth er däed a fai,
Y caed dyn a'i cyd dynai;
Dan ban roed o ben iau,
Y difwynodd Duw finnau;
Fy nhreigl ar fyr ni risgaeth,
Fel lle'r wyl felly yr aeth.
Ni chaf am hael uwch fy mhen,
Ond diluw'n neutu Dolwen;
Nid â oerni o'r 'Deyrnion,
Ni thywyn haul fyth yn hon.
Ni chân dyn na chan dannau,
Nag â phen heb goffhau;
Nid yfwn mwy un dafn mêdd,
Ond dwr o'n myn'd i orwedd!
Ni chawn ei fath ucha'n fyw,
Nid hawdd yn y to heddyw;
O'r ddwy gamp yr oedd y gwr,
Yn gryn hael ac yn heliwr,
Ni ddygai ni ddoi ogan,
Na'i dir, na'i god, na da'r gwan.
Ni fynai na f'ai un oed,

O yr un wan obry erioed.
Ef a ranai wr fry'n iawn,
Ac ef a wnai farn gyfiawn;
Mal y gwnaeth anawl a'i gwnêl,
Gwnaed Duw ag enaid Howel!

---

## CYWYDD I DDUW.

Y gwr eglur ei groglith,
Union hap loyw i'n plith,
Crist enwog croes adwaeniad,
Ceidwad yw, cydwedd a'i Dad.
Mae ach ei fam uwch ei fedd,
Mair y'n rhoed, mawr anrhydedd;
Merch i Johassim yw Mair,
Am ran Duw, morwyn ddiwair;
Anna merch Sacharia Sant,
A ddug i ni ogoniant,
Mair yn byw oedd morwyn bur,
Gwraig Joseph gwregys assur.
A d'rogan oedd o dri-gair,
Y genid mab o gnawd Mair;
Iesu yw hwn y sy hael,
O Nazareth, Brenin Israel!
Pan oedd oesoedd ar wall,
Un Duw oedd yn ei deall,
Chwaith Efa oedd goeth hefyd,
Gallu ar bwngc golli'r byd.
Dygodd oddi ar y pren degwm
Afal, troes yn ofal trwm:
Draw y mhell i dario am hyn,
I lafur ac wylofyn.
Planta y bu Efa i'r byd,
Pur glan barch perygl enbyd;
Dyn abl oedd yn dwyn o blant,
Drugain hyn drwy ogoniant;
Abel hên o'r blaen hyny,
Oedd, a'i frawd fal iddo fry,
Goelcerth hael a gynnenwyd;
Cam degwm Cain oedd wagyd.
Enw diau bagadau gynt,
Uffern oedd ei ffwrn iddynt;
I roi'n isel yr hen oesoedd,
Eu ty a'u lle, tywyll oedd.
Rhan y belican a'i blant,
Ar y gwaed îr a godant;
Gorwedd a marw o gariad,
Gwelant oll galon eu tad.
Wrth biler ddydd Gwener gynt,
Iesu grasol a sicrasynt,
Barnu Duw am eu berw dig,
Barn garw gadarn, grogedig;
Gwrol oedd Crist a gwiriawn,
Go dlawd oll, a gwaedlyd iawn;
Iuddewon lladron yn llu,
Gwyr Sesar dan groes Iesu.
Dirgrynfa daear gronfawr,
Drwy gur a llid dragia'r llawr;
A dyn fry a drŷ i'r fron,
A duo'r haul a Duw ar hoelion!
A marw'r Iesu mor resyn,
Mor a thir mawr hiraeth hyn.
Cyfoded i'n, cof ydyw,
Firain Fab, o farw'n fyw.
Y modd y bu yn dioddef,
Dydd brawd fal y dywawd ef;
Ceidwad fo brenin cadarn,
Croes Duw a fedd, Crist a farn.
Cadwn orchymyn Ceidwad,
Cyn darfod hyn, cawn dre'n Tad.
Dy nawdd a gefais Duw Naf,
Dros byth dy ras obeithiaf.
Dy nawdd byth nid anwedd ball,
Duw mawr rhag pob dim arall!

---

## CYWYDD HEDDWCH, O WYNEDD.

Y ceirw mawr cair eu medd,
Sy o'r un sir o Wynedd;
Impyn yr hen, a'm pen rhaith,
A'm ffriw dal Wmffre dalaith:
Aer Howel bu'n rheoli byd,
Ab Siangcyn a'n pwys encyd;
Mor wŷch, gwaed marchog ydwyd,
A deg o Ieirll, a Dugiaid wyd.
Na choller hyn o'ch llaw 'rhawg,
O ddrwg gyngor, dderi cangawg;
O'ch ethrod a'ch ewythredd,
Mae iau'n wag ym môn y wedd.
Morgan enw ym mrigyn Einion,
Wiliam ffurf ei law am ffon.
Deugorff dros un corff Siangcyn,
Dau o ras aur, dewrwas yn
Cyfyrdyr ych caf wŷr draw,
Coed Ynyr yn cadeirnaw;
Tudur Fychan tarian tir,
Tarw derwas traed eurir:
Howel oedd a hil iddaw,
Fychan, draig Fechain draw;
Sion o'i wraidd sy'n wr addwyn,
Ac Wmffre aur, gem ei ffrwyn;
Morgan Sion mor gynwys ym,
O Benllyn, garw buanllym;
Gwŷr sy uwch ac aur sel,
A chyd iechyd ei gwaed uchel:
Mae o rhain am yr hen waed,
Oes wyth o wŷr sy o'th waed:
Dy ryw'n gryf fal derw'n y gwraidd,
A'r llwyn derw oll yn diwraidd;
A phle bu gyffelyb wŷdd,
Pe bai goel pawb i'w gilydd.
Wyrion Einion o Nannau,
O'ch gwae chwi hwnt eich gwanhau!
Ni's gall estron o honyn,
Chwychwi a'i gellwch eich hun;
Duw gwyn pa'm y digiai wŷr,
Wrth ddireidi'r athrodwyr?
Ni chair ym o'r ochr yma,
Yr ail dyn er eiriol da;

O bu lid rhwng blodau'r Rhos,
Edrychwch a'i da'r achos.
Tra chas gwaed, trwy achos gwan,
A ddûg ymladd i Gamlan;
Tair ofer-gad trwy fawr gas,
Trwy amwyll hen, trwm y llas.
Gwaed Collwyn, yn dwyn i'r dydd
Gweithred oer, gwaith rŷ derydd;
Mawr ydi twyll Medrod hen,
Modd y gwnai am ddwy gneuen;
Rhwng dau fugail bod ail dydd,
A rhyw adar yr hedydd,
Mae, oes heddyw am swyddau,
Megis hyn yn ymgasau:
Ni chredir yn wir i neb,
Ond i un a dau wyneb;
Sud ddrwg sydd heddyw ar wir,
A'r un da ni wrandewir:
Oedd raid i'n penaethiaid ni,
Y treigl oedd at Arglwyddi;
Er rhoi iddyn' aur heddyw,
Ni wnaech chwi ben yn eich byw.
Drwg a llid drwy golledwaith,
Dyddwyr gynt, a doddai'r gwaith;
Nid dim gan y tô yma,
Trwy lid oll, ond treulio da!
Nid er da i'r un daw'r draul,
Ond drygweithred rhyw gythraul:
Cymru yn waeth, caem oer noethi,
Lloegr yn well o'n llwgr ni.
Can bil oedd acew'n bwn,
Croes Iesu rhag rhyw sessiwn.
Câr yn cyhuddo arall,
Hawdd i'r llaw gyhuddo'r llall!
Noethed pawb nithied heb wir,
Feiau eu gilydd, fo goelir.
Gair a drig ar y drygwaith,
A liwiai'r gwaed lawer gwaith.
Cywilydd câr tros arall,
O bai wir llwyr yn beio'r llall:
Goreu yw dal y gair du,
A niweidiol, na'i wadu;
Attal saeth nid dilys hyn,
A êl unwaith o linyn;
Annedwydd iawn nad oedd wiw,
A'ch amled â chwi ymliw;
Ef a gaid dysg fagad hardd,
Gan ynfyd ac uniawn-fardd;
Mae llun y rhod i'm llaw'n rhol,
A drych wyneb drwy'i chanol;
Gwyliwch y droell, amgylch draw,
Gwir pedwar goreu peidiaw.
Heddwch bybyrwch y byd,
Cyfoeth a fag hefyd;
Cyfoeth balch, caiff waith y bêl,
A fo cryf a fâg ryfel;
Rhyfel a fâg ryw lafar,
Tlodi byth at lid a bar;
Tlodi trueni trwch,
A fo cawdd, a fâg heddwch.
Mae'r geiriau hyn ym mrig y rhod,
Be caid neb i'w cydnabod;
Codiad dyn nis ceidw tani,
A chwymp y sydd, o'i chwmpas hi.
O thry unwaith ar anap,
Duw na thro'i rhod eithr ar hap!
Doe roedd deu-dy urddedig,
Am ffrae neu ddwy Wmffra'n ddig;
Heddychu heddyw uchod,
A wna parhau'n nhop y rhod;
Coded ei chefn, ceidw Duw chwi,
I'ch gwaed gedwch gyd godi.
Coed a ddyly cyd ddeiliaw,
Cedwch y llwyn coed i'ch llaw.
Y gwŷr sy uwch nag aur sel,
Ag y dowch o'u gwaed uchel;
Er bod gwg arbed a gant,
Am ryw wg amrywiogant:
Ni bu fyw'r un na bai frau,
Rhag glaned eu calonau;
Elusen oedd ni las neb,
Ar lendid eiriol undeb;
Os oer fu ei sorri yn faith,
Gras a enyn gwres unwaith;
Gwaed rhywiog gwedi rhewi,
Da dod dy waed attad ti.
I ti rodded dwr heddyw,
O tan yr iâ teneu oer yw;
Tyn y rhew o'r tân y rhawg,
Tawdd dy lid hydd dyledawg;
Treiwch wenwyn trwy'ch iawn-waed,
Triagl yw gwynt arogl gwaed:
Cymer reswm trwm bod rhoch,
A dod reswm da drosoch;
Rhoch o'r gwyr rhowch ar geraint,
Ac wrth ras oll wyrthiau'r saint;
Yr Iesu gwyn ar wayw ysgwâr,
Gwedi'i loes a godai Lazar;
Y Drindod a dro undeb,
Er deigr Mair deg ar ei Mab.

---

## MARWNAD MERCH.

Gwae fi cedwais gof cadarn,
Nad heddyw f'ai oed dydd farn,
Dyn wyf a'i friw dan ei fron,
Ac a'i weli'n ei galon:
Am forwyn y mae faraith,
Am hon ni chaf fy mhen ychwaith;
Ni mynwn am y wenol,
Fis yn hwy, f'oes yn ei hol:
Ni bum ar ol bun, awr iach,
Na bo briddyn byw bruddach.
Olaf oed ei le ydyw,
A wnaf a merch yn fy myw;
I'm pruddhau y'm parodd hyn,
Heb rym y mab o'i rwymyn;
Mae olwyn f'oes fal yn fud,
Yn is ym oni symud;
Mae fy anhap am feinir

Fal nad tew f'ol yn y tir;
Fo ddamweiniodd ym aniawn,
Oni thry unwaith ar iawn.
Mae Gwen a fu yma gynt?
Mae'r adar, a'i meirw ydynt?
Os marw bun oes mwy o'r byd,
Mae'r haf wedi marw hefyd;
Dwy afon am hon o'm hais,
Dau alwyn doe a wylais:
Hawdd im wrth roi hawddamawr,
Gael gwlith o'm golwg i lawr:
Ammodau rhwymau oedd rh'om,
Eithr angau a aeth rhyngom;
Pan aethum i'r poen eithaf,
Heb wythen iach beth a wnaf?
Dyn wyf a'i friw dan ei fer ais,
Dan y ddwy glwyd yn dduglais;
Fal pren onn yw'r fron frau,
A chnwd o ucheneidiau.
Y mae anadl ym monwes,
A'i drwy'r pridd a'r deri a'r pres.
Ymrafaeliodd marfolaeth,
Mor syn pe ym mwrw a saeth;
Ymroi'm cwymp yn farw y'm caid,
Ymwahanu a'm henaid;
Mae eisiau merch ym mis Mai,
Mae'n ei harch a'm anerchai;
Eres ym oer ei symud,
Hi ddoe'n fyw a heddyw'n fud!
Rhwymo'r awr wedi rhoi mryd,
Nis cawn ni, nis cai o enyd;
Ni chaf a fynaf i fan,
Ni chaf fyth, nychaf weithian;
Och finnau o chaf einioes,
Na bai'n fyw i benu f'oes;
Mwy gofal sydd i'm calon,
Y cawn fyw 'rhawg gan farw hon;
A chan farw'r ferch yn forwyn,
Yn farw mi af er ei mwyn!
O Dduw na roi yn un o ddau,
Ai'n fyw'r fun, ai'n farw finnau!

---

## CYWYDD CANMOLIAETH I WRAIG WEDDW,

### AC ARGLWYDDES HAELIONUS, YN NGLODDAITH.

Mewn un llys mwy na holl iaith,
Mae deg gwledd Madog Gloddaith.
Margret ei ŵyr mae'r gair da,
Mal main, a mêl, a manna.
Magai dalm ag adeilad,
Mae maeth ail i'w mam a'i thad;
Gryffyth o'r mynydd manaur,
Ap Rhys, gwin Parys, ac aur;
Enill y gras yn holl gred,
Ym sy ynill am Sioned.
Ba iaith hen heb ei thaenu,
O bai wawd hon o bob tu;
Piau unrhyw y Penrhyn,
Llwydiarth da, lle diwarth dyn;
Parth y gwin porthi gwanwr,
Pob gwyl fal pe byw ei gwr;
Is lawr allt mae seler win,
Ag a'i ffrydiau'n gyffredin;
Ffynon ei nain, a phen nod,
Fam Ddewi fu am ddiod.
Uchel yw'r gaer, uwchlaw'r gwin,
Uwch yw ager ei chegin;
Gwaith rôst ag wyth eirias-tan,
Gwresog yw'r cog a'r siwgr can.
Gair y serch gyda'i gwr sy',
Ac yn weddus gynyddu.
Sioned hael fal Sant Elen,
Synwyr gwr sy'n y wraig wen;
Teg achau tegwch enyd,
Troi lliw'r gras mewn troellau gwrid;
Da wraig a'i dau oreugwyr,
Da feibion ac wyrion gwŷr;
Da rhanwyd i'w rhieni,
Merched hon, Mair i'w chadw hi.
Ni bu ryw mab ar a'i medd,
Ond o ben enaid bonedd.
Aed drwy gynnyrch drugeinoes,
Wyrion y ferch oreu'n f'oes!
Gwalches yw'n amgylchu'r sir,
A'i hesgyll hi a wisgir;
Gwelwch ddyfod gweilch ddwy-fil,
O adar hon y daw'r hil!
Nid gwiw nerth ond gwan wrthyn,
Yw oes y to nesa at hyn;
Imp yw'r wraig, yn mhob rhyw iaith,
Sy Arglwyddes ar Gloddaith.
Iarlles draw, a'r llestri aur,
Wybr y Creuddyn, brig rhuddaur.
Er rhoi bwyd a'i haur a'i budd,
O'i da amgen nid ymgudd:
Ni ad hon wedi hyny,
I fendith Duw fynd o'i thy,
Rhai caled rhag rhoi, ciliant,
Gwragedd a'r gwŷr i gudd gant.
Mae'r ty ar drum y tir draw,
Merch weddus heb 'morchuddiaw;
Ty'r wraig win-draul triugeindrws,
Ni cheidw'r aur, na chau'r drws:
Ty ni bu well tân a bwyd,
Teir-gwyl uwch tair golychwyd;
Teir-tref fawr tair tyrfa yn,
Tref Loddaith tario flwyddyn,
Tref Garnedd, Gwynedd a'i gwyr,
Tref Gastell tyrfa gwestwyr;
Tri llety, tri llu atyn,
Tlodion cwch teulu Duw'n un!
Af i'r wledd fawr o Loddaith,
Os byd drud ysbyty'r iaith;
Os cerddwyr aent wŷr at hon,
Os deuwch, neu westeion,
Os dyn Duw a estyn dwrn,
A charddod fraich ei harddwrn:
Clywed y gwan clod a gai,
Curied ateb cardotai;

Rhai o egin rhy wagyd,
Addaw heb roi oedd eu bryd;
Ar un lloer arian o'i llaw,
Rhywiog oedd, rhoi ac addaw!
A aned merch enaid Mon,
Uwch a haelach ei chalon?
Ni fedr gwraig yn fyw drwy gred,
Gynal wyneb gan lawned:
Mi a row'n am rai enyd,
Ar ei llaw ferch, yr holl fyd!
Y gair a fedd eigr o Fon,
Ni fedd gwragedd gorweigion;
Goreu rhoi'r gair ar ei hol,
Am loer ddyseml urddasol;
Goreu'r haeddai'r gair heddyw,
Gwreigaidd a theg wraig ddoeth yw;
Goreu gwnaeth gwraig wenithaidd,
Ei bara can a'i brag haidd;
Goreu bo gair ei bywyd,
Gwreig-dda ben gwragedd y byd.
Gwelwch iddi'r gloch heddyw,
Gem o wraig ar Gymry yw!

---

## CYWYDD MOLIANT I DAFYDD LLWYD AB ELISA,

### O'R PLAS YN IAL; A GWENHWYFAR EI WRAIG.

Yr un pren îr yn parhau,
Acw nghanol canghenau;
Dafydd uwch bronydd ach brig,
Ab Elisau bawl yssig;
Gruffydd wyr o'i gorff a'i ddawn,
Gwayw o Ynyr, ac Einiawn.
Crist a wnai cai ras Duw'n ol,
Croesi gwaed Cors y Gedol.
Cawn fyw'n d'ais Cynfyn dwysawg,
Cai flaen rhif cyflawn y rhawg.
Pymtheg o fonedd Bleddyn.
Ac un wyt ti yn gnot yn.
Be rhifwn Aberhafais,
Blodau Rhôs oedd blaid Rhys Sais!
Mae tref o'i rym at dy frig,
Am Rhydderch a Moreiddig;
Mwy gair no magu eryr,
O sawg o Ial yn mysg gwŷr.
Mae ar deirsir mawr d'arswyd,
Maint ar farch mewn tyrfa wyd:
Mawr dwf ais, môr di fesur,
Minio gwayw 'ddwyd maneg ddur;
Llaw dialwr lle'i delyd,
Llaw ddeau drom, yn lladd dryd:
Llaw ni chaiff na llw na chas,
Llwybr awchlyd y llew brych-las.
Oes gymal ar dal delyn,
Nas gwnai'n glais nai Owain Glyn?
Wyneb a rydd yn y brig,
Arf yn hawdd ar fonheddig;
Ais gwaew mellt, osawg main,
Ach deu-dir i'ch dwy adain:
Arial gwalch, ar awel gwynt,
Neu edn llwch yn dwyn lluchwynt.
O enau y sarph wynias hir,
O blanedau'r blaenau-dir;
Eryr y gloch ar wŷr Glyn,
Wyd a ddeffry dau ddyffryn.
Denu gwŷr 'Dyrnog arial,
Deutu'r Cefn-du cyfnod Iâl.
Pawb yn d'ol pa ben nid âi,
Nid aeth gwr ond a'th garai;
Ni bu'n llu Iâl neb yn llesg,
Nid â'i'n d'ol un dyn dilesg;
Aeth Glyn Dwr i'th galyn di,
Ar ol eryr wŷr Lowri.
Baedd Tudur bydded waed-wyllt,
Brawd Owain gwaew, bridain gwyllt.
Ble bu'r tad ba lwybr y tyn,
Blaidd Iâl heb ladd ei elyn,
Y llwyd gwych llidiog awchlas,
Lluddia di gael lladd dy gas:
Plâd i'th wŷr, plaid a tharian,
Perwch eich ofn perchwch wan!
Pwy mor hydr a'ch pen rhoder?
Pwy fal y pump afal per?
Chwech o'th nodded i'th wnaf,
O'r chwechant i'r rhych uchaf.
Ach o Lisau ni chlywsym,
Fagu o wraig wŷr fwy eu grym.
Dra y'ch cawn di eiriach cynal,
Dafydd Llwyd da fydd holl Ial.
Gwys oll a wnai Gaswallawn,
Gweithio gwledd gywoethog lawn;
Gwledd sy'i ferch Arglwyddes fain,
Galwodd lendid gwledd Lundain!
Gwenhwyfar Llwyd, gwinfro'i llys,
Gemau Groeg am ei gwregys;
Rhoi am wasg rhwym a wisgwyd,
Rhes enraid lloer Rhisiard Llwyd.
Croes Duw nef, Crist dan ei ward,
Dros hon aed ŵyr Sion Edward.
Eutyn bu i'w lwyth eto'n blaid,
Ac un Ester Gynastriaid;
Mal Elen siblen mewn sabl,
Ymraich Constans, merch Cwnstabl;
Ple 'dd awn at gwpl o ddynion,
Uwch eu hach na chwi a hon?
Paun a gaen draw, pob gwin drud,
Plas yn Iâl, powls un olud!
Ar ochr trum, iach yw'r tremyn,
Arogledd gwlad, Arglwydd y Glyn.
Tor fron yt ar fro anial,
Tref mal y nef ym mlaen Iâl!
Treth Affric tai wrth ddyffryn,
Tir i'w gael ydyw ty'r Glyn;
Trig yn Iâl, tarw gwinau-lwyd,
Tasel aur, Tysilio wyd,
Mae'r naw gwlad ym Mryn Eglwys,
Mawr a bach yma roi bwys,
Seithlu 'ddoedd, seithwledd iddyn,
Seithwyl y daw'r seithwlad yn.
Seithbwn o fensiwn a fydd,

Seithliw win, saith lawenydd;
Saint Nef a'th fabsant yn Ial,
Saith ugein-oes i'th gynal!

---

## CYWYDD MARWNAD WILIAM AB MORYS,

### O RIWEDOG.

Och druain cwynwch driael,
Ba well cwyn heb allu cael;
Mal môr ymylau Meirion,
Marw Siebseid[1] Morys ab Sion;
Marw tyaid mawr, tad a mam,
Mwy yw'r alaeth marw Wiliam!
Mae nghalon a'm bron yn brudd,
Marw f'enaid, mur Eifionydd;
Mair a wyl môr a wylwyd,
Mal y'm llas am Wiliam Llwyd!
Cwynwch waed Cenau a Choel,
A roed dan weryd Deinioel;
Oerach oedd im arch o ddâr,
Ar waed Owain roi daiar;
Nai gloyw-ddewr yn ei gladdu,
I'r galon fawr o'r Glyn fu.
Ocres ynom wres enyd,
Oeres bawb wres y byd;
Ba unnos y bu wanaf,
Bonedd y Glyn ban oedd glaf;
Edrych a wnaem drych ein iaith,
Heb wybod na bai obaith;
Oer oedd yn arwydd anhun,
A phrudd nad oedd ffordd ond un.
Heb iachau draw ebwch drom,
Wyr Elisau'r wylasom;
Yn Llanfawr rhoi gawr a gwaedd,
Yn llawr llyn llawer llawnwaedd;
Unrhyw ydyw'n Rhiwedawg,
Yn parhau'n anhap y rhawg.
Yn iach urddas ni chwarddwyd,
Wylo mae llu Wiliam Llwyd;
Odid o rhifid y rhai'n,
Wyneb draw na bai druain,
Pob dyn, pawb wedi einioes,
Draw yn hyn draian eu hoes.
Pob gwr pob gwaew a oeres,
A'i dop i'w law, Duw pa les?
Trueni Troia i Wynedd,
Tynu'n gwallt diwynaw'n gwedd!
Llyn yn rhoi Benllyn yn rhwyd,
Llas y Bala lle 'sbeiliwyd;
Eifionydd a fu wynias,
Nefyn a Llyn, efe'n llâs;
Mae i Wiliam am' ei aelwyd,
Ocs elw yn llys Ellen Llwyd;
Eled f'eryr wlad Feirion,
I'w blant ef ar blaened hon:
Ei lys a wnaeth les i'n iau,
I gadw'i lys gad Elisau;
Pendefig îr pan dyfo,

[1] Cheapside.

Pena fydd pa hyna fo:
Impin rhodd am y pen rhaith,
I Eifionydd fyw unwaith,
. . . . . . . .
I'w ryw euro'r Orwyrion.
Eled yr holl wlad i'r hil,
Wyrion Dafydd ran dwyfil:
Blaenor y Bala unoed,
A blode'r un blaid erioed;
Archwn i Fair uwch nef wen,
Gwedi Wiliam gadw Elen!
Gro'r llan aeth ag eryr Llwyd,
Garediglaw gwridoglwyd;
Nid a'i na chawr na dyn chwyrn,
Heb haint Duw, a'n pen teyrn.
Mae'n bower oll ni myn bris,
I'r un Duw ranu a dewis;
Pen Llanfawr oll, Penllyn fry,
Prudd i Ial, priddo' ei wely.
Un dyn ni chaid ond un chwedl,
Na bai'n cwyno ei ben cenedl;
Beth a dal byth wedi 'i awr,
Bobl unig heb eu blaenawr?
Nis bwriai feilch os bâr fu,
Nid ar faes ond arf Iesu.
Dyfod Crist cadernid cryf
Dwyn rhywiogrwydd Duw'n rhy-gryf
Dyn braisg oedd yn dwyn y brig,
Duw glan yn dy galenig.
Och Ddeiniol na chaed unwaith,
O farw i fyw Ifor faith.
Ban na'th gawn benaeth Gwynedd,
Beuno fo uwch ben ei fedd.
Ban na wnai ef Beuno'n iach,
Be bai allu byw bellach;
Hoyw dy lun, ei hud a'i led,
Be cawn lun byw cyn laned.
Odid mwy o dad a mam,
Obaith weled bath Wiliam;
Mab a chorff mwy bwy ni chaid,
Mor lan Mair êl a'i enaid.

---

## CYWYDD MOLIANT SION PILSTWN HEN.

Pwy a dyr gwayw mal Powdr gwyllt,
Peli waywdrwm paladrwyllt?
Ple fwyf gwacdnod palf gydnerth,
Pilstwn ail Peleas dy nerth?
Melwas a'i wisg mal y ser,
Mores am wayw Syr Rosier;
Tri lle maent ar y llew mawr,
A felynant yn flaenawr;
Gwregys am wal Gwregsam wen,
Gwr a sawdl a gair sawden;
Symud y glain sy am dy gledd,
Siambrlen gwayw onen Gwynedd!
Serfyll fu ddinas Arfon,
Sâf yn eu mysg, yn safn Môn.
Ni saif aliwns i filiaw,
A chenedl uwch yn dy law;

Caterwen y Siambrlen Sion,
Cynghora'r cangau hirion;
Cadw'r man eaid aur a medd,
Heb ronyn bai ar Wynedd,
Diau ti dy waed dy hun,
Dod *trust* a dywed trostyn.
Lleddwch geirw lle 'ddych geraint,
A brasia win Aber Saint.
Cowrt tref cair iti rhawg,
Croeso holl wŷr Caer fallawg;
Cria'r wledd drwy Wynedd draw,
Clywch ganu elych i giniaw;
Saith olau sy o'th aelwyd,
Seigiau yn llys y gwin llwyd;
Chwaer Owain yw'ch hen nain chwi,
A chronigl o'ch rieni.
Ach Rhydderch iwch a roddent,
Nith yr Iarll neithiwyr o Went.
Rhoi'n un ar fun awr faneg,
Rhyw Glyndwr, a Rhaglan deg.
Iarlles y wal a'r llys wen,
O rinweddau'r winwydden.
Y ferch sydd ar dy fraich Sion,
Ei bu'n deth'ol bendithion,
Bu ryw'ch moli braich Maelawr,
Bo'ch enw mysg bychan a mawr.
Sir ni chaid draw ni'ch edwyn,
Tref heb d'air tra fo byw dyn;
E gai'r llu o Gaerlleon,
Yn Mynyw sir, er mwyn Sion,
Goreu cerdd y cawn erddi,
Cerdd Sion ffordd y cerddais i;
Mae rhai yn cael eu mawrhau,
Draw ag yma drwy gammau,
Ni wneweh ehwi'n un a chywir,
A neb gan wyneb y gwir.
Dyro gannwr dewr gannos,
Dyn rhwydd mal blodeuyn rhôs;
Trwy'r Yri twr yr Eryr,
Trwy lu Prins Trolop a'i wyr!
Trwy'ch ofn y'ch tra ehefnir,
Triagl yn wyt o'r glyn îr.
Eli, mel, Iâl, a Maelawr,
Yn iachau Môn o'i cham mawr.
A phan roed ffin o rydyd,
Ag un yn barch gwyn ein byd;
Yr edau hir ydyw hon,
Nis dirwynai estronion.
Naws o dân i assio dur,
Oedd un yt o ddau natur;
Sant ar ei fainc Sion tra fy'ch,
Rhyw flaidd mewn rhyfel oeddych;
Mwy bw y caf y mab coch,
Gan Loegr, nag Owain law-goch.
Ewch i'r maes gyda eheirw Môn,
Aros drin ar estronion!
O bydd rhwydd y baedd rhuddaur,
Myn y glin a'r mwnwgl aur;
Tair byddin Ferddin a fu,
Treiech un o'r tri ehanu;
Tri maes i'r tarw i ymwan,
Ag yn y tri gwnait dy ran;
Tair sel yn eich honsel chwi,
Tair sir yt a roes Harri!
Terfynau yt Arfon un,
Maelor hithau, mal Ruthin;
Teiroes yt yn y tair swydd,
Ty trigwres tad rhywiogrwydd!

---

## CYWYDD I'R SIAMBRLEN HEN,

### I OFYN ARFAU I WM. EUTYN.

Y dref ar dor yr afon,
A'r dwr hallt ar odre hon;
Caernarfon ergydion *guns.*,
Caer Wiliam ni's eur aliwns.
Siambrlen mab yn bren a brig,
Sir Gaer, syr Gei o Warwig.
Ni bu neb wyneb o'n iaith,
Erioed Wiliam o'r dalaith;
Tir a wnaeth roi tarian rudd,
Triphen yngherlan Ruffydd;
Rhoi llwyth aur'n y llythyr yn,
Lle'r growndwal Lloegr ar undyn.
Llyma'r W braff lle mae'r brig,
Llythyren Iarllaeth Warwig;
Hen dir i hon adewyd,
Hendre'r beirdd, a'i henw drwy'r byd.
Penrhan ei hun yw hi,
*Powls* warth a'r plasau wrthi.
Llys y tair ynys hyd draw,
Llu'r eân oll ar eu ciniaw;
Yr un rhol a rhown i'r rhain,
Ac y rhifwyd gwyr Rhufain;
Trwy lyfr y torrai lifrai,
I lwydo gwŷr wyl Dygai;
Ni ddaw o Fanaw neu Fôn,
Iarll o llidiai'r llu llwydion;
Gwr llwyd fal ydd wyd a ddaw,
Gwr llwyd ag eryr Llydaw;
Gwryd yr Ieirll o'r Gaer dro,
Gyr *dottwm* drwy Gard etto.
Galw'r Ieirlldan y goler wen,
Gwna i fagad gynfigen:
Môr wyd a'i yma'r ydynt,
Aberoedd oll, heb wraidd ynt.
Nid oes dim ond y sy dau,
Nid oes wedd ar dy swyddau;
Ni threiwyd uwch na'th râdd di,
Odid oedd y doid iddi!
Gwen yw'r dorch fal gwyn ar don,
O'i rhoi mlaen rhai melynion;
Ti a euraist ein tiroedd,
Er nad aur arnad a oedd;
Wiliam wyt wrth alw am wŷr
Yt yn wir Eutyn eryr;
Gwisgo pob Cymro' y'i caid,
Gwisg Eutyn rhag Ysgotiaid,
Moes dy nerth, moes dawn Arthur;
A than d'own peithynau dur;

Arfau gwynion fry gennyd,
Plat i'w gau'n gwmplid i gyd;
Dur hyd y fawd o'r iad fau,
Ar hyd tyn fal rhew tonau;
Cymharwyd accw *'Mharis*,
Coflaid o iâ'n cau fal dis.
Gwedr yn toi fal godrau tonn
Gwaith cimmwch gwythi ceimion
Boudiau morthwyliau a thân,
Band o'r gwydr, bendigeidran;
Menig bystlig bob ystlys,
Amgarn i bob migwrn bys;
Breichiau dur, tenau drwy'r tân,
Bargod ar bibau organ;
Gard a dau *fwmbard* a fydd,
Ym i'w dwyn i'm adenydd;
Polwrn braich pilerau'n braff,
Ag *arbras* ym gwiw irbraff.
Ty am wr fal toi â main,
Tunnell wedr tonnau llydain;
Taranau swrn yn troi'n sêr
Tebyg i blant y wiber.
Trwy *mrest* o bydd trwm yr onn,
Mae gwanas mae gwayw union
Twred yw'r gorsied i'm gên;
Trwm welw o'r twr ymwlen;
Toryn er toi'r trwyn a'r tal,
Teils a het las i'w hattal;
Ty'r pen a chau'r hap yna,
Mal un iaith a melin ia;
Dur a syrth fal drws i hon,
Descil wydr ar do 'sclodion;
Dur William fal gwedr Elien,
Dy wr a'i gwisg, fal draig wen!

---

## MARWNAD ELIN BWLCLEI,

### GWRAIG HWLKYN LLWYD O'R GLYN LLIFON.

Och am win iach a mwnai,
Och gau ar fedd uwch gwr fai:
Och yr wyl uwch yr aelwyd,
Wasgar llys Escwier Llwyd!
Llew a thri gwin, llwyth aur gert,
Llif o'r wybr yw llef Robert;
Aer iw' heddyw'r anhuddwyd.
Haul accw'n llys Hwlcyn Llwyd,
Elin o bu lawn ei bedd.
Mae'n wag iawn, Mon a Gwynedd!
Ond oedd awr annedwydd ym
Roi ar elor ŵyr Wilym!
Ystanle, Bwlcle, bob un,
Y cynyddodd cwyn iddyn.
Aml iawn waedd am Elin wen,
Aml eisiau am elusen.
Yr wyth win a roi i'w thy,
Enaid Elin a'i dyly.
Ni wyl gwr anwyl garwy,
Ferch o'i math ar ei fraich mwy.
Nid aeth magwriaeth gwerin,
Tra fu'r gwr gartref o'r gwin;
Duw a fâg pendefigion,
O'i blant ef o'r Blaned hon;
Llyma'r blaid lle mae'r blodau,
A'r holl dawn o'u rhyw eill dau?
Bro wenrhyw aeth fal bron'r hin,
Bryn siwgr i Brins a'i egin.
Eryr gweddw o'r wraig addwyn,
A thrwm yw fyth mae'i threm fwyn;
Newydd i'w fron ydd a'i fraw,
Cyn newydded cwyn iddaw.
Cwyn hen im cyn hyn yma,
A fu am ddwyn ei fam dda;
Y ddwy wragedd a'i rhagddynt,
Y wraig hen oedd rywiog gynt;
Ni dderfydd neuadd Arfon,
Ond eisiau'r ferch o sir Fôn!
Eisiau maeth Ossai a Mêl,
Ni wys iechyd nos uchel;
A weles gynt liaws gwin,
Ni wel wyl yn ol Elin.
*Lliwon y glyn* llawn i glêr,
Lle'n troi amdo llawn trymder;
Llys y gwin llais y gweiniaid,
Llais cerdd yn y llys ei caid.
Oes amgen llais am gan llaw,
Na chlul neu uchel wylaw?
Llef drist fal llef Droia yw,
Llef dialedd a llif diluw;
Llys y Glyn, llysiau a gwledd,
Llas hon colles ei hannedd.
Trais a roisid tros reswm,
Ag ar ol trais galar trwm:
Wedi offrwm y dyffryn,
Yr oedd fwg i'r Wyddfa yn;
Ar ol y ferch ar wyl Fair,
O gloi'r bedd a glyw'r byddair?
Nid oedd o bridd hyd awyr,
Heb osod coed o byst cwyr;
Arfau ar fedd arfer fawr,
Yn gwau *huling* ei helawr;
Tair Basned o felfed fydd,
Tri o bennau teirw beunydd;
Tarian y ferch teyrn a fu,
Trwsiason at ras Iesu;
Llen a dar yn Llandwrog,
Yn llawr grwn allor y grog.
O rhown i Fair rhan a fo,
Mae rhodd benna 'mhridd Beuno!
Maner a wisg meinir wen,
Mae'r och oer am wraig hirwen;
Afrwydd ydoedd freuddwydion,
A welai hud yn ol hon.
Tori haner trymder trwch,
Ty Robert oer ei ebwch;
Y carw a'r ôg gwr o radd,
Ag yn ewig i'w neuadd;
Llif Noe wedi'r llif a wnaeth,
Am byw Orffia yn berffaith;
Llif Ebron llai fu wybrwynt,
Amser gwyl am Sara gynt;

Fal *Cruwsaf* o Droiaf draw,
Dylai'i chenedl ei chwynaw;
Dwyn seren dinas araul,
Duw Mares hud am wres haul;
Diluw mawr yw'r dial mau,
Drws y Glyn dros y glanau;
Duw'n ein byw dwyn ein bywyd,
Dydd barn ar wragedd da byd.
Dewis oedd iawn, Duw sy ddoeth,
Dug wraig dda, deg rywiog-ddoeth;
Rhinweddau rhiain addwyn,
Rhad Duw oedd ei rhoi a'i dwyn;
Am Elin aml yw wylo,
Fannawg yr âi i fain a gro!
Y wraig wen orau gannoes,
Oddieithr gwraig a ddaeth a'r groes;
Elin ferch Goel wen-fraich gynt,
Elin Euda, lan ydynt.
Elin oedd ddoe luniaidd wen,
Fôr trwlwf a'r tair Elen!
Elin ni wn alw o'n iaith,
Ei bath Elin byth eilwaith.

---

## OWAIN GWYNEDD.

### CHWEDL HANESYDDOL.

### PENNOD I.—Y TRI BRAWD.

"Mae Cadwgawn yn ymddangos imi, fel pe bai yn hanu o wehelyth uwch o lawer nag y mae mewn gwirionedd. Yr oedd ei dad, Bleddyn ab Cynfyn, mewn llawer uwch awdurdod nag ef; ac yn ben cenedl brenin-llwyth Powys, fel y mae fy nhad yn ben cenedl brenin-llwyth Gwynedd; ond nid oedd ei safle na'i awdurdod yntau, ond lled gyfyng. Ni fuaswn byth yn ymchwyddo, nac yn boesachu llawer, pe buaswn yn cael yr anrhydedd o wisgo a cherdded yn ei esgidiau. Yr wyf yn ystyried Iorwerth ei frawd, yn llawer galluocach dyn na Chadwgawn: ond etto, y Cadwgawn hwn sydd yn penderfynu gwneyd gwledd anrhydeddus yn ei gastell *ei hun* yn Aberteifi; ac wedi anfon allan wahoddiad i holl bendefigion a boneddigion, o bob ardal yn Nghymru; a dyma y cyfan wedi ufuddhau i'w alwad. Gallai un dybio ei fod yn ben ar yr holl fyd, a phawb i fod yn ystol droed iddo."

"Weli di Owain, paid â siarad yn uchel," ebai Cadwallawn, ei frawd, "y mae Owain ei fab, yn eistedd yn agos iawn i ni; ac fe fydd yn sicr o glywed. Heblaw hyny, nid wyt yn siarad mor deg ag y buasai un yn dysgwyl i ti wneyd. Mae Cadwgawn a'n tad wedi bod yn fraich gref i'w gilydd, ac wedi bod yn Iwerddon gyda'u gilydd erys ychydig flynyddoedd yn ol.

"Nid oes ond rhyw ddeng mlynedd er pan fu ef a'm tad yn diffeithio rhanau o siroedd Lloegr; ac oni ddarfu iddo ddangos cymmaint o allu a'm tad, yn y rhuthr-gyrch a wnaethant ar y pryd, ar Henffordd, Amwythig, a Chaer Wrangon. Son am *ben* yn wir, onid bod *yn ben* yw sŵn, ac adlef ysbryd pob dyn. Nid oes neb yn dymuno bod yn ddim *ond* pen. Dyma dri o honom ni, yn feibion i'r un tad; ac wedi ein geni o'r un fam; ac etto y mae pob un o honom yn rhyw dybio mai efe ydyw y *galluocaf*, a'r *cymhwysaf* i fod yn *ben*. Bod yn ben yw dymuniad ac awydd y dystadlaf yn ogystal â'r uchaf; ac os na fydd iddo *gael*, y mae yn credu bod hyny i'w gyfrif, am fod y byd i gyd o chwith."

"Yr wyt yn lled gywir yn dy syniadau Cadwallawn," ebai Cadwaladr. "Mae yr awydd afiach yma i farchogaeth, ac i fod yn ben ar bobl, i'w weled yn Nghymru yn amlwg. Nid yw ond clwt bychan o le, rhy fach dair gwaith i gadw un tywysog urddasol; ac etto, y mae yma bump, a llawer cant arall yn ymgynhyrfu ac yn ymchwilio am dywysogaeth arall; ac yn ymdrechu trwy bob dichell i ddisodli, ac anfon pob un o'r tywysogion ar ffo: gan eu bod yn cydwybodol gredu mai hwynt-hwy a ddylent fod yn dywysogion:—nad yw y tywysogion sydd genym yn gymhwys i ddim ond i gymmynu coed, i wehynu dwfr; ac fel Samson, i falu mewn melin! Mae yma eisieu gweision, ond nid oes neb am fod yn was. Meistr, a dim llai yw pawb am fod. Nid oes neb am fyned allan o'i fodd, fel rhyfelwr i saethu â bwa saeth, yn nydd y frwydr; ond am fod yn gadben, ac arweiniwr, y mae pob un."

"Yr wyt yn cyfeiliorni yn ffiaidd fy mrawd ieuengaf. Ni ddarfu i'r Cadwgawn hwn wneyd dim cynnorthwy i'm tad. Yn un lle. Mae y Cadwgawn ddienwaedig hwn, ag sydd yn arddangos cymmaint o fost ac o hunanoldeb, yn dwyn i fri hen Ddefawd Gwleddau y Brenin Arthur; ac nid hyny yn unig; ond dyma efe yn ymhyllu yn mlaen, fel gwr yn llawn gwybodaeth a doethineb, ac yn ffurfio defodau a breiniau newyddion. Mae yn teilyngu clod am ddarparu cynnifer o roddion anrhydeddus; a bydd pob un, y mae yn lled debyg, yn dychwelyd yn feichiog a roddion, ac yn freiniedig o anrhydedd. Ond yr wyf yn credu y gallasai wneyd mil-myrdd, a llawer gwell defnydd o'i roddion nag y mae yn wneyd heno. Mae yma lawer o bobl dlodion yn newynu oddeutu ei balas. Bu yr hen lechgi dienaid yn fwy o rwystr i fy nhad, nag o gynnorthwy, pan roddodd pendefigion

Môn eu hunain yn nawdd Iarll Caerlleon, ac Arglwydd Aberlleiniawc. Pe hebddo ef, nid wyf yn credu y buasai angen i fy nhâd ffoi i'r Iwerddon. Ar draul fy nhad y bu yn cynnal ei gorff a'i enaid am ryw ddwy flynedd yn Iwerddon. Nid oedd ynddo ddim yni ac anturiaeth i ddychwelyd yn ol gyda'm tad. Ni fuasai fyth yn dychwelyd oni bai fy nhad. Buasai fy nhaid, Owain ab Edwin, yn rhith tywysawg etto ar Fon, gan y Ffrancod a'r Saeson, oni bai fy nhad. Ond hyn sydd yn rhyfedd, er mor ddiyni a diymadferth fu, ac ydyw y Cadwgawn hwn, y mae mor awyddus â neb i ymrwyfo yn mlaen, ac urddo ei hunan yn ben. Mae fel geleu penagored, yn sugno llawer o waed cymdeithas; ond nid yw yn amcanu gwneyd dim i gynnyrchu gwaed; yn bwyta llawer o ffrwyth y ddaiar; ond nid yw etto wedi gweled yn dda lafurio dim tuag at gynnyrchu y cyfryw ffrwyth. Pan fydd farw, er ei holl fost a'i dwrw heno, bydd yn ennill mawr i bob rhan o gymdeithas; ac ni fydd i neb farwnadu ar ei ol: etto wedi y cyfan, dyma y gwr a ruthra yn mlaen; ac a ymhona yn haerllug yn ei ymddygiad, mai efe a ddylai fod yn ben ar fach a mawr."

"Yr wyt tithau mor awyddus â neb, ac yn dyheu cymmaint ag un gwr am yr anrhydedd i fod yn ben," ebai Cadwallawn. "Yr wyt bob amser yn hynod awyddus am ddangos i bobl dy fod yn ben. Pwy a'th welodd erioed yn dymuno amlygu i bobl pan yn myned allan fel rhyfelwr, nad wyt ti ddim amgen nâ saethwr gyda bwa, a milwr cyffredin o blith y werin bobl, yn rheoli y bidog yn maes y frwydr, yn lle rheoli pobl? Pe bai milwr cyffredin yn meiddio dy ddifrio trwy dy gyfarch fel un cydradd ag ef ei hun, buan y byddai i ti ei wobrwyo gyda thrywaniad trwy ei galon â'r bidog. Oni ddarfu i ti wneyd felly yn ddiweddar? Yr oeddit yn son am ein taid, Owain ab Edwin. Dyna wr a ymffrostiai bob amser nad oedd arno ef angen nac awydd bod yn ben. Byddai bob amser yn siarad yn ddiystyrllyd am y bobl a weithient eu hunain i'r wyneb; ac yn achwyn yn lled erwin ar y cyfryw; etto mor fuan ag y daeth llanw ffawd heibio iddo, ac y cafodd gyfle i gael ei goroni yn ben; aeth yn *ben*, heb betruso yn y mesur lleiaf, nac ystyried am fynyd, pa un a oedd yn gymhwys i gyfryw swydd ai nad oedd. Aeth yn dywysawg, er nad oedd ond rhith tywysawg er boddhau y Cymry; tra nad oedd mewn gwirionedd ddim amgen nag offeryn yn llaw y Ffrancod, a'r Saeson. Am fod yn ben ac yn fawr y mae pawb; a rhagrithiwr gwyneb agored ydyw pob dyn a ddywedo nad yw yn dymuno, ac yn awyddus am fod yn ben. Ond gallaswn dybio ei fod yn meddu digon o ras attaliol i beidio ymreibio, ac ymruthro i fod yn *rhith* ben dan estroniaid. Pe buasai y bendro arno, ni fuasai raid iddo fyth wneyd tro ffolach, a mwy afrosgo. Pe buasai dim yn ei ben, gallasai wybod y buasai ymddygiad gwrthun o'r fath, yn ei wneyd yn adgas a ffiaidd yn ngolwg pawb o'r Cymry. Er ei holl ymffrost, dangosodd y gallai aberthu egwyddorion proffesedig ei fywyd, ei berthynasau, a phob peth, er cyraeddyd y safle o *ben bach* ffugiol. Waeth tewi na siarad, am fynnu bod yn ben y mae pawb."

"Wel hai fechgynos! Gadewch i ni sylwi ar yr eisteddfod hon. Dyma yr eisteddfod olaf, y mae yn debyg, a fydd i Cadwgawn gynnal. Mae yn bryd i ninau oll sylwi tipyn o'r ddeutu. Er fod eisteddfod yn cael ei chynnal yn gysson bob tair blynedd gan fy nhad yn Aberffraw. Nid oedd yma drefn ar ddim yn mhlith y beirdd Cymreig, hyd nes y darfu i'm tad wahodd gwyr medrus yn y gwyddorau hyn o'r Iwerddon, i ddysgu y beirdd. Cyn hyn yr oedd llawer o gamwri a therfysg yn cymmeryd lle yn mhlith y beirdd yn barhaus. Nid yw yr eisteddfod hon, ond ail argraffiad o eisteddfod ein tâd. Ni welais erioed y fath beth! Y mae holl hen glerwyr,—bon-y-gler, a thin-y-gler y byd, wedi hel yma. Dacw y beirdd Owain Cyfeiliawg, Gwalchmai, Meilyr a Chynddelw, yn meddiannu y prif eisteddleoedd perthynol i'w hurdd; ac o'u deutu, mae cannoedd o hen grach-feirdd, fel adar ysglyfaethus. Dyma offeiriadon Pabaidd yma hefyd, fel brain Harlech—wedi dyfod yma ond odid i weddio ar Dduw, i roddi hir oes i Cadwgawn a'i deulu. Ond nid oes neb o deulu Bleddyn ab Cynfyn wedi llwyddo i fyw yn hir etto;" ac yma attaliwyd Cadwaladr yn ddisyfyd, gan ei frawd Cadwallawn.

"Be yn y byd sydd yn corddi ymenydd Owain ab Cadwgawn? Y mae fel pe bai wedi pendroni yn llwyr; ac wedi syrthio i gariad â Nest ferch Rhys ab Tewdwr; yr hon sydd yn wraig i Gerallt, Rhaglofydd Castell Penfro. Rhyfedd na fuasai yn treio ymserchu gyda rhai o'r rhyw deg ag sydd yma heb eu dyweddio, o'r hyn lleiaf ag sydd heb briodi. Y mae yn sicr o fod yn lled boeth arno, os bydd iddo amcanu at ei chymmeryd fel priod ei fynwes. Ond y mae yn anhawdd iawn peidio ei hoffi. Y mae mor deg o bryd a gwedd, a boneddigaidd ei moes. Mae yma gannoedd o hen gerddorion tafawd a thannau. Y maent yn cynnyddu o hyd; ac yn sicr o ddyfod yn farn ar y wlad yn lled fuan. Mae yr achles a'r nodded ag y mae cyfoethogion wedi roddi iddynt, pan oeddent yn brin ac anaml, wedi peri iddynt gynnyddu ar y ganfed. Y maent yn heidio y wlad yn mhob congl; ac yn galw yn mhalasau y boneddigion wrth y miloedd. Y maent eisoes yn faich ar y wlad. Y mae yn

bryd dechreu eu cosbi, ac ni fyddai yn ormod o gosb pe crogid rhai o honynt. Pe cawn i fy ffordd, fe dynwn lygaid, ac fe ddyspaddwn bob un sydd yma heno. Nid oes dim achos llochi a rhoddi mocthau i bethau nad oes dim o'u heisiau yn y wlad. Eisieu mwy o filwyr, a l'ai o feirdd; mwy o ryfelwyr, a llai o delynorion, sydd arnom ni. Gwyn fyd na fai dichon troi pob telyn sydd yma heno, yn fidog, neu gleddyf."

Hwda Cadwaladr! nid wyt ti ddim i gael siarad y cwbl! Weli di, y mae Owain yn debyg fel pe bai yn teimlo awydd bachu yr eneth Wyddelig acw. Geneth hardd landeg ydyw hi hefyd. Waeth iddo Wyddeles o ran hyny; ond hen deulu rhyfelgar ydyw teulu yr Ynys; ac y mae yn fwy na thebyg y bydd iddi ddeffro ysbryd crenlondeb yn ein brawd Owain, a'i lenwi ag anwastadrwydd a gwamalrwydd."

"Mae yn ddigon creulawn a rhyfelgar yn barod, a gwae ni os bydd iddo fod yn fwy creulawn a rhyfelgar ei ffyrdd nag ydyw yn awr. Ond y mae y bobl Wyddelig wedi bod yn lloches dda, ac yn garedig tuag at fy nhad. Nid ydynt na gwell na gwaeth na phobl ereill, o ran hyny. Mae pobl wedi dechreu bod yn fwy bawaidd a chreulawn tuag at y Gwyddel, na thuag at unigolion perthynol i genedl arall; ac y mae y Gwyddel yn dewis ymddwyn tuag at ereill, yn yr un wedd ag y mae ereill yn ymddwyn tuag ato yntau. Nid yw y Gwyddel yn ei gastiau, a phob peth, ond yr hyn y mae pobl ereill wedi ei wneyd. Nid oes un ddeddf o dan, nac oddi ar y nefoedd, a all beri i'r Gwyddel beidio â bod yn Wyddel, tra byddo pobl yn ymddwyn tuag ato, yn y wedd y maent yn awr. Y mae Gwenlliain etto yn ymddangos fel pe bai yn teimlo rhyw ysfa i werthu ei hun i Gruffydd ab Rhys. Ni welais i erioed y fath beth; y mae yr ysbryd cyfeillachu yma, fel pe bai yn heintiol heno. Y mae agos bob llanc a merch ieuanc yn ymgyplysu â'u gilydd yn nghwlwm serch."

Yn fuan daeth Owain yn mlaen, a hysbysodd ei bod yn agoshau at ddiwedd y wledd eisteddfodol. Ac yna sylwai, "Yr wyf yn credu y bydd i Owain, y mab yma, ddwyn ei hunan i benbleth ac astrusi mewn cyssylltiad â Nest. Nid ymddengys i mi fod Nest yn hidio dim pluen ynddo; ond y mae efe fel pe bai yn penderfynu ei meddiannu fel yr eiddo ei hun. Rhyw ddyn yn caru pob dynes ydyw Owain. Y mae yn *free lover* perffaith; ac y mae yn penderfynu y mŷn garu a lladrata gwraig dyn arall, os bydd wrth fodd ei galon."

PENNOD II.—HELYNTION BLIN OWAIN AB CADWGAWN.

Yn y bennod o'r blaen, pan oedd Eisteddfod fawr Cadwgawn ab Bleddyn ar derfynu, gadawsom Owain ei fab, mewn dwfn gariad â gwraig gwr arall. Yn fuan ar ol hyn, cyn i Gruffydd ab Cynan a'r teulu ddychwelyd adref i Aberffraw, daeth rhywun a'r newydd, fod Owain ab Cadwgawn wedi gweithio ei ffordd i mewn i gastell Penfro, a lladrata Nest, o drais ac anfodd gydag ef i Bowys; a'i chymmeryd fel ei wraig. Darfu i'r brenin Harri, a thad Gerallt ei gwr, anfon gair ato i ddymuno arno ddychwelyd ei wraig yn ol iddo; ond ni theimlai ddim awydd i ganiatau y dymuniad hwnw. Yn fuan daeth bygythion enbydus ato i Bowys, oddiwrth Harri. Anfonwyd y bygythion mewn nodyn bychan, wedi ei wisgo mewn iaith chwerw, gyda negesydd;—yr hwn oedd wedi ei eirio fel y canlyn:

"Dyma fi yn dy hysbysu di Owain, y byddi di a'th holl bleidwyr llychweiniog, a chrachog, wedi eich llosgi yn lludw, a'ch coffadwriaeth wedi peidio y tua yma i'r afon, oni fydd iti ddychwelyd ei wraig, Nest ferch Rhys ab Tewdwr, i Gerallt yn ol yn ddioed.

HARRI BWMWNT."

Pan ddaeth y negesydd i mewn, yr oedd Owain a Nest yn mwynhau eu boreufwyd. Ond nid oedd Nest yn gallu mwynhau dim byd gydag Owain, am nad oedd yn meddu serch o un math tuag at y dyn. Yr oedd mewn dagrau yn barhaus. Etto yr oedd arni ormod o ofn Owain, i'w hysbysu pa beth oedd yn peri iddi dywallt dagrau.

Edrychai a llygadrythai Nest ar y Negesydd pan ddaeth i mewn; a methai yn deg â gwneyd allan pwy a pha beth oedd y bachgen bochgoch a llyfndew, yr hwn a adwaenai yn dda, can belled ag yr oedd fyno hyny a'i wynebpryd, ac ystum ei gorff. Teimlai awydd cael allan negesydd i ba wr mawr oedd efe, a pha beth oedd y dernyn papyr a estynai i Owain;—y gwr a gasäai mor fawr; a gobeithiai yn fawr ei fod yn rhyw orchymyn awdurdodol i orfodi Owain i'w rhoddi i fyny, fel y gallai ddychwelyd yn ol at ei hanwyl blant, a'i hanwyl Gerallt, Rhaglofydd Castell Penfro. Ar hyn, darllenodd Owain y nodyn, a sylwai.

"Mae yr awdurdodawl nodyn hwn Nest, yn dyfod oddiwrth dy hen gariad, Harri Bwmwnt, yr hwn a fu yn Nghymru yn hau ei hadau gwylltion wrth y miloedd, yn mhlith merched ieuainc ein gwyr mawr, amser yn ol."

"A ydi o yn son rhywbeth am dana i?" ebai Nest gyda dau lygad, yn pelydru o serch wrth feddwl am ei hen gariad, Harri."

"Ydi. Y mae yn bygwth y bydd iddo fy llosgi i a'r holl deulu, oni fydd i mi adael i ti fyned yn ol at Gerallt."

Dechreuai Nest ocheneidio, ac anadlu yn y

fath fodd a barai i un ddeall yn amlwg ei bod yn awyddus am gael myned at Harri, *neu* Gerallt, oddiwrth Owain, cwmni yr hwn a gasäai yn yr ystafell-wely, yn llawn mwy nag yn yr ystafell-wledda. Yr oedd pob cymdeithas â ganiatawyd iddo ddwyn yn mlaen â hi, yn cael ei wneyd trwy drais, mewn ystyr. Etto ymddangosai Owain yn cael ei foddhau yr un mor llwyr, wrth gael y fraint o gyfeillachu â hi o'i hanfodd, ac yn erbyn ei hewyllys, a phe buasai yn cael o ewyllys ei chalon. Nid oedd ef yn pryderu dim yn nghylch bodd, nac *anfodd*. Os gallai lwyddo i gyraedd ei amcan rywfodd, byddai pob peth yn dda. Nid oedd yn pryderu pa un ai trwy dwyll ai ynte trwy deg, i sicrhau yr hyn a fyddai arno eisiau; sicrhau y peth oedd ei bwnc ef!

Deallodd Owain ei theimlad a'i dymuniad yn ei hochenaid, ac yna dywedodd; "Yr wyf yn penderfynu na chaiff Harri ddim tipyn chwaneg o fwynhad gyda Nest; ac na chaiff gyfleusdra chwaith i genedlu dim chwaneg o'i hil. Mae y Rhobert a anwyd iddo o honi, yn llawn ddigon. Heblaw hyny, nid oes chwaneg o hil gyfreithlawn nac anghyfreithlawn hen wrdd-darw Basan fel Harri, brawd Gwilym Goch, a mab Wiliam Fastardd, Tywysawg y Ffrancod, a brenin trahausfalch y Saeson, i gael eu cenedlu o hil Gymreig; ac nid yw Gerallt chwaith i gael fy Nest yn ol. Yr wyf yn hoffi cymdeithas a mwyniant merched anghymharol o bryd a gwedd, a diail eu moes, cystal â neb! Fe gaiff Harri attebiad chwerw; ac fe fydd iddo gael ei frathu a'i drywanu megys trwy ei galon, yn y fath fodd â phe buaswn yn ei frathu ac yn ei drywanu a chleddyf."

"Mae yn bryd imi gael gair i'w anfon yn ol i Harri, yn ddiffael erbyn amser pennodol yr wythnos nesaf, neu onite bydd fy meistr yn dyfod yn mlaen, yn cael ei gynnorthwyo gan Gerallt, a bydd i'm heinioes i fel negesydd, a'th einioes dithau fel mab Tywysogaidd, a'r eiddo dy dad Cadwgawn, syrthio trwy fin y cleddyf. Heblaw hyny, oni fydd i chwi ganiatau i Gerallt gael Nest ei wraig, y mae fy meistr, y brenin Harri, yn bygwth cyffroi pendefigion Powys yn eich erbyn, a bydd yn sicr o fod yn lled boeth arnoch oll."

"Poeth neu beidio, a chynhyrfu pendefigion Powys neu beidio! ni chaiff ei ddymuniad y ffordd yna! Pa beth sydd yn peri i'th feistr ymyryd âg achosion pobl ereill? Onid y gwr Gerallt a bïoedd Nest? "Pa beth sydd yn symbylu Harri i ddymuno cael Nest? Ai tybed ei fod yn tybio ond i Gerallt ei chael yn ol, y bydd i hyny dy ddwyn di Nest yn ddigon agos iddo ef i borthi ei chwantau anifeilaidd; ac i'th ddarostwng fel y darfu iddo o'r blaen?"

Yna ymneillduodd mewn ysbryd ffyrnig i'w ystafell; ac ysgrifenodd y llinellau hyn:

"Dyma fi yn dy hysbysu di, Harri, nad wyf yn malio dim mewn Normandyn penboeth a ffol—hâd Wiliam Fastardd, gwr digyfraith, didduw, a difoes: yr hwn nid wyt yn parchu teimlad yr ystlen deg; nac yn caru anrhydeddus 'briodas a'r gwely dihalogedig' yn unwedd a rheol y gair dwyfol. Bydded hysbys ddigon iti nad oes un gobaith iti gael Nest mwy i ymgyfeillachu, ac i ymwneyd â hi fel y gwnaethost â hi y dyddiau o'r blaen. Er cymmaint gwr wyt, y mae rhyw un sydd fwy. Gyda'r nodyn hwn, yr wyf yn anfon dy nodyn yn ol; ac yn dymuno arnat yr hergi ffol, ei gymmeryd gyda thi i'r geudy, a'i ddefnyddio i'r dyben y dylasit ei ddefnyddio, cyn ei anfon i mi. Gelli chwythu bygythion, a gwneyd fel y mynot ti OWAIN AB CADWGAWN."

Mor fuan y darfu iddo ei ysgrifenu, brysiodd o'i ystafell, a dododd y ddau nodyn i'r dygiedydd, yr hwn a'u cymmerodd, ac a aeth ymaith, gan bengrymu yn foesgar i Nest, ac Owain, pan yn cilio allan yn wysg ei gefn o'r annedd-dy; ac efe aeth yn syth at ei feistr Harri, a dywedodd, "Dyma yr ateb iti."

"Wel pa beth ydyw yr ateb?"

"Mae yr ateb yn ysgrifenedig ar y papyr. Darllenwch ef, a chwi a gewch wybod. Mae eich nodyn chwi ato ef yna hefyd."

"Ai fel yna, y llabwst difoes y dysgwyd di yn fy llys i, i siarad?"

"Yr wyf yn barod i ymddiheuraw, pan fyddo rhediad a thôn fy ymddyddan yn llŷs y brenin hanner mor afresymol â'r eiddo y brenin."

"Cerdd allan o'm gwyddfod, y lledfan di ben."

"Mae yn well genyf fi fod yn *ddi ben* na meddu clap yn lle pen."

"Mor fuan ag y darllenwyf hwn, bydd y crogbren yn dy aros, ac â chladdedigaeth asyn y'th gleddir; a'th goffadwriaeth a dderfydd gyda diflaniad dy fywyd!"

"Bydd i mi fel Lazarus gael fy nghludo gan yr angelion i fynwes Abraham; a thithau pan fyddi farw a ddisgyni fel Deifas, i lawr, i lawr, i lawr, i waelod isà y llyn yn llosgi o dân a brwmstân; ac yno y poenir di am dy ffolineb ddydd a nos; ac yn y lle arall y dyddenir finau. Brysia ddarllen, a brysia'm crogi. Bydd hyny yn sicr o fod yn gymmaint o anghlod i ti ag a fydd o glod i mi; ac yn sicr o luosogi yn ddeg cymmaint, dy boenau di y teyrn creulawn ac anghymmodlawn, ac hefyd o fwyhau fy ngwynfyd innau tu hwnt i'r afon."

Ymwylltiodd Harri, a chyn agos orphen darllen y nodyn, gorchymmynodd dynu dau lygad

y negesydd, yna ei ddyspaddu, ac wedi hyny ei grogi yn ddiseremoni. Yr hyn oll a gwblhawyd gan y rhai oeddent ddienyddwyr yn yr ystafell freninol, heb deimlo, nac eehrydu dim mwy nâ phe buasent yn ymwneyd â rhai o filod distadlaf y deyrnas anifeilaidd. I hyn yr oedd mynych ymarferiad â chreulawn weithredoedd, wedi arwain pobl yr oesau tywyll.

Yn ddilynol i hyn, llwyddodd Harri i gyffroi pendefigion Powys yn erbyn Owain,—"hwy a'i hymlidiasant o'i wlad, a hefyd ymlidiwyd Cadwgawn ei dad o'i gyfoeth, a diffeithiaw ei diroedd oni orfu arnaw efe a'i fab Owain, ffoi i'r Werddon," yn ol fel y cronielir yn Mrut y Tywysogion.

Cyn pen y flwyddyn, gwnaeth Cadwgawn ymgais lwyddiannus i ymheddychu â'r brenin, trwy ddangos nad oedd dim a fynai â gwaith ei fab Owain; a thalu iddo gan' punt am gael meddiant o'i gyfoeth; ac yn mhen chwe' blynedd ar ol hyn, coffêir yn Mrut y Tywysogion, fel hyn; "A phan wybu Gerallt, Rhaglofydd Castell Penfro, ddyfod Owain y Geredigiawn, daeth ar gof iddau a wnaethai Owain am Nest ei wraig, a buriadu dial hyny o sarhâd, a myned efe a'i wyr, a chyn nemawr o ossawd y lladdwyd Owain â saeth, ac fel hyn y darfu iddau am a wnaeth o ddrygau i Genedl y Cymry, fwy nag a wnaethpwyd erioed o'i flaen gan y gwaethaf o fradwr a wybuwyd erioed am danaw. O hono ef y bu dechreu Gwylliaid Mawddwy; a geffir fyth yn diffeithiaw gwlad yn mhell ac agos."

Gyda hyn terfyna y bennod hon, a dychwelir yn nesaf i ddilyn helynt Owain Gwynedd.

### Pennod III.—Owain Gwynedd, a'r Meredyddion.

Am bedair blynedd ar ddeg ar ol yr eisteddfod a grybwyllwyd, y mae y Brut, a'r holl hen gronielau, yn hollol ddystaw o barth i ysgogiadau Owain Gwynedd a'i frodyr. Nid oes un gair o'i hanes mewn cyssylltiad â'r ymgyrch a gymmerodd le rhwng Owain ab Cadwgawn, a Gruffydd ab Cynan o un ochr, a Huw, Iarll Caerlleon, a Harri Bwmwnt, o'r ochr arall; pan y bu raid i'w dad Gruffydd, ac Owain ab Cadwgawn ymgilio gyda'u holl wyr trwy "Nant Gonwy" i Fynyddoedd Eryri. Nid ymddengys chwaith ei fod gyda'i dad pan y darfu iddo droi yn fradwr i Ruffydd ab Rhys; teulu yr hwn oedd wedi bod yn offerynol i drosglwyddo llywodraeth Gwynedd i'w ddwylaw. Ond nid oedd hyny yn un cymhellai i Gruffydd beidio bradychu y cyfaill goreu a feddai, os caffai gyfle i wneyd arian, ac i ennill mwy o annibyniaeth â chlod iddo ei hun. Gwnaeth bob ymgais i ddal Gruffydd ab Rhys, ac i'w drosglwyddo i ddwylaw brenin Lloegr. Ymlidiodd ef hyd Aberdaron; yr hwn yno a roddodd ei hun dan nawdd yr Eglwys. Yno bu ymdynu ffyrnig rhwng yr Eglwyswyr a swyddwyr y Tywysawg. Ni adawai yr Eglwyswyr i nawdd Duw a'i Saint gael ei dori; a phan oedd y naill ochr mor benderfynol â'r llall i gario eu huchafiaeth i weithrediad, dywed y Brut, "Daeth llong o Ddyfed hyd yn Enlli, a morwyr a drugarhaent wrth Ruffydd ab Rhys, a'i dug at y llong yn Enlli, ac yna dianc o Ruffydd ab Rhys, a'i Frawd, at eu cenedl yn Ystrad Tywi."

Nid oes dim dadl nad oedd Owain yma gyda'i dad yn gweithio yn egniol; ac ni fuasai yn deg i Ranwlff Iarll Caerlleon edliw iddo, oni bai hyny. Mae tôn yr edliwiad yn awgrymu ei fod yn cydweithredu a'i dad yn yr holl ruthriadau hyn. Ond dyma ein cyfeiriad etto yn dyfod ar draws Owain Gwynedd.

Pan fu farw Einion ab Cadwgawn yn 1121, efe a gymmyn-roddodd ei dir a'i gyfoeth i Feredydd (ei frawd). Ond yn ei ewyllys, ni ddarfu iddo nodi allan yn bendant mai i Feredydd ei frawd yr oedd y pethau hyn i fyned. Er bod digon o sierwydd mai Meredydd ei frawd a feddyliai Einion yn ei ewyllys. Ond yr oedd i Einion, ewyrth o frawd ei dad, o'r enw Meredydd; a mynai hwnw mai efe a olygai ei nai, oedd i gael yr holl gyfoeth ar ei ol. Yr oedd pleidwyr Meredydd, brawd Einion, yn gryfion, ac yn aml eu rhif, a chanfyddai nad oedd obaith iddo lwyddo i gael y tir a'r cyfoeth heb ryw gynnorthwy oddiallan. Ar hyn, daeth Ithel ab Rhirid ab Bleddyn, ei gefnder, i ymweled ag ef; ac yna dywedai Meredydd:

"Mae Einion fy nai wedi marw ti a wyddost, Ithel; ac wedi gwneyd ei ewyllys i ryw Feredydd; ond nid yw wedi nodi pa Feredydd. Yr wyf fi wedi penderfynu y bydd i mi fynu y cyfoeth i mi fy hunan. Y mae genyf gystal hawl â neb."

"Yr wyf yn ofni dy fod yn methu. Y mae yn sicr agos mai ei frawd oedd ef yn feddwl; ac y mae ei frawd yn sicr o'th ddisodli."

"Yr wyf fi yn gwybod yn dda mai *fi* a feddyliai."

"Pa beth sydd yn peri iti feddwl mai tydi a feddyliai, gan fod agos bawb arall yn tystio yn hollol wahanol."

"Wel, nid oedd ef, a'i frawd yn rhyw gyfeillgar iawn a'u gilydd. Bu yn dyweyd wrthyf fi, pan yn hogyn bach, mai fi a gai bob dim ar ei ol; a chyda golwg ar y sylw a wnaethost, fod agos bawb ereill yn eredu yn wahanol: nid yw hyny yn pryderu dim arnaf fi. Myfi a fynaf gael y cyfan!"

"Pa fodd y gelli gael yr eiddo, gan fod agos bawb yn dy erbyn. Bydd yn anmhossibl i ti ei gael trwy drais a gorthrech."

"Yr wyf am ei fynu trwy drais, doed a ddelo."

"Bydd arnat eisieu cynnorthwy rhywun heblaw ti dy hun."

"Bydd. Beth a fyddai i ti ymuno â mi? Ni fyddai hyny yn ddim di anrhydedd iti."

"Ni fyddai yn llawer o anrhydedd chwaith! Pa beth a gawn i am hyny? Nid wyf fi yn bwriadu gwneyd unrhyw beth am *ddim* i neb; ac os bydd i mi gymmeryd rhan yn y rhuthrgyrch, bydd yn ofynol i mi gael tâl."

"Wel, ti a gei hanner y tir, a'r cyfoeth!"

Yn ddilynol i hyn, cawn eu hanes wedi rhuthro yn mlaen, a lladrata yr holl diroedd oddiarno. Parodd hyn deimlad eiddigus yn mhob congl o'r wlad, at Meredydd, ac Ithel; a theimlai pob un agos, fod y ddau wedi cyflawni ysgelerwaith a brynti a roddai ystaen annilëadwy ar eu coffadwriaeth. Yr oedd Gruffydd ab Cynan, ac Owain ei fab, yn ymferwi mewn cynddaredd, ac yn penderfynu dial y cam. Yr oedd y ddau yn mwynhau eu hunain gyda'r telynwr, pan adroddwyd y newydd iddynt gan redegydd oddiwrth Meredydd ab Cadwgawn. Pan nad oedd etto wedi llwyr orphen, daeth Cadwallawn i'r tŷ, a sylwai Gruffydd——

"Mae gen' i waith i Owain a thithau, i brofi pa faint a ellir bwyso arnoch, ac ymddiried i chwi, fel rhyfelwyr, ac fel arweinwyr llu cadarn yn maes y frwydr. Yr ydych wedi gwneyd llawer o ymhoniadau; ond nid ydych wedi gweithredu dim etto!"

"Beth sydd wedi dygwydd weithian, fynhad?"

"Mae Einion ab Cadwgawn wedi marw erys rhai dyddiau, ebai y rhedegydd; ac y mae wedi cymmyno ei gyfoeth i Feredydd; ac y mae yn sicr mai Meredydd ei frawd, ac nid Meredydd ei ewyrth, a feddyliai: ond y mae Meredydd yr ewyrth, wedi penderfynu mŷnu mai efe a feddylid; ac wedi galw Ithel i'w gynnorthwyo, a lladrata yr holl dir a'r cyfoeth, a'u rhanu rhyngddynt."

"Yr wyf yn methu cofio dim am Einion na Meredydd."

"Rwŷ'n synu atat ti, ddim yn cofio y ddau yn chwareu gyda ni, pan oeddem ar ymweliad â'u tad, yn yr Eisteddfod yn Aberteifi; a thithau yn chwerthin am ben Einion, pan oedd yn rhigymu darllen gweddi yr orsedd," sylwai Owain yn sarug.

"O ydwyf wir, a Meredydd yn ysgwyd ei ben pan ddarfu imi hysbysu y byddai im' dynu llygaid, dyspaddu, a thori penau fy ewyrthod, meibion Owain ab Edwyn, mor fuan byth ag y byddai imi ddyfod yn alluog, am y sarhâd a daflodd eu tad ar fy nhad, trwy gydsynio i reoli Mon, pan oedd fy nhad wedi ei anfon ar ffo i'r Iwerddon."

"Twt! peidiwch â chlegar! Y mae yn amser i chwi hel eich hunain at eich gwaith, a dechreu ymosod yn ddioed er dwyn ei dir a'i gyfoeth yn ol i'r gwir Feredydd, neu onite, feallai y byddant wedi anrheithio y rhan fwyaf o hono, fel na fydd ddim gwerth i neb redeg ar ei ol."

"Wel, gad i mi barotoi, a galw llu cadarn o wŷr gyda ni i Feirion; a thalu i'r ddau greadur esgymunedig, yn ddeg cymmaint."

Felly, trodd y ddau allan o dy eu tad, yn llawn o ysbryd rhyfelgar. Heb golli dim amser, gwnaeth y ddau i fyny eu cattrefniant. Yr oedd y rhan bwysicaf i orphwys ar ysgwyddau Owain; a Chadwallawn i wneyd yr hyn oll a allai er cilgwthio a llorio Meredydd ab Bleddyn, a'i bleidwyr annghyfiawn. Yr oedd eu brawd Cadwaladr yn ei wely yn glâf o'r frech goch; a theimlai y ddau golled fawr am eu brawd. Yr oedd y ddau wedi teithio yn mhell; ac yn gyfagos i Feirion, daethant i wrthdarawiad â rhai o wŷr Meredydd. Canfyddasant rhag llaw y cymmerai brwydr boeth le; a theimlai Cadwallawn yn lled ddigalon, wrth edrych ar y fath lu; ac ofnai yn fawr mai eu gorchfygu a gaent os nad eu lladd oll. Ond nid oedd dim yn peri pryder, ac ofn yn mynwes Owain. Yr oedd yn penderfynu ymladd, neu farw ar y maes. Yr oedd Cadwallawn wedi cael golwg fwy mawreddog a rhyfelgar ar y gelynion nâ'i frawd. Rhedodd yn ol i'r coed, a dywedodd wrth Owain ei frawd;—

"Mae cannoedd o bobl yn llawn arfau yn ein herbyn; ac y maent yn sicr o'n gorchfygu Owain. Mae Llywarch ab Trahaearn a'i holl lu, ar y maes. Y maent oll yn barod i ryfel."

"Paid â hurtio Cad! Byddwn yn sicr o'u trechu. Mae yn syndod genyf fod Llywarch wedi dyfod i'n herbyn; ac yn wir yr wyf braidd yn ammheu gwirionedd dy ddywediad; ond os ydyw yn wir, bydd yn sicr o gostio yn ddrud iddo cyn y diwedd."

"Wel sut yr wyt ti yn meddwl y gallwn ni orchfygu y fath lu arfog, pa rai sydd yn lluosocach nâ ni mewn rhif, ac yn llawn mor fedrus ar faes ymdrechfa?"

"Wel, mi ddywedaf iti yr hyn na chredaist o'r blaen. Nid yw rhedfa yn eiddo y cyflym, na rhyfel yn eiddo y medrus a'r cadarn. Yn yr amgylchiad hwn, bydd i ninau orchfygu. Ni a ruthrwn yn mlaen i ymladd â hwynt; ac yna fe enciliwn yn ol i'r goedwig: ac yna fe saethwn ein saethau atynt o'r goedwig; a bydded i bob un ofalu fod ei fidog a'i gleddyf yn barod, pan ddeuant yn mlaen i ddechreu ein hela yn nghwr y coed; ac yna eu trywanu a'u lladd, fel pe lleddid llyffaint. Feallai y cawn gyfle i drochi ein dwylaw yn ngwaed calon yr arweinwyr cynffonog acw!"

Yn ddioed, rhuthrwyd yn mlaen, dechreuwyd saethu yn echrydus yn erbyn llu Meredydd ab Bleddyn, a'r Llywarch ddrwg ag oedd wedi

dyfod allan mor annheg i gynnorthwyo Meredydd. Bu ymladd caled a hynod ffyrnig; a theimlai Cadwaladr a Chadwallawn ei bod agos yn bryd iddynt encilio. Yn lled fuan, darfu iddynt redeg yn ol i'r coed. Eu gelynion, pan welsant hyn, a ruthrasant ar eu hol i'r goedwig, gan feddwl eu lladd oll; a dileu eu henwau odditan y nefoedd! Ond och! mor fuan ag y darfu iddynt gyraedd congl y goedwig; dyma lu arfog yn disgyn arnynt, fel haid o fleiddiaid, ac yn difa pob un mor fuan ag y croesai o'r cae i'r coed. Difeid hwynt yn llwyr, a thorid pob un i lawr fel llafrwyn, neu bigfrwyn. Gwelodd y rhai oedd o'u hol, mai ofer oedd iddynt bwyso yn mlaen i ddannedd y perygl. Penderfynasant ffoi; a ffoi oll a ddarfu iddynt. Ac ar yr un adeg, ymlidiwyd hwynt yn ffyrnig gan wŷr y blaid arall; ac yna ebai y "Brut," "Gorfuant Gadwallawn ac Owain ar Feredydd ab Bleddyn, ac adynnill y wlad i Feredydd ab Cadwgawn, a diffeithiau tiroedd Llywarch ab Trehaearn yn greulon am gyfnerthu Meredydd ab Bleddyn."

PENNOD IV.—OWAIN GWYNEDD, RHANWLFF, AC EISTEDDFOD GRUFFYDD AB RHYS.

Ryw flwyddyn ar ol yr helynt blaenorol, (yn 1122), daeth Cadwallawn ab Gruffydd ab Cynan ar draws ei ewythrod, brodyr ei fam, Gronw, Rhirid, a Meilir, a rhuthrodd arnynt, tynodd eu llygaid, yna dyspaddodd hwynt; ac yn mhen ychydig wedi hyny, lladdodd hwynt.

Yr oedd wedi bwriadu erys tro gwblhau yr anfadwaith hwn, am ddarfod i'w tad, Owain ab Edwyn, ymgymmeryd â bod yn rhith tywysawg ar Fon dan y Sacson a'r Ffrancod, pan orchfygwyd ei dad Gruffydd ab Cynan, ac y bu raid iddo ffoi i'r Iwerddon. Parodd hyn dipyn o aflwydd ac anhap i'w dad. Credai Cadwallawn hefyd, y buasai yn llawer gwell arnynt hwy—meibion Gruffydd, pe buasai ei daid wedi ymwrthod â thywysogaeth Mon; a pheidio bod fel hyn yn fraich i blant Lot. Ond ni safodd Cadwallawn ar hyn o ddial; oblegyd yn 1129, ennynwyd ei lid drachefn, ac yn ei gynddaredd, lladdodd Iorwerth ab Owain; ac yna dywed y "Brut," "Einion ab Owain a fynai ddial angau ei frodyr ar Gadwallawn, ac efe a Chadwgawn ab Gronw ab Idnerth, yn gwybod lle y delai Cadwallawn yn Nanheudwy, a aethant yn nghynllwyn, a phan ddaeth ef y ffordd hono, rhuthro arnaw a'i ladd, a'i roddi yn fwyd i gwn." Dyna fel y diweddwyd bywyd y gwr creulawn hwn.

Yn 1130, darfu i Owain Gwynedd ymbriodi â boneddiges o Wyddeles, merch Arglwydd urddasol o'r Iwerddon, a elwid Pyfog. Yr oedd wedi syrthio i gariad â hi er yr eisteddfod y buwyd yn son am dani, yr hon a gynnaliwyd yn Aberteifi. O hon y ganwyd Hywel, y bardd enwog; ac un a ddangosodd athrylith fawr fel celfyddydwr, ac fel gwr yn gallu cynllunio peiriannau nerthol. Ar ol marwolaeth ei fam, daeth etifeddiaeth fawr yn eiddo i Hywel yn Iwerddon.

Yn nyddiau y brenin Ystyffan, cyfododd anghydfod rhwng Gruffydd ab Rhys a'r brenin. Yr oedd Ystyffan, neu *Stephen*, wedi gyru cenad i ofyn i Gruffydd ab Rhys;—"Paham yr wyt ti Gymro dienwaededig, mor fostfawr â chlustogaidd a gwrthod dyfod ataf fi y brenin, i ateb i'r cwynion didor a roddir yn dy erbyn gan y Ffrancod? Dywedir dy fod yn amcanu at gael y llywodraeth i ti dy hun, a'th fod yn amcanu ymddiosg oddiwrth ein hiau, ac adennill dy diroedd yn ol. Ond bydded hysbys i ti, oni fydd i ti ddyfod yn ymostyngol ger ein bron, a phenlinio o'n blaen, ac ateb i'r cwynion a deflir i'th erbyn, bydd ini anfon llu arfog i'th erbyn.

YSTYFFAN."

Atebwyd ef yn y wedd ganlynol gan y llall:

"Bydded hysbys i ti nad wyf yn gwybod achaws y cwynion, ac mewn canlyniad, bydd i mi ddyfod i'th erbyn âg arfau rhyfel. Bydd diwedd y rhyfel yn sicr o'th wneyd yn llai dyn, ac o lai awdurdod.

GRUFFYDD AB RHYS."

Wedi gorphen ysgrifenu y nodyn, daeth Owain, a Chadwaladr, meibion Gruffydd ab Cynan i balasdy Gruffydd ab Rhys.

"Holo Owain, y mae yn dda gan fy nghalon dy weled. Mae yn debyg o droi allan yn lled dda rhyngwyf ag Ystyffan. Yr wyf wedi dadgan y bydd imi ddyfod i'w erbyn âg arfau rhyfel."

"Taw Gruffydd! Bobl anwyl! Y mae arnat eisieu cryn dipyn o bobl yn gyfnerth, a *rhaid* i ti gael llawer iawn, neu onite bydd yn lled ddu arnat."

"O na fydd dim rhaid cael cymmaint ag a feddylit ti. A fyddai yn wrthwynebol genyt ti a Chadwaladr ddyfod yn mlaen i'm cynnorthwyo?"

"Wel na fyddai; ac fe wnawn i ac yntau ein goreu i gynnull ein gwyr yn nghyd, ac anfon allan ein holl luoedd yn erbyn y Ffrancod a'r Saeson."

Heb ddim chwaneg o ymddyddan, acthant allan yn erbyn llu arfog yn Ngheredigiawn; a lladdwyd aneirif lu o Ffrancod a Saeson. Rhuthrai Owain yn mlaen; a bwriai ef gyda'i wŷr, y cestyll yn garnedd i'r llawr. Yspeilid y bobl o bob peth. Yr ydau a'r gweiriau a losgid; yr holl ddefaid a gwartheg a yspeilid

ymaith. Daeth mor gyfyng a chaled, fel y dywed y Brut nad oedd bwyd ac ymborth iddynt gario yn mlaen y rhyfel yn erbyn Gruffydd ab Rhys. Daethant yn mlaen yn amlder eu grym hyd gastell Aberystwyth; a hwnw drachefn a fwriwyd yn garnedd i'r llawr; ac yn ddilynol i hyny, rhuthrwyd yn mlaen, a lladdwyd y Ffrancod a'r Saeson a gadwent Geredigiawn, a Dyfed. Tra yr oedd y Ffrancod a'r Saeson ar ffo rhag Gruffydd ab Rhys, gerllaw Glyn Nedd, daeth meibion Caradawc ab Iestyn yn eu herbyn; ac fe laddwyd o honynt tros dair mil; ac ereill a yrwyd ar ffo: a sicrha y Brut. "Ychydic o Saeson a ddiangasant i wlad Gwŷr, lle y cawsant nawdd y cestyll a wnaethai Harri Bwmwnt yno."

"Gwedi adynnill ei diroedd," sylwa y Brut, "fe wnaeth Gruffydd ab Rhys wledd anrhydeddus yn Ystrad Tywi; lle y gwahoddes efe attaw bawb a ddeuent yn heddwch, o Wynedd, a Phowys, a Deheubarth, a Morganwg, a'r Mers; a pharotoi pob moethus o fwydydd a diodydd, a phob ymryson doethineb, a phob dyddanwch Cerdd arwest, a Cherdd dannau, a chroesawi prydyddion, a cherddorion, a chynnal pob chwareuon hûd a lledrith, a phob arddangos a phob campau gwrolion; ac i'r wledd hono y daeth Gruffydd ab Cynan, a'i feibion; a llawer o'r pendefigion yn mhob ardal yn Nghymru; a chynnal y wledd tros ddeugain niwrnod; ac yna gollwng pawb tu a'u cartrefi, a dodi rhoddion anrhydeddus i a'u dirperynt, o Feirdd, a Cherddorion, a Doethion, a Champusion o bob rhyw."

"Dyma yr eisteddfod fwyaf aruchel ac urddasol a wnaed agos mewn un oes; o'r hyn lleiaf, yr oedd yn rhagori yn fawr ar eisteddfodau ereill a gynnelid yn yr unfed ar ddeg, a'r ddeuddegfed ganrif hefyd. Mor fuan ag y darfu i Owain, ein harwr, gyraedd; pwy a ganfyddai yno o bawb ond ei hen elyn, Ranwlff, Iarll Caerlleon. Cyn pen hir, trodd at Owain, a dechreuodd wneyd gwawd o hono."

"Pa beth sydd yn dy gorddi di ac yn dy gymhell i ddyfod yma i'm dirmygu i? Onid yw yr oruchafiaeth a gawsom ar yr hen Ffrancod a'r Saeson yn gwir deilyngu i ni wneyd hyn?"

"Nid oes dim llawer o bwys i'w roddi ar ddim a gwblheir genych chwi mwy nâ rhyw fywion creill; ac yn wir, dim cymmaint chwaith."

"Pa beth sydd yn chwildroi dy feddwl di frawd; a pha beth sydd yn dy gymhell i arfer iaith mor ddiystyrllyd am danom ni fel cenedl?"

"Nid oes dim ymddiried i'w roddi ar un o honoch; ac yr ydych oll yn anffyddlawn i'ch gilydd. Pan y mae un o honoch yn barod heddyw i gynnorthwyo y llall, bydd ond odid yr un mor barod i dori ei ben y fory. Yr ydych yn canu caneuon i felldithio eich gelynion estronol; ac yn melldithio y Saeson a'r Ffrancod. Ond yr wyf yn credu bod genych waeth gelynion yn eich plith eich hunain, a'u bod hefyd yn llawn mwy tebyg i wneyd pen arnoch fel cenedl, yn hwyr neu hwyrach."

"'Rwy'n methu canfod pa fodd yr wyt yn gallu dyweyd ein bod ni y Cymry yn elynion i'n gilydd. Pa le y gwelaist ti fwy o arwydd cyfeillgarwch a gwir undeb yn mhlith pendefigion cenedl nag sydd yma heno? Dyma ein holl dywysogion, yn fawr a mân wedi ymgynnull yn nghyd; ac y mae yma undeb perffaith."

"Undeb a chyfeillgarwch wir! Nid ydyw ddim byd ond twyll bob mymryn. Nid oes dim mwy o bwysau ynddo nag sydd mewn manus; ac y mae cymmaint o gryfder ynddo ag sydd mewn rhaff fraenedig, a checysen grin. Son am undeb yn mhlith y Cymry yn wir. Ni fu erioed y fath ddwlni a ffregodiaeth! Nid oes ond ychydig amser er pan oedd dy dad yn barod i drosglwyddo Gruffydd ab Rhys, neu ei ben, drosodd i Harri Bwmwnt."

"Nid wyf yn credu y fath beth; ac nid wyf yn meddwl ddarfod i fy nhad wneyd y fath beth o gwbl."

"Yr wyf yn tystio i ti ddarfod i'th dad wneyd ammod â Harri Bwmwnt i anfon Rhys yn garcharor iddo i Lundain; ac fe wnaeth ei oreu hefyd i gael gafael ynddo, fel y gallai ei anfon."

"Paham Ranwlff yr wyt ti mor ddiystyrllyd o honof fi a'm teulu, a'm cenedl hefyd? Nid wyf yn meddwl dy fod yn dyweyd hanner y gwir."

"Yr wyf yn dyweyd y gwir, a dim ond y gwir. Buasai dy dad wedi anfon Rhys neu ei ben i'r brenin hefyd, oni bai iddo ddianc i Aberdaron, a rhoi ei hun yn nawdd yr Eglwys. Ond buasai wedi tori nawdd Duw a'i Saint; a chymmeryd ymaith y Gruffydd ag yr ydych wedi cymmeryd ei blaid ychydig amser yn ol yn erbyn y Ffrancod a'r Saeson; a chyda'r hwn yr ydych mewn rhwysg yn gwledda heno, a'i gyflwyno trosodd i lys Harri Bwmwnt, oni bai i long ddyfod hyd yn Enlli. Cafodd y llongwyr anwaraidd allan fawr gyni ac astrusi Gruffydd; ac er mor isel oeddent yn ngraddeg moesoldeb â rhinwedd, ennynwyd teimlad o dosturi yn eu mynwes tuag at Gruffydd, hwy a'i hebryngasant at y llong yn Enlli; ac yna diangodd, efe a'i frawd at eu cenedl yn Ystrad Tywi. Yr oedd llawer mwy o Gristionogaeth a thrugaredd yn y llongwyr barbaraidd nag yn dy dâd, ti a weli."

"Paham yr wyt yn achwyn cymmaint ar yr hyn fu fy nhad yn y gorphenol? Onid yw pob un wedi cyflawni a gwyro llawer oddiwrth lwybrau rhinwedd a gonestrwydd yn y gorphenol? Ni ddylid beio a chollfarnu neb am

yr hyn sydd wedi hen fyned heibio. Ar fy nhad fel y mae yn awr y dylit edrych; ac am dano fel y mae yn awr y dylit siarad!"

"Yr wyf yn hollol gymmeradwyo dy sylw; ond pan f'o unrhyw ddyn wedi cyflawni rhyw gastiau a thriciau islaw dynoliaeth, y mae yn lled anhawdd peidio dal ei orphenol o flaen y llygaid, a ffieiddio y cyfryw berson! Rhys ab Tewdwr, tad Gruffydd, fu y prif a'r unig offeryn i ddwyn dy dad i'r safle y mae ynddi yn awr yn Nghymru. Oni bai am dano ef, ni fuasai dy dad ddim ond alltud yn Iwerddon heddyw, a gwr mor ddinod can belled ag y buasai hyny yn dwyn cyssylltiad a Chymru, ag un cardotyn. Darfu i'th dad, ti a weli, droi yn fradwr i'w *wir* gymmwynaswr, a dylai fod yn wrthddrych dygasedd a gwawd y llu. Hen lechgi bawaidd a gwael ydyw dy dad; a dyna yr egwyddor sydd yn ysgogi pob Cymro. Mae y genedl Gymreig o angenrheidrwydd yn sicr o syrthio i safle o ddibyniaeth, israddoliaeth a gwaseidd-dra. Nid yw yn ddichonadwy iddynt beidio. Mae pob un o'r tywysogion Cymreig, yn barod i fradychu ei gyd-dywysog, a'i drosglwyddo drosodd i estron, am swm bychan o arian. Nid oes dim dichon i genedl felly sefyll yn hir. Yr wyf yn tystio nad yw yr hen ddiareb Gymreig: 'Cas gwr na charo y wlad a'i maeco,' yn cael ei gwirio mewn cyssylltiad ag un genedl a dosparth o bobl yn well nag mewn cyssylltiad â'r genedl Gymreig. Diareb i'r genedl Gymreig ydyw, a neb arall. Y mae y tywysogion Cymreig yn sicr o ddiflanu; ac yn mhen yspaid, y mae yn sicr o beidio a bod yn genedl!"

"Byddi di yr hen hergi ffol, a'th dylwyth, wedi diflanu oesau o flaen y genedl Gymreig, a'i hiaith; a bydd pob ymyrwr ffol fel tydi hefyd wedi cwympo i briddellau y dyffryn, cyn y derfydd adsain yr Iaith Gymraeg rhwng mynyddoedd Cymru, a'm dymuniad gyda golwg ar yr hen Iaith yw,

'Os bydd raid ryw dro ei chladdu
Cladder hi a'r byd i gyd yn nghyd.'

Ar hyn dechreuodd y beirdd adrodd darnau o'u cynnyrchion, a'r telynorion chwareu gyda'r tannau, yr hyn a foddodd yr ymddyddan yn llwyr; ac aeth y ddau yn mlaen i wrandaw ar y beirdd yn rhwyfo, y telynorion yn chwareu, a'r crythwyr yn gyru yn mlaen yn yr un wedd. Nid oes dim chwaneg o'r hanes wedi ei gofnodi; ac felly rhaid terfynu."

## PENNOD V.—OWAIN, TYWYSOG GWYNEDD.

Yn y flwyddyn 1136, terfynodd Gruffydd ab Cynan ei yrfa, wedi llywodraethu o hono Wynedd tros chwech â deugain o flynyddoedd; a bu mawr alar ar ei ol; oblegyd tystia y Brut: "Can na chaffed er yn hir o amserau cyn noc ef ei gystal o Dywysawg yn y wlad hono o'i genedl, sef gwehelyth Rhodri Mawr."

Mor fuan ag yr hunodd ei dad, dechreuodd Owain Gwynedd reoli yn ei le, o ddifrif. Dechreuodd ddwyn ymgyrch yn ddioed yn erbyn y Ffrancod a'r Saeson, yn Ngheredigion, a Dyfed. Gyda hwrdd beiriannau rhuthrodd yn mlaen gyda'i fyddin, dymchwelodd yn garnedd gestyll Ystrad Meurig, Pont Ystyffan, a wnaethai y brenin, a Chaerfyrddin; a llosgwyd y dref yn lludw, yspeiliodd a dygodd anrhaith dirfawr gydag ef i Wynedd.

Cyn pen pedair blynedd ar ol esgyn i gadair Gwynedd, yr oedd Owain wedi dwyn holl Geredigion i dalu cêd iddo.

Ar foreufwyd un diwrnod, sylwai Owain, wrth ei fab Hywel: "Hywel yr wyt ti yn fachgen galluog; ac yn debyg o wneyd un o'r beirdd galluocaf yn ein gwlad; ac yn debyg o wneyd y dyn doethaf yn y byd; yr hyn sydd yn dra annhraethol fwy pwysig na bod yn rhigymwr o fardd."

"Wel, beth ydyw y drwg yrwan nhad, a oes rhywbeth o'i le? Paham yr ydych yn edrych mor hynod guchiog ac anfoddog!"

"Hwda fachgen, paid â bod mor wladaidd ac anfoneddigaidd; aros i bobl ereill orphen, cyn dechreu dy ffregod. 'Doedd ryfedd i Iarll y Clar roddi bonclust i'r Cymro hwnw; a'i alw yn Gymro gwladaidd, na wyddai foneddigeiddrwydd; ac y mae arnaf finau dipyn o awydd i roddi bonclust i tithau. Yn ddigon sicr i ti, y mae llawer o bethau o'u lle, a drwg mawr yn bodoli. Mae dy ewyrth Cadwaladr, wedi lladd ei fab-yn-nghyfraith, am iddo gyfnerthu Rhys ab Gruffydd ei frawd. Yr oedd gelyniaeth rhwng Cad. a Rhys, ac y mae bob amser yn ei erbyn. Digiodd yn erwin wrth Anarawd, penderfynodd ddial, a dial ddarfu iddo hefyd."

"Wel! beth ddarfu iddo ar ol digio? A wnaeth ef rywbeth? Ynte digio, gwgu, a gwneyd pen cam fel tarw ddarfu iddo, a pheidio gwneyd dim."

"O nage, nid yw Cad. yn un o'r dynion hyny; y mae bob amser yn dra hoff o ddial; ac felly y gwnaeth ef yn yr amgylchiad hwn."

"Wel a fu Anarawd gwaeth er ei ddial, ynte dial ddarfu iddo trwy godi ei ddwylaw tua'r nefoedd; a galw ar y nefoedd i ddial drosto."

"Twt nid *un* felly yn dial ydyw Cad.! Rhybuddiodd Anarawd unwaith neu ddwy; a phan ganfu nad oedd rhybuddio yn ddigon, aeth ato, a thrywanodd ef fel y bu farw yn y fan."

Na phoena o'u herwydd fy nhad, perthyn iddynt hwy y mae hyny, ac nid i ni. Paid ag ymyryd ag achos pobl ereill. Yr wyf wedi dyweyd digon wrthyt; ac heblaw hyny, y mae Cad.

yn frawd, ac os ai allan i ryfel, fe ai yn erbyn dy frawd dy hun. Nid yw yr hyn a wnaeth Cad. wedi gwneyd un niwaid i ti, nac wedi peri colled i ti mewn un wedd; am hyny paham y rhaid i ti gael myned allan i ryfel, os nad oes arnat ti eisieu ymladd, er mwyn ymladd?"

"Nid oes arnaf fi eisieu i neb fod yn ben yn fy nheulu i ond mi fy hun. Heblaw hyny yr oeddwn i yn hoff iawn o Anarawd, a'i wraig. Y mae druan bach yn amddifad a diswcwr erbyn hyn. Yr oeddwn yn hoff o honi; ac yr wyf yn hoff o honi, ac yn penderfynu dyrnu ei thad yn iawn am ei greulondeb yn amddifadu ei ferch o'i gwr: ond nid oes dim amser i siarad. Yr wyf yn penderfynu myned allan i ryfel, a rhaid i tithau ddyfod gyda mi."

"Felly yr aeth y ddau allan i ryfel yn erbyn Cadwaladr, a'i lu. Daethant i wrthdarawiad yn Ngheredigion. Wedi ychydig o frwydro caled, collodd Cadwaladr y dydd; a bu raid iddo fyned ar ffo tros y mor i'r Iwerddon. Amddifadwyd ef o Aberystwyth a'i holl diroedd, a drosglwyddasid iddo ar ol ei dad. Ond nid oedd Cadwaladr am adael iddo ei feistroli ar chwareu bach. Gallodd ddarbwyllo llu o'r Iwerddon i ddyfod trosodd gydag ef i Arfon; a dechreuwyd rhyfel yn ddioed yn erbyn Owain: ond nid oedd Hywel yn selog tros i'r ddau frawd ymladd a'u gilydd. Dywedai wrth ei dad;

"Nid wyf fi am ymladd â thi o gwbl; ac nid oes angen i'r un pethau frwydro a'u gilydd. Cewch ddigon o waith i ymladd, heb fyned i ymladd a'ch gilydd. Ni welais i erioed waith ffolach."

"Pa beth sydd yn dy gorddi fachgen? A oes arnat eisieu fy ngwneyd yn gaethwas i'th ewyrth Cadwaladr? Dyma fagad o Wyddelod wedi dyfod trosodd; a beth ddeuai o honom ped yr ymostyngem?"

"Na 'does arnaf fi ddim eisieu i ti ymostwng; ond eisieu i chwi heddychu a'ch gilydd sydd arnaf fi."

"Pa sut y geill un heddychu wyt ti yn meddwl! Fe ddylid ymladd a chystwyo ychydig ar Cadwaladr am ddechreu hen helynt fel hyn. Paham yr oedd ef yn galw yr hen Wyddelod yma trosodd heb ddim yn galw am hyny?"

"'Rwyt ti yn methu 'nhad. Tydi ddarfu ddechreu. Nid oedd dim yn galw arnat i redeg i'r maes i ryfela yn erbyn dy frawd, pan oedd yn cyfnerthu Rhys ab Gruffydd yn erbyn ei frawd Anarawd. Buasai yn well buasit ti wedi aros gartref i edrych ar ol dy amgylchiadau dy hun; yr hyn fel y gwyddost sydd yn llawn mwy nâ digon o waith i ti, ac i bob dyn."

"Paham na fuasai Cadwaladr yn gwneyd yr un peth, yn lle rhuthro i'r maes yn erbyn Rhys ab Gruffydd, a lladd yn gelain ei fab-yn-nghyfraith?"

"Pan weli di ddyn arall yn colli y ffordd; a yw hyny yn rheswm y dylit tithau hefyd golli y ffordd! A yw fod brawd yn cam droedio llwybrau, yn dy gyfreithloni di i wneyd yr un peth? Os dyma y rheol wrth ba un y mae dynion i weithredu; yna ffarwel i gynnydd moesoldeb a thegwch yn y byd."

"Pa ddyben son am degwch a moesoldeb mewn lle fel hyn! Maent y pethau mwyaf diddefnydd yn y byd *yma;* ac os ydyw moesoldeb a thegwch yn rhywle ar gael yn ein dyddiau ni, nis gwn yn y byd yn mha le! Mae arnaf ddigon o ofn eu bod wedi myned ar goll, a hyny yn mhell cyn fy ngeni, fel na cheir mo honynt fyth mwy! Lladd, cigyddio, a thywallt gwaed, twyllo ac yspeilio, ydyw rheol y dydd; a brodyr yn disodli ac yn ymladd â brodyr ydyw hynt a helynt y byd! Yr wyf finau yn penderfynu dilyn y rheol hono yn fanwl!"

"Paid â bod mor ffol fy nhad! Ymgroesa, ymgroesa, ymgroesa, er mwyn pob peth! Paid byth a bod yn debyg i bobl ereill, er *mwyn* bod yn debyg iddynt. Rhaid i ti gael rhywbeth amgenach nâ hyny dros wneyd y peth hwn neu y peth arall. Lled debyg pe buasit yn trigo yn nghanol llewod, y buasit yn mynu bod fel llewod; a phe buasit yn byw yn nghanol mulod, y buasit yn mynu bod fel mulod; a dichon pe buasit yn byw yn mhlith pobl feddwon, y buasit yn mynu bod yn feddw. Paid â dal sylw ar yr hyn yw pobl ereill; ond ar yr *hyn* y dylit ti a hwythau fod. Dyna y ffordd i ti bob amser i'w dilyn, a chofia ei dilyn yn awr hefyd; a phaid byth a'i gadael!"

"Nid wyf fi am wrandaw dim ar dy gynghorion. Ryw hen hogyn fel ti yn siarad fel yna â'th dad! Mae yn gywilydd i ti! Mi af yn syth yn erbyn Cadwaladr a'r hil Wyddelig felldigedig sydd yn ei ddilyn; ac fe fydd yn dipyn o helynt arno hefyd."

Yn lled fuan, gwnaeth y ddau barotoadau i gyfarfod eu gilydd ar faes y frwydr; ond yr oedd Hywel yn penderfynu y mynai attal yr helynt; a phan oeddent ar ymladd a'u gilydd; daeth Hywel yn mlaen, a gwrthsafodd hwynt; a dywed y Brut ddarfod iddo weithio arnynt yn y cyfryw fodd, hyd onid ymheddychasant. Digiodd hyny y Gwyddelod yn erwin; oblegyd nid oedd iddynt yspail i'w gael. Yn fuan daethant yn mlaen gyda gwyneb haerllug a ffyrnig, a daliasant Cadwaladr, ac nis gollyngent ef yn rhydd hyd nes y talai iddynt ddwy fil o wartheg. Yr oedd Cadwaladr yn falch o gael ymwared rywsut; a throsglwyddodd yn ddioed y gwartheg iddynt; ond mynodd y Gwyddelod lawer chwaneg yn anrhaith. Clybu Owain hyny,

ymlidiodd ar eu hol, a lladdodd lu mawr o honynt, a gwnaeth iddynt roddi i fyny yr anrhaith, a llawer iawn yn chwaneg.

Hanes brwydro ac ymladd gan mwyaf ydyw y gweddibl o'r helynt. Dyna oedd yn rheoli ac yn llywio pobl yn yr oesoedd hyny; ac yr oedd hyny yn ysgogi Owain Gwynedd, yn fwy nâ neb. Llosgodd a dinystriodd fwy o amddiffynfeydd nâ neb agos o'r tywysogion Cymreig. Yr oedd awydd ymladd a dinystrio pethau, a bwrw i lawr ei elynion yn bentwr, wedi myned i'w esgyrn, fel y dywedir, ac wedi dyfod yn ail natur iddo. Yr oedd ysbryd ymladd wedi dyfod yn feistr arno. Ar ol hanes yr ymrafael a fu rhyngddo a'i frawd, bu agos i dair blynedd yn lled dawel. Ond yr oedd ei feibion, Hywel, a Chynan yn cael eu gosod ar waith i ymladd yn barhaus. Pan oedd Rhanwlff yn anrheithio o'i amgylch, ac yn adeiladu cestyll Elfael a Cholunwy, teimlai Owain yn hynod ddigofus, gan nad oedd yn hoffi i neb allu gorchfygu ac anrheithio ond efe ei hun!

Yn y flwyddyn 1144, teimlai Owain dipyn yn afiach; ond etto yn llawn o ysbryd rhyfel; a dywedai wrth Cynan:—"Wyddost ti beth Cynan, y mae eisieu mawr i rywun fyned i Aberteifi a Cheredigiawn, a gwastadâu pethau yno. Nid yw yn ddim rheswm i ni adael i neb gyfarth a chadw swn tra b'o ni yn fyw. Pe buasai dy frawd Hywel heb fod yn gymmaint o lyfrgi, fe fuaswn yn eich cynghori i fyned yno i ryfela, a rhyfela yn iawn hefyd yn eu herbyn."

"Mae Hywel yn barod i fyned fy Nhad. Y mae yn bwriadu ymladd, ac yn penderfynu ymladd a gorchfygu, neu farw; ac yr ydym yn bwriadu cychwyn rhagllaw. Y mae pob peth yn barod."

"Wel ewch chwithau, a bydded i chwi ymladd fel dewrion, neu farw. Nid wyf fi yn hoffi gweled y Ffrancod a'r Saeson yma yn cael y llaw uchaf arnom ni y Cymry yma.

"Mae eisieu lladd cymmaint ag a ellir o honynt; ac annos y lleill fel bwystfilod drwg. Bydded i chwithau wneyd hyny, neu ynte bydd yn lled boeth ar bob un o honoch, os deuwch yn ol wedi colli."

Yn ddioed, cychwynodd y ddau gyda llu mawr yn eu dilyn. Yn Aberteifi, bu ymladd caled a ffyrnig rhyngddynt, ac yna wedi darfod yno, aethant yn mlaen hyd Geredigiawn; ac yno drachefn y bu ymladd yr un mor boeth, a thra ffyrnig. Yn mhob câd, darfu i'r Ffrancod a'r Saeson golli y dydd, a bu raid iddynt encilio yn ol, ac ymlochesu yn eu gwlad eu hunain; a chafodd y gymmydogaeth seibiant i anadlu am ychydig.

Yn nherfyn yr un flwyddyn, yr oedd ein harwr wedi gwellau ei iechyd, ac yn barod eilwaith i ail ddechreu rhyfel. Yr oedd castell y Wyddgrug yn cael ei ystyried yn un hynod gadarn, ac nid oedd neb a allai ei dori i lawr gan mor gadarn oedd. Amddiffynid ef gan y Saeson, ac ofer oedd i neb geisio ei ddinystrio, a'i dynu i lawr. Yr oedd ef a'r Saeson a fynent ei ddal i fyny, wedi peri dirfawr alaeth a chyni i'r holl le. Penderfynodd Owain y mynai ei ddinystrio, ond yr oedd pawb yn ammheu hyny. Yn fuan, cafodd Owain ei wahanol gelfi yn nghyd. Yr oedd Hywel ei fab hefyd, wedi dyfeisio a gwneyd peiriannau cryfion, a dorai furiau cestyll mewn modd rhyfeddawl, ac a fwriai geryg mawrion i'r cestyll. Nid oedd dim prawf wedi ei gael arnynt, ac ofnai ei dad y troai y cyfan yn fethiant. Ond yr oedd Hywel o'r ochr arall yn benderfynol nad oedd dim cyffelyb iddo yn y byd; ac na ddeuai dim cyffelyb am yspaid. Dygwyd y peiriannau cryfion at gastell y Wyddgrug, ond yn anffodus ni wnaeth y peiriannau y gorchestion y proffesai Hywel y byddai iddynt wneyd y waith hon, a hyny yn ddiffael. Pa fodd bynag, llwyddodd Owain a'i feibion i fwrw y castell i'r llawr; ac i ymlid ymaith, a lladd y Saeson a fynent ei amddiffyn.

Yn y flwyddyn 1146, daeth y peiriannau yn dra chanmoladwy. Yr oedd Cadell, Rhys, a Meredydd, meibion Gruffydd ab Rhys ab Tewdwr, yn methu bwrw i lawr gastell Gwŷs. Buont yn ymladd am amryw ddyddiau, ond yn methu llwyddo yn deg er pob ymdrech. Mor fuan ag yr anturient i ddringo yr ysgolion, er myned i mewn tros furiau y castell, bwrid hwynt i lawr bendramwnwgl, a malurid yr holl ysgolion yn yfflon. Tra yr oeddent yn teimlo ei bod wedi myned i'r pen yn lân arnynt, gofynai Rhys:—"Oni fyddai yn well i ni fyned at Hywel, a gofyn iddo ddyfod yma gyda'i hwrdd-beiriannau i luchio ceryg i gyfeiriad y lleuad, fel y gwnai yn y Wyddgrug, ac yna i ddisgyn yn ol drachefn ar draws ac ar hyd y castell, er dinystrio ei nen, a lladd yr holl gastellwyr oddi mewn, ac i luchio meini fel bryniau yn erbyn muriau y castell, a'i chwalu yn garnedd."

"Rhaid iddo weithio yn well nag y darfu iddo yn y Wyddgrug; neu ni waeth iddo fo roddi ei gân a'i beirianau yn ei gôd. Yr oedd yn luchio i bob man ond yn erbyn y muriau, ac i'r castell! Yr oedd un yn dyweyd ddarfod i'r hen beiriant daflu un maen i'r lleuad, a tharaw baich drain y dyn oddiar ei gefn!! Bu am bythefnos yn methu cael neb i'w godi yn ol," ebai Cadell.

"Nid yw yn deg i ti siarad am y peiriant fel yr oedd y pryd hwnw. Y mae Hywel wedi ei berffeithio yn fawr ar ol hyny: y mae yn tystio y gall chwalu y castell mwyaf cadarn yn gandryll i'r llawr; a lluchio cawod dew fel gwybed, o geryg i mewn i'r castell ar unwaith, a lladd

pob enaid yn mhob twll a chongl oddimewn iddo."

"Wel," ebai Meredydd, "bydd i mi fyned i chwilio am Hywel a'i beiriannau; ac yna ceir gweled pa fath orchestion a wnant."

Cyn hir daeth Hywel a'i beiriannau yn gyfnerth iddynt; ac fel yr oedd Rhys yn tystio, taflwyd y cyfan i'r llawr, a'r holl gastellwyr a laddwyd, neu a ymlidiwyd ymaith rhag blaen.

"Dyma i ti Rhys y fath allu peiriannol ddarfu i mi gynllunio. Byddai fy nhâd yn taeru na wnawn i ddim ond bardd; ond yr wyf yn alluog i wneyd rhywbeth heblaw bardd! Mi a chwalaf holl gestyll y byd; ac fe laddaf bob gelyn sydd yn byw ar wyneb y ddaiar!! Ti a gai weled hyny yn fuan hefyd."

"Ho, ho, ho, felly yn wir! Nid wyt ti ddim yn sicr y gelli di chwalu chwaneg o gestyll â dy hen geubren cam! Fe ddarfu i ti fethu yn llwyr yn y Wyddgrug, ac hwyrach mai felly y bydd y tro nesaf etto."

"Methu yn y Wyddgrug yn wir! Ni chefais ddim chwareu teg! Yr oedd rhagfarn fy nhad yn rhy gref yn fy erbyn i, a'r peiriant. Nid oedd yn caniatau i mi amser i osod pethau yn iawn!"

"Wel, beth fyddai i ti wneyd ail brawf etto arno! Dwg dy hen gelfi yn mlaen at gastell cadarn Cynfael: Castell dy ewyrth Cadwaladr; yr hwn a gedwir gan Merfyn, Abad y Ty Gwyn ar Daf. Y mae hwnw, heblaw bod y castell yn gadarn, yn amddiffynydd tra gwrol, ac yn weddiwr mawr a dibaid, ac yn debyg iawn o'th attal gyda'i afrifed weddiau. Dywedir ei fod bob amser yn cael ei wrandaw."

"Cadarn neu beidio; a gweddiwr neu beidio, bydd i mi ei chwythu ef a'i weddiau tu allan i gylchoedd abred."

Yn fuan ar ol hyn, aeth Hywel a'i lu gyda'i beiriannau, a dinystriodd yn llwyr y castell, er holl ymdrech Merfyn i'w amddiffyn, a lladdwyd y gwŷr oll oedd ynddo, ond Merfyn, yr hwn oedd fynach pabaidd, a gwr mawr; ac o ganlyniad nid oedd rhyddid i'w ladd!"

"Pa beth a wnawn i Merfyn" ebai Rhys?

"Tynu ei lygad, ei ddyspaddu, ac yna ei rostio, er mwyn gweled pa ddaioni a ddaw allan o hono.

"Nid elli wneyd na'r naill na'r llall â mab maeth Eglwys, Hywel," ebai Cadell.

"Gallaf wir wneyd yr oll. A wyt ti yn meddwl bod mab maeth Eglwys yn well nâ rhywun arall? Onid dyn oedd ei dad, a dynes oedd ei fam hefyd? Y mae ef a'i hil wedi gwneyd mwy na neb o ddrygau yn y wlad; ac o ganlyniad y mae yn haeddu cael ei ladd yn llawer mwy na'r rhai yr ydym wedi eu dieneidio yn barod!"

"Lol wirion Hywel! Gad iddo. Gwell i ni beidio ei ladd, rhag ofn i ni dynu pobl yn ein penau. A chaniatau nad ydyw *mewn gwirionedd* ddim gwell nâ phobl ereill. Mae pobl yn credu er hyny ei fod yn well. Byddai ein gwaith ni yn lladd dyn da yn ngolwg y bobl, yn sicr o'n dwyn i benbleth ac astrusi; ac yn sicr o ddwyn oddiamgylch ein dinystr!"

"Wel o'r goreu, byddai yn well i ni ei anfon fel hen hesbwrn i'r mynydd i bori brwyn a llafrwyn. Nid yw y brawd yn rhy dda i bori brwyn a gwellt! Mae un llawer gwell nag ef wedi bod cyn hyn. Yr oeddwn yn darllen hanes un yn y Beibl y noson o'r blaen."

## Pennod VI.—Owain Gwynedd yn Adeiladu Castell, ac yn Dystrywio.

Gollyngwyd, neu yn hytrach ymlidiwyd Merfyn o derfynau y lle gyda'i hoedl yn ei feddiant. Ond ni adawyd iddo ddim cyfoeth i'w gyfnerthu ar y daith. Gofalwyd am ei yspeilio, a'i wneyd mor dlawd a llygoden Eglwys. Nid oedd Hywel yn gallu parchu neb o'r mynachod pabaidd; ond etto yr oedd rhyw arswyd bob amser yn treiddio trwy bob gwythen o'i gorff, pan fyddai yn ymddwyn tuag at bobl Eglwysig fel pe buasent bobl gyffredin. Yr oedd rhyw ofergoeliaeth wedi gwreiddio yn ei fynwes, megys gydag anadliad cyntaf ei fywyd; ac wedi tyfu i fyny, a chryfhau, fel y tyfai yntau; fod pob abad a phob mynach pabaidd yn wr i Dduw, a phob gwr arall yn dras i hil gethin Belial. Ond etto ammheuai hyny yn fawr ambell dro, ac yn unol â'r ammheuaeth, siaradai a gweithredai yn aml, fel y gwnaeth y waith hon.

Pan oedd un diwrnod yn dwys fyfyrio o barth i hwn a'r llall; ac yn methu deall pa fodd yr oedd un dyn yn rhagori cymmaint, ac yn cael ei garu yn fwy nâ'r llall, daeth Cynan ei frawd i mewn, a dywedodd: "Mae Uchtryd, Esgob Llan Dâf wedi marw. Mae pawb mewn dwfu alar ar ei ol; ac yn debyg o fod yn analluog i fyned yn mlaen hebddo!"

"Taw yr hen ynfytyn pen deneu! Pa ddaioni a wnaeth ef i neb erioed? Pa beth sydd yn peri i ti feddwl bod y byd yn analluog i fyned yn mlaen hebddo? Onid oedd pobl yn gallu symud, byw, a bod, cyn ei eni? Pa beth yn chwaneg oeddent yn alluog i'w wneyd wedi iddo ef ddyfod i rym, ac i faintioli gwr? Onid ydynt yn alluog i wneyd hyn yn awr wedi iddo dynu ei anadl ato?"

"Wyddost ti beth fachgen, yr wyt yn hen wylliad tra anystyriol! Oni ddarfu i'r gwr duwiol a da hwn wneyd trefn dda ar y Suliau a'r Gwyliau, a Gwyliau Meib y Saint, a'u cynnal yn olychwydawl lle na's gellid hyny o fodd ac arfer!"

"Pa les i ni oedd hyny? a pha well oedd y

wlad er rhyw sefydliadau felly? Oni ddarfu i hyny daflu y wlad i fwy o draul; ac i wario llawer o arian yn ddi fudd, er cynnal segur swyddwyr? Nid sefydliadau er lles y wlad oedd yn corddi ac yn cymhell y brawd i weithredu fel y darfu iddo; ond amcan at gael torth surgeirch i hen folerwyr, a haid gardotlyd. Gwir ddarfod i'r wlad gyraedd peth lles trwyddo, ond nid digon o les i ateb i'r draul!"

"Wfft i ti! yr wyt yn siarad yn anystyriol! Yr wyt yn siarad fel ynfyd yn union!! Mae yn bryd i ti gywilyddio. Dacw ein tad yn dyfod, a byddi yn sicr o gael dy ffonodio yr hen fachgen, yn dda hefyd."

"Beth wyf fi yn hidio. Nid yw fy nhad yn gwybod fawr am ddim heblaw am fwrw cestyll i'r llawr, a rhyfela yn ddi-ddiwedd. Dyna ydyw yr unig alwedigaeth y mae wedi ei ddysgu, a dim arall! Ond rhaid tewi, dyma fe yn dyfod i mewn."

"Holo blant! beth sy' dan sylw? A ydych chwi yn cynllunio rhyfel yn erbyn rhywun?"

"Na; 'does genym ddim rhyfel mewn golwg; na gelynion ar hyn o bryd."

"Wel, da iawn! Nid oes genyf finau ddim rhyfel wedi ei gynllunio; na neb, y mae gen' i awydd i fesur y cledd ag ef. Yr wyf wedi bod yn meddwl am adeiladu castell. Yr ydym wedi chwalu a dinystrio llawer o gestyll, heb adeiladu nac adgyweirio cynnifer ag un etto!"

"Yn sier," ebai Cynan, "yr wyf yn ofni na fedri di, na dy fab Hywel, adeiladu, nac adgyweirio cestyll. Yr ydych wedi hen gynnefino â chwalu, a thynu careg oddiar gareg, fel y mae wedi dyfod yn ail natur i chwi erbyn hyn; ac nid wyf finau dy fab nemawr gwell."

"I beth yr wyt ti yn siarad y lleban? A wyt ti yn meddwl nad oes gan y dyn sydd â gallu i wneyd un peth, ddim gallu i wneyd pob peth? A wyt ti yn tybio fod dy frawd Hywel ag sydd wedi arddangos cymmaint o allu gyda chynllunio peiriannau i chwalu yn deilchion y cestyll cadarnaf; ac hefyd un sydd wedi arddangos y fath orchest fel bardd a llenor, yn analluog i gynllunio ac adeiladu cestyll? Onid wyf finau hefyd wedi dangos gallu a chwblhau pob peth yr ymafaelodd fy llaw ynddo, yn y modd mwyaf medrus a deheuig?"

"Mae hyny yn wir. Ond yr wyt heb feddwl, nac astudio erioed ar y pwnc o adeiladu a chadarnhau tyrau a themlau cedyrn: ac ofni yr wyf, os *byth* y gwnai di gastell, mai un hawdd iawn ei chwalu fydd. Mor hawdd, fel *os* na fydd i rywun wneyd rhuthr ar ei furiau, y bydd iddo chwalu o hono ei hun yn hynod fuan!"

Cyn i'r hen wr ei ateb, daeth gair i hysbysu fod angen ei wasanaeth mewn lle arall. Felly dygwyd y cyfan i derfyniad. Ar ol hyn, nid oes dim hanes am Owain, na'i deulu, nac am adeiladu y castell, am ddwy flynedd. Lled debyg y buasai y meddylddrych o adeiladu y castell wedi syrthio i'r llawr, oni bai i Cadwaladr hysbysu ei fod yn penderfynu adeiladu castell yn Llan Rhystyd. Ar unwaith daeth yntau a'r teulu i'r penderfyniad o adeiladu castell yn Iâl. Un boreu, hysbysodd Owain ar ei foreufwyd:—"Yr wyf wedi dyfod i'r penderfyniad Hywel, o adeiladu y castell y bum yn son am dano ryw ddwy flynedd yn ol. Mae Cadwaladr yn dechreu adeiladu un yn Llan Rhystyd, ond gobeithio y bydd "ein castell ni yn rhagori yn fawr arno."

"Wel, o'r goreu ati hi â ni. Nid oes eisieu i neb ymdroi. Mae yn amser i ni gychwyn," sylwai Hywel.

"Beth yn y byd a barodd i ti feddwl am adeiladu castell yn Iâl? Y lle anhawddaf yn y byd i gael ceryg; ac heblaw hyny, pa angen castell sydd yn y fan hono? Fe fuasai yn well i ti ail gadarnhau, neu ail adeiladu un o'r cestelli ereill. Buasai gwaith felly yn fwy ennillgar, a defnyddiol yn y diwedd."

"A wyt ti etto yn parhau i'n diystyru ni fel adeiladwyr cestyll, Cynan? Pa beth yn y byd sydd arnat ti, fachgen anhywaith? Oni fydd i ti attal dy dafod, byddaf yn sier o'th roddi yn gauedig yn y carchar."

"Yr wyt yn methu, fy nhad, nid wyf yn amcanu at eich diystyru, na'ch dirmygu. Fy amcan i ydyw siarad rheswm â chwi, ac ymdrechu hyd y gallwyf, eich darbwyllo i beidio ymgymmeryd a gorchwyl na pherthyn i chwi, er mwyn peidio dwyn eich hunain i warth; a gwneyd, eich hunain yn gyffion cler, fel y bydd coffa am danoch tra b'o byd yn bod. Yr un peth yn fy ngolwg i fuasai adeiladu castell yn Iâl, ag adeiladu un yn y lleuad; a buasai y naill yn llawn mor ddefnyddiol â'r llall!"

"Wel, cau dy safn;—dos at dy fam i gael tipyn o laeth, fy machgen i! Yr ydym ni ein dau yn myned i gychwyn, a bydd ein castell wedi ei adeiladu cyn pen dwy flynedd; ac un hardd fydd ef hefyd."

"O'r goreu; cymmerwch ofal o hyd rhag ofn iddo chwalu ar eich cefnau; a phan fyddwch wedi gorphen, rhedwch ymaith nerth eich coesau, neu ynte bydd yn sicr o syrthio i gyd ar eich cyrff, a'ch claddu dan yr adfeilion."

Gyda golwg ddigllawn, aeth Owain, a Hywel ei fab, allan o'r annedd-dy; ac yna aethant gyda'r llu adeiladwyr, a nifer afrifed o weithwyr, i gymmydogaeth Iâl, i adeiladu castell; ac ni fu erioed y fath adeiladu, a gweithio. Yn mhen yspaid gorphenwyd y castell; ond castell hynod ddi nod a di bwys oedd; a chyn pen chwe mlynedd, tynwyd ef yn garnedd i'r llawr gan Iorwerth ab Meredydd. Ac fel y lled awgrymai ei fab, Cynan,

yn mlaen llaw, ni fu castell erioed haws ei chwalu. Fel adeiladwr, nid oedd Owain neb; ond fel rhyfelwr nid oedd yn y wlad ei well. Yr hyn y mae pawb wedi ei ddysgu ac ymgynnefino ag ef er dyddiau ei ieuenctyd, y mae pawb yn ei fedru, a dim arall; ac felly yr oedd yn yr amgylchiad presennol gydag Owain Gwynedd. Nid oedd ef ddim ond rhyfelwr; ac nid aeth i geisio gwneyd dim arall rhagllaw.

Yn mhen rhyw yspaid o ddwy flynedd, ar ol bod yn adeiladu y castell, cyfododd ymrafael rhyngddo ag Iarll Caerlleon, yr hwn a ddaeth yn mlaen yn ei erbyn, â llu dirfawr o Ffrancod a Saeson; ac yn gyfnerth i'r rhai hyn, daeth Iarll Madawc ab Meredydd, Tywysawg Powys; a bu cad aruthrol ar faes; ond er yr holl lu a ddaeth i'w erbyn ef a'i feibion, darfu i Owain brofi yn drech nâ hwynt oll; a bu raid iddynt oll ffoi. Pan oedd yn dychwelyd o'r frwydr, pwy a gyfarfyddai ond ei nai fab chwaer, Rhys ab Gruffydd, a sylwai:—"Wel, Rhys, yr wyf wedi gweithio yn gampus gyda'm llu ti a weli. Bu raid i'r hen Ranwlff ffoi, a'i hen olynwyr din-gleraidd; Saeson a Ffrancod, a'i gyfnerth Gymreig, Madawc ab Meredydd a'i lu. Y mae rhai yn farw ar lawr; ac ereill wedi ffoi. Nid wyf fi am wneyd dim ond rhyfela! Y mae rhyfela yn waith tra hoff genyf fi; ac nid wyf, fel y dywedodd Cynan wrthyf, yn medru fawr ddim arall."

"Wel, mae yn dda genyf dy fod yn medru rhywbeth yn dda. Y mae llawer o bobl nad ydynt yn alluog i wneyd dim byd."

"Ha, ha, ha, yr wyt ti yn hen fachgen rhyfedd. Ac yr wyt ti yn credu bod llawer o bobl yn alluog i wneyd dim byd, er ymdrechu dysgu a dilyn rhyw alwedigaeth."

"Yr ydwyf yn sicr ddigon, ac yr wyf yn gwybod am rai o'r hil dywysogaidd felly!"

"Wel! yr wyf finau o ran hyny! Dyna Cunedda, fab Cadwallawn fy mrawd, nad yw dda i ddim, yr wyf yn son am dynu ei lygaid, a'i ddyspaddu, rhag iddo genedlu dim chwaneg o'i gyffelyb. Byddai yn anffawd fawr i'r dywysogaeth, pe bai yn cael cyfle i genedlu tri neu bedwar, ar ei lun a'i ddelw ei hun. Gresyn na fai pobl yn cario yr egwyddor hon yn fwy i weithrediad yn ein plith, fel y mae wedi bod mewn arferiad yn barod yn mhlith teuluoedd Gwynedd a Phowys erys peth amser. Fe fyddai i'r arferiad hon, pe dilynid hi yn fwy cyffredinol, buro yr hil ddynol."

"Wel, fe chwarddwn i yn fawr, pe clywwn dy fod wedi dyspaddu, a thynu llygaid yr hen Gunedda."

"Wel os byddi byw lai na blwyddyn, byddi yn sicr o glywed!"

"A hyny, feallai, pa un bynag a fyddi di a Cunedda fyw neu beidio?"

"Oh. Dos allan i grogi fy ymddyddan, neu onite fe fydd imi dy ddyspaddu dithau; a hyny yn ddioed hefyd."

Yn fuan, canodd y ddau yn iach i'w gilydd, a chyn pen y flwyddyn, daeth gair at Rhys, fod Owain wedi tynu llygaid a dyspaddu Cunedda am y rhesymau a ddygai yn mlaen. Oddeutu yr un adeg, torodd Cad. ei frawd allan o'r carchar y rhoddwyd ef ynddo gan Hywel ei fab. Aeth yn syth i Fôn, ac fe ddygodd ran fawr o'r ynys dano; ond Owain yn fuan a aeth yno; a bu raid i Cad. gymmeryd y goes, a chafodd Owain yr Ynys yn ol."

Yn mhen y flwyddyn ar ol hyn, daeth gair i hysbysu bod Rhanwlff, gelyn mwyaf ffyrnig ein harwr, wedi marw; a bu tipyn o orfoledd yn y teulu. Llefai Hywel, "Bydd heddwch mawr o fewn ein lluest; a dylem gael noson lawen i ddifyru ein hunain."

"Well i ti beidio cael un o lawer! Ni fydd diwedd gofid a thrallod, er bod Rhanwlff wedi marw!! Ar ol ychydig ddyddiau, ni fydd i ti deimlo yn fwy hapus nag o'r blaen."

"Wel gad i hyny fod Cynan, fyddai dim llawer i ni gael tipyn o ddifyrwch."

"Gelli gael dy hwda o'm rhan i o ddifyrwch, a llawer chwaneg nâ hyny."

Am yspaid, bu tawelwch mawr yn suo Owain i ddifrawdra; ond tua diwedd 1156, gwnaeth Harri yr Ail, ruthrgyrch i Gymru, a dechreuodd wneyd hafoc dybryd yn Swydd Callestr; penderfynodd Owain geisio ei huddenu i ddilyn ei ol hyd Fynyddoedd Eryri; ond buan y daeth Harri i weled y ddichell. Gadawodd iddynt, a theithiodd gyda glanau y moroedd, ac yna dechreuodd adeiladu cestyll, a chadarnhau yr amddiffynfeydd; a chliriodd y tir o'r coedwigoedd mawrion ag oedd yn ei orchuddio. Dechreuodd Owain a'i lu, ymosod arno yn mhob cyfeiriad; ac er bod nifer gwyr Harri yn bedair gwaith nifer byddin Owain; darfu i Owain a'i lu, eu hymlid ymaith.

Nid cynt y darfu i'r helynt blin hwn derfynu, nag y daeth helynt arall rhagllaw i ran Owain. Yr oedd Harri, a Rhys ab Gruffydd, mewn rhyfel parhaus a'u gilydd. Bu Harri a'i lu am yspaid yn orchfygwyr; ond yn fuan, daeth llu afrifed o'r Cymry yn erbyn Harri; a gwelai yntau fod yr awyrgylch yn duo; ac yn debyg o arllwys ei rhyferthwy ar ei goryn. Cynnygiodd ammodau heddwch; a Rhys a ymwystlodd ag ef (Harri) er cynnal heddwch. Dododd iddo lawer o wystlon; a'r brenin a ddododd gestyll i Rhys. Ond pan aeth Rhys i oresgyn y cestyll hyny, nid oedd y castellwyr yn foddlawn i ufuddhau. Cynnullodd Rhys ei luoedd, a diffeithiodd y tiroedd, a Dyfed, a'r cestyll a fwriwyd yn garneddau.

Pan glybu y brenin hyn, anfonodd Rheinallt ei fab i Gymru. Aeth at Owain, a gofynodd iddo, "A ddeui di yn gyfnerth i mi yn erbyn Rhys?"

"Nid wyf yn teimlo awydd i ymuno ag estron yn erbyn un o fy nghyd genedl, heb ryw ammodau."

"Wel ti a gai Ddeheubarth os gwnai di ddyfod i'r maes gyd a'th lu i ryfela yn erbyn Rhys a'i allu?"

"Wel *os* oes rhyw obaith i mi ennill rhyw ychydig yn fwy trwy ddyfod i'r maes, nâ thrwy beidio, bydd i mi ddyfod rhaglaw—cydgenedl neu beidio; nid wyf fi dan rwymau i fod yn ffyddlawn i un blaid; os bydd un yn barod i'm cydnabod yn well nâ'r llall, bydd imi ymuno â'r blaid hono heb edrych i ba genedl y perthyna. Yr wyf wedi dangos nad wyf yn malio ond ychydig mewn iaith, cenedl, na phobl, os na fydd i'r cyfryw drosglwyddo tipyn o lwyddiant bydol i'm llaw!"

Yn ddioed ar ol hyn, aeth Owain, Cadwaladr ei frawd, Hywel, a Chynan ei feibion, yn erbyn Rhys; ond darfu i Rhys droi oddiar eu ffordd; a galwodd allan luoedd i ymbarotoi yn erbyn ei elynion; a phan welsant hyn, hwy a ddychrynasant, ac yna dychwelasant i Wynedd. Yn fuan ar ol hyn, daeth Harri, a llu dirfawr i Gymru; ac heb golli dim amser, aeth Rhys at Owain ei ewyrth, a dywedodd; "Mae Harri wedi dyfod i'r wlad, ac yn bygwth tori ar ein heddwch. Yr wyf yn dysgwyl y deui di gyda fi â'm llu, i'w ymlid fel bwystfil o'n gwlad, ac o'n hynys."

"Os gwelaf y bydd i hyny dalu yn well imi nag ymuno â'r ochr arall, bydd imi ymuno â thi. Nid wyf yn parchu gwaed na theimlad; ond yr wyf yn penderfynu yn mhob amgylchiad, ddilyn y llwybr hwnw, ag sydd yn debyg o droi yn fwyaf ennillgar imi!"

"Wel, yr hen hergi Gwyddelig! Mae golwg *Tipperaraidd* arnat, a buasai yn rheitiach iti fod yno yn byw, a phob un cyffelyb i ti. Nid wyt ddim gwell na bwystfil, ac y mae yr un teimladau yn dy symud a'r galluoedd sydd yn symbylu y greadigaeth anifeilaidd! Gresyn na fuasit yn llew, neu yn llwynog, yn lle diraddio dynoliaeth gyda'th ffyrdd ffol ac anhywaith!"

"Hen ffwl wyt ti, a hen ynfytyn pendew a fyni fod! Pe buasit tithau wedi dilyn fy nghynllun i, buasit yn dywysawg mwy mawreddog heddyw!"

"Well gen' i heb fod yn dywysawg, na bod yn dywysawg ag y bydd son am danaf fel hen leehgi di ymddiried; ac yn wr na ddarfu imi garu y wlad â'm magodd."

"Wel paid â thafodi, herlod di flew. Yr wyf yn penderfynu ochri gyda'm cenedl fy hun y waith hon, a byth o hyn hyd ddydd fy marwolaeth."

Yna heb oedi, aeth y ddau yn gyfnerth i'w gilydd, a chymmerodd brwydr enbydus le ar ochr Berwyn; a bu raid i'r brenin a'i lu ffoi. Digiodd hyny Harri yn fawr; ac yn ei ddig fe dynodd lygaid y gwystlon a gawsai amser yn ol gan Rhys ac Owain:—meibion Rhys;—Cynrig, a Meredydd; a meibion Owain Gwynedd; Rhys a Chadwallawn. Dallodd dri chant o'r Cymry, a ddaliodd yn y rhyfel; a gwnaeth Harri hyn a'i law ei hun.

Mae hynt bywyd Owain, yn awr yn tynu tua'r terfyn. Cymmerodd tair o frwydrau erchyll le rhyngddo a gwahanol elynion; heblaw nifer o rai llai; ar ol yr un a grybwyllwyd ddiweddaf. Tua blwyddyn ar ol y frwydr flaenorol, eawn ef yn rhuthro yn drwm yn erbyn castell Basing, ac yn lladd yr holl gastellwyr. Ond y mae diwedd pob rhyfel ac ymryson i fod, a diwedd pob dyn, y cadarn fel y gwan; y call fel y ffol; y doeth fel yr annoeth; a'r dewr fel y llwfr, bob amser yn tynu i'r un pwynt; ac felly terfynodd ein harwr ei fywyd, yn nghanol oes faith o frwydrau—dystrywio a llosgi cestyll beth wmbredd yn gydwastad â'r llawr; heb adeiladu ond un castell, a hwnw mor wael, fel yr oedd agos â chwalu pan ddarfu i Iorwerth ab Meredydd roddi *help* llaw iddo yn 1156;—yn mhen chwe blynedd ar ol gorphen ei adeiladu. Dyma ein hanes yn terfynu yn fin-fin â therfyn oes Owain yn 1169; ychydig fwy na saith gan mlynedd yn ol. Nid yw y chwedl ddim amgen nâ darlun cywir o fywyd lluaws o'r pendefigion yn yr hen amseroedd. Nid oes i'r darllenydd ond sugno ei foesoleg oddiwrthi yn y presennol.

—Ellis o'r Nant.

---

## DETHOLION O GYFANSODDIADAU SION TUDYR.

Sion Tudyr oedd Fardd enwog a gyfanneddai yn Wigfair, yn agos i Lanelwy. Yn ei ieuenctyd yr oedd yn un o Gor-ganwyr yr Eglwys Gadeiriol; a bu wedi hyny yn Gofrestrydd Llŷs Eglwysig Llanelwy. Cymerodd ei radd fel "Dysgybl Pencerddaidd," yn yr Eisteddfod fawr a gynnaliwyd yn Nghaerwys, Mai 26, 1568. Efe a gyfansoddodd lawer iawn o Gywyddau, yn y rhai y gwelir ei fod yn feddiannol ar

athrylith gref, a llawer o ffracthineb. Cyfieithodd rai o'r Psalmau hefyd i fydryddiaeth Gymreig. Bu farw yn y flwyddyn 1602.

## CYWYDD DROS FERCH

### Y DARFUASAI EI CHARIAD EI SIOMI, &c.

Cerais fab, cwrs o febyd,
Mae'r gwaith yn ofer ei gyd.
Yn ffol o'm bodd mi a roddais
Goel ar fab, gwae lawr fy ais:
Mae'n edifar i garu,
Wrth weled ofered a fu.
Doyde hwyr gwyne ganawr
Cywir fab i'm caru'n fawr.
Rhoes ei fryd ei gyd yn gall,
A chariad ar ferch arall.
Ffals oedd, heb gel i helynt,
Ffeiriodd un a garodd gynt;
Anwadal o un ydoedd,
Ac o was glân, anlan oedd.
Oedd yn ei go addo'n gall,
A'i gywiro ag arall.
Y mae yn ddiareb i'm hoes,
Hardd fydd pob newydd nawoes;
Ni'm car weithian yn chwaneg,
Da gwn am nad oeddwn deg.
Tlysach mwynach yw meinwen,
Teccach a gwynach yw Gwen;
Gloyw iawn odiaeth, glan ydoedd,
Glan sad a'm gelynes oedd.
Os yw y ngelynes i,
A'i bryd ar ei briodi,
Del iddi o'i dilwyddiaw,
Adfyd trwch o'i gydfod traw.
Na bo i hon oni henwir,
Na byd dâ, na bywyd hir;
Na bo i'r feinwen bur fynwes,
Na phlant, na llwyddiant, na lles;
Ond ei lladd a'r gyllell hon,
A chwilio deutu ei chalon;
Ddarffo cael am ddwy ael ddu,
Wych loyw addfwyn ei chladdu.
Ei harch a fyddo ei herchwyn,
A'i chroes goch ar ei chrys gwyn!
Ar Dduw y rho weddïon,
Ar fyr o hyd, farw o hon.
Yntau gaiff ond tu o'r gwedd
Dewis yn ol ei diwedd.
Os gwir heb geisio mor gwad,
Gwall yw nghur golli nghariad;
Rho ddïowryd, rhyw ddirwy,
Garu mab yn gywir mwy.

---

## CYWYDD MOLIANT MERCH.

Dydd da i'r Ferch a'r did aur fawr,
Dy wyneb o liw ôd Ionawr.
Dy lewyrch dyn dal ewyn,
Dy gorph a luniodd Duw gwyn.
Dy fwynder sydd yn peri,
Cariad y teir-gwlad i ti.
Puredig wyt, pryd a gwedd,
Hael baunes o hil bonedd.
O'r fath lana, fe'th luniwyd
Olwen, ail i Helen wyd.
Cymer y bel hyd dy elawr,
Wedi'r ferch o Droia fawr;
Di a gei air da o gariad,
Dwg y gloch oddiar ein gwlad.
Duw, ni luniwyd dan leni,
Merch i'th wisg mor wych a thi;
Di destyn wyt, a dystaw,
Yn dwyn dy lestr dan dy law.
Cefaist i'th ran fal Anna,
Ran o ddysg, pob rhinwedd dda;
Wyth gan-mil a'th ganmolyn,
Dy glod sydd ar bob tafod dyn.
Odiaeth ar ferched ydwyd,
Myni ddyn; ond mwynaidd wyd.
Da y graenodd Duw dy groen di,
Dan dy grŷs, Duw'n dy groesi.
Dyn iraidd-wych dan rudd-aur,
Campus wyt mewn cwmpas aur:
Teg ei phen ti a gei ffyniant,
Dwg y gair a ddigio gant.
Ni ddeil morwyn fwyn a fu,
Cain oll wyt, canwyll iti.
Ni thal un ferch, draserch dro,
Geiniog lle delych Gwenno.
Ni bydd rhai glan molianus,
Ddim yn dy ymyl ond us.
Ni bydd son drwy ddaioni,
Am neb ond am dy wyneb di.
Ond oedd araul dy ddau-rudd,
Y man yr wyt, mae manau rydd;
Gwrid gwyn garedig wyneb,
Gorau dan aur na gwrid neb.
Cei foliant Gwen i'm heinioes,
Cei gerdd, a mangerdd i'm hoes;
Cei gariad hwyliad helyth,
Cnot ar bawb, cana it' byth!

---

## CWEST RHWNG Y BARDD A'I GARIAD,

### AM DORRI EI HADDEWIDION.

Dyn! Rwy'n myned, pe creden,
'Sywaeth i gyfraith â Gwen!
Nid gofyn ond uniondeb
I'r fun fâd, yn anad neb.
Nid o ddig, na chenfigen
Is iawn wydd e wysiwn Wen!
Ond i gael am drafael draw
Roddi i bawb yr eiddaw.
Ag yno yr â Gwen ir-wych

I'r chwannog sydd o'i chwenych.
O dylai ddyn Wen dalu
Ddiwyd fron ei addewid frŷ;
Gwn dylwn ddyn gnawd Olwen,
O ran geiriau genau Gwen.
Yn ei golwg ddyn gul-ael,
Mi yw'r gwr am air o'i gael:
Doedai ddyn Wen odidog;
Y mynai fi, myn gri y grog.
Heno pan droi ei hwyneb
I fodd Nôn ni fyddwn neb!
Myfi yn tybio heno o hon,
Yn ddidwyll 'n ei haddewidion,
Hithau ni feddyliai fod
Aeriaeth hyf, aur ei thafod.
A garo mal dyn geirwir,
Dylai Gwen dalu â gwir.
O bu addaw o'i boddion,
Bu anwadal sal ei son.
Nid anhaws gan ddyn naws gall,
O'i gair oer garu arall.
Am eiriau twn am air teg
A'u gwadu mewn modd gwiw-deg!
Mae swyddogion union wedd,
A 'mesyd ym myd maswedd;
I roi barn, lle rhof arnyn,
A'i mi a ddylai my nyn.
A'r tegwch dyn wych-wen,
Yn Nghowrt Fenws wiw-dlws Wen;
Yn Ustus glan ar lannerch,
Rhof Drugaredd maswedd merch.
A Chydwybod lle y rhodio,
Ar y faingc Siri yw fo;
Cyfiawnder o burder ben,
Yma y pleidia mal Plowden:
Bellach rhifaf lle gwnaf gwest,
Wyr ffyddlon union onest;
A wyr hyn berthyn bod
O tyfai faswedd tafod.
Endymion union annerch
Yw'r cynta lle sonia serch
Eumenides a gês gwn
Yma'n ail am un eiliwn.
Priamus, Ulysses lân,
Hynaws gariad nis gwyran':
Yn bumed dyn tynged teg,
Paris, un parhaus waneg.
Falerian ar f'amcan fydd,
Yn chweched iawn-wych iach-wydd.
Mae chwe merch a'n hannerchan,
O chwe arglwyddesau glan;
Cynthia weddus â'i chusan,
Dangosa ei gwyrthia i'r gwan.
Semile ddi semlwedd,
Heb wra a fu buredd;
Thesbi rhag trueni trwch,
Heddyw a fyn i'm heddwch.
Helpa Benelope beth,
Wycha dim i'w chydymeth;
Elen fanog lan fanau,
A ddysg iawn-glod ddal yn glau.
Adelusia doeda'n deg,
A ddiwedda yn ddeuddeg.
Dyma gwest fydd gonestfawr,
Rho'n ferdyd mewn enyd awr;
Fy nhystion ar fy nhestyn,
Yw tri philer tyner tyn.
Sy yn ffenest orchestawl,
Da y gwyr hon y deg wir hawl;
Y ddwy ddôr yn ddiau ddaw,
Od eiste rhain, i dystiaw
Gwydr a'r plwm rhag gwadu
Y sydd yn hon a'i hoelion hi.
Blodau gwiw lysiau gleision,
Ymrysg haf a mor-hesg hon,
Do'n heno lle galwo gwest,
Drwy ffyniant draw a'r ffenest;
Au hefidens mewn sens sad,
I ddiwedd ar a ddywad.
Gwelwch drymed yw'r galon,
Gwae li hallt yn gwylio hon.
Moeswch ynghyfraith maswedd,
I'm llygad llon hon mewn hedd.
Ag o dylwn wiw dalu
Bernwch im' Wen gangen gu
Oni chaf i ddyn wych ir-wen
Am a ddywad ond gwad Gwen,
Yn iach fyth, o nŷch i fedd
Gwael i f'oes goclio i faswedd.

---

## Y CARIAD-WAS YN DANGOS EI DRASERCH.

Nos da i'r ferch onesta fu,
Oleu addwyn ael loyw-ddu.
Glaiar wen eglur waneg,
Gwiw-dlos dyn lygad-las deg.
Loyw-rudd wefus larieidd-fwyn,
Hudoles falch, hoyw-dlos fwyn.
Oer oedd i'm ar ryw ddameg
Erlyn dyn diweir, lan deg;
Swydd a roes y sydd resyn,
Swydd sydd dwyll i suddo dyn.
Bardd wyf heb awr ddiofal,
Byw'n wr dig heb un awr dâl;
O thry i'm gur a'i threm gwalch,
A lliosiad llygad lliw-galch;
A'i gradd o galch, a'i grudd gwyn,
Ag ael faimddu, gloyw fwyn-ddyn;
Ni chaf un dydd ymddiddan,
Nag un nos â'r loyw-dlos lan.
Ni chaid o fodd ei cheidwad,
Ni chair un gair ond a gad.
Minnau gaf heb orafyn,
Amnaid bach, mwyn ydyw hyn;
Awgrym hon a'm gyr o'm hwyl,
Awgrym serch grymus orchwyl.
Doethair fydd dieithrwydd foddion,
Doethryw hardd, dyeithrwydd hon.

Fun sad fy newis ydoedd,
Fwrw gwawd i wenfrig oedd;
Cenais i'r dyn deg hynod,
A Gwen ni chlyw ganu ei chlod.
Gwen ferch a guriodd gwan-fardd,
Gwae fi'n ei hol gwiw fun hardd.
Y dwr o'm pen draw i'm pais,
Drwy alar draw a wylais;
Mae'n rhem hwnt, yn rhwym o'i hol,
Myn Duw fal y maen deiol.
Fun loyw-deg fanwl ydyw,
F'enaid yw'r llygaid a'r lliw!
Maglodd mab a'i threm wag-las,
Maglu clwy mae golwg las!
Gleiniau gwres glan yw ei gwraidd,
Gleision mewn cylchion calchaidd.
Meillion, saethyddion serch,
Main glas-fyw ymhen glwys-ferch.
Plaid serch, Gwenferch dda'i gwaith,
P'lethau a gleiniau glanwaith;
A sur olwg, myn Iesu,
Sy dan did o sidan du.
Gwenholiaid yn gwau'n hylwydd,
Gweilch beilch gloyw-feilch, seilfeilch swydd;
Ffynhonau hoff iawn unwedd,
Ffriw deg iawn ei phryd a'i gwedd.
Hoyw-rudd rywiog hardd riain,
Hi a ladd fab a'i hael ddu fain!
Gwan-fab wyf dan law Gwen-fun,
Lladded fi, neu beidied bun!

---

## CYWYDD

I OFYN LLWYTH O YSLATUS, O CHWAREL Y CAE HIR, GAN ROWLAND THOMAS, LL.D., DEON BANGOR YN Y FLWYDDYN 1570.

I ein llen o holl Wynedd
Y mae'r glod am aur a gwledd.
Dëon o'r Côr, dyn i'r call,
Doctor yn Mangor, mwyn-gall.
Dëon ail sydd Deiniol Sant,
Dwg y traul Doctor Rolant.
Saethu hwyldon saeth haelden,
Ergyd i'n yw rywiog-waed nen;
Ergyd heb plyg ar gadw plâs,
Yn mhob tymhor, mab Tomas.
Dy lîn, pawb a'i dylynen
At waed Rhys ab Tewdwr hên;
Wyr Robert dewr o Bortwin;
Ac at dri-bwrdd gwaed Robin;
Llawn yw dy glod, llew du glan,
Llew gwych oll o Gochwillan.
Braich adail Howlbwrch ydych,
Gwin-ddail Owain Gwynedd wych.
Blin oedd glwys imp blanwydd glân,
Heb dew i'r-goed Bodorgan.
Dwy wlad sydd, dyledus Sant,
Dan *rule* y Dëon Rowlant.
Ti a wyddost mawr-bost Môn,
Heini Dâd, enaid haelion;
Lladin, heb air colledig
Llwybr goreu oll, Ebryw, a Grig.
O Rethorig chwi yw'r Athro,
O Logic, chwi yw brig bro.
Arithm'tig, musig, moeswych,
Astromi, Siometri sy'wych.
Wrth gymal cyfraith Ganon,
Eurner yn mysg oruwyr Môn.
Eisteddwch ruliwch Rolant,
Sivilian Côr sy o flaen cant;
Gramarian a grym eres,
Ac fal un ffriw, cyflawn a ffres.
Anhawdd cael uwch cynnydd clêr,
Gydymaith gwedi Homer.
Un gwr sy mwy nag eraill,
O haner llath mwy na'r llaill;
Gwr o'r gard, ag a roi'r gwin
Grair hybarch gorwyr Robin.
Tudur ab Robert waedol,
Tŷ a wnaeth;—mae tô yn ol;
A gyru a wnaeth gywrain wedd
I chwi annerch, i Wynedd.
Toi mawr raid, tŷ Meiriadog,
Symudliw glas, medlai glog.
Cae hir, y Meistir a'i medd,
Cynan Meiriadog Gwynedd.
I newyddhau y Neuadd hon,
Rhwydd y daw rhodd y Dëon;
Oer tô gwellt, i wr teg âch,
Ysglatus y sy glutach;
To sy' deg i tŷ o stad,
Teils rhuddion tlysa rhoddiad.
I'w siambrau ais am y brig,
Siwr cair treinsiwrau cerrig!
Neuadd wen fynydd anwr,
A chen draig ar dŷ y gwr.
Porth i wr sy' parth a'r ser,
Plas a'i gob mal plisg wiber.
To a gai galch teg ei wedd,
Tonau ar ben ty annedd.
A'i dolenau dal anwn,
Yw'r to hardd ar y ty hwn?
C'lymau main, clo am y mur,
Crest at iâd Croesdy Tudur.
Gwe rudd ar y gaer iddaw,
O gerryg drud y graig draw.
Brethyn aur yn britho nen,
Brig iawn o Aber Ogwen.
Eglur bais, gwelir o bell,
Lawnder waith o lun traethell;
O du'r haul ar dyrau hwn,
Dysgleiriai dysglau anwn.
Cau ar y nen, cywrain waith,
Cerryg da dyblyg dabl-waith.
Pinier, ac nid camp anwych,
Pen Neuadd wen annedd wych.
Pwyntiai'n rhwym, pen y tŷ rhudd,
Plas fal eirias loyw-rudd.
Breichlen y nen yn unyd,
Breithlas wybr wenlas bryd.

Cardiau o fol craig hir-deg,
Cwareł wyd dull cwrlid teg.
Teisenau, cacenau cain,
Tefyll, crefyll, o'r croyw-fain.
Ysglodion rhuddgron rhwydd-graig,
Ysgyrion croyw eigion craig.
E ddwg llong rhwyddgall angor,
Ugain mil 'r hyd eigion mor;
Y llongaid a ollyngir,
Rwyddłam deg, i Ruddłan dir.
Duw a rano dair einioes
Duw'n rhwydd i'r Dëon a'i rhoes.
A chlod fraisg uchel hyd frig,
Yt' cair, tra fo dŷ cerrig.

---

## CYWYDD Y LLWYN GLAS.

Y llwyn a'i wisg oll yn wyrdd,
Y llen lwys a'i lliw'n las-wyrdd;
Llwyn anial llawn o annerch,
Llwyn gwiaił mwyn, lle i gael merch.
Llwyn go las, llen a gwely,
Llwyn glwys, a thwyn glas a thŷ.
Ar lwys-wydd, gwiw-wydd gwiail,
Ar loes deg dan ir-łas dail;
Mae yno dwyn yn min dol,
Y 'min afon a man nefol;
A nithio mawr nythu mwy,
Rhyw lwyn ail ar Lan Elwy.
Naw gwialen yn ei gŵlas,
A nen uwch ben onen las;
Un yn gauad mewn gwiail,
Mae nant ddofn a mynwent ddail;
Ag eglwys o du'r gogledd,
A mainc y lluniais y medd.
A chwrt hardd gyda chôr teg,
A chlochdy uchel wych-deg.
Hardd glochdy wrth dyfu dysg,
Bedwen, baladr-wen, belydr-wrysg.
Clych mwynion clywch i'm anerch,
Cloc gyda sieims clicied serch;
Y gog las-deg eglwysdy,
Yw'r gloch fraisg a glywch fry.
A'r sieims gwych sydd ymysg gwynt,
Yw'r sieims adar, masw ydynt.
Ag yn y coed dan gangau cyll,
Fintai o wyrddion fentyll:
Cantorion cyson eu cerdd,
A gwiw organ gywir-gerdd.
Eos o câs is y coed,
Y sy organ is argoed:
Pedair llinos heb beidiaw,
Cwiristers ynt yn eu cwrs draw.
Y mae allor a meillion,
Mae nef, fry y 'min y fron.
Cyw bronfraith weniaith annerch,
Crys aur yw Ficar y serch:
A phrelad, hoff eiriołwr,
Ar wynfyd i gym 'ryd gwr.
Hardd fwyalch, difalch mewn dail,
Dorddu, mewn pulpud irddaił:
O'i big aur, drwy fawrhau rhâd,
Y cair holl siamplau cariad:
O'i łyfr cawn lafur annerch,
Bwrw gwaith mwyn bregeth merch.
Ffraeth ei bregeth yn traethu,
I'r ganaid yr â'r gown du.
A threiglo iaith rywioglan,
Wyth-ryw serch, i'r loyw-ferch lân.
Erchi wnai fyth i'r ferch fwyn,
Dyfod at waelod tew-lwyn:
Gwnaed y gwawr, ganaid araf,
Gyngor hwn dan gangau'r haf;
Deued i eglwys da-wyrdd,
Doed i'r 'llŷs, coed Iarlles cyrdd.
Dysg wersi, dasg gywir serch,
Y saith bechod, marw o serch.
Ond drwg iawn ydyw'r gweniaith,
Y sydd yn waetha un o'r saith?
A naccau oed, dan goed a gwŷdd,
Torri oedau yw'r trydydd.
Ag addaw yn deg wiwdeg wedd,
A dilyn anwadaledd;
A throi tro trwy athrod rhai,
A rhoi cas ar a'u ceisiai.
Ysywaeth oer yw y saith hyn,
Adwyth ar gariad ydyn'.
Gwrandawed gair un duwiol,
Gwen draw, a gwnaed ar ei ol;
Ag o wrandaw gwir iawnder,
Y bregeth, beroriaeth ber,
O'r man hwn yr â meinir,
I dal nef o dew-lwyn îr.

---

## CYWYDD I MR. ROLANT PILSTWN,

### MAB SYR SION PILSTWN.

Yr awen fraisg o'r nef fry,
Maer wyt hawddamor ytty!
Ni ferwais fewn y frest fau,
Trist oeddyt erys dyddiau;
Hylaw ydoedd fy helynt,
Hwyl can goed *Helicon* gynt;
*Nois* rywiog naws yr awen,
Nescis at *Barnasws* hen!
Calon fwyn cael yn fynych,
Cloi pwnc *Calïope* wych.
Weithian heb waith yn y byd,
Casa gradd cysgu a oeddyd!
Yfaisd di anghofus daith,
O wlith hen *Lethe* unwaith!
Cysgu 'n hŷ cas geny hyn,
Deffro wrth rodio'r dyffryn:
Dyro fawl wrth drafeiliaw,
I'r gwr da wraidd, o'r gaer draw;
Y Carw osglog hir wisglaer,
Y Siri gwych ar Sir Gaer:

Rolant wr hael naturiawl,
Rhwydded i Feirdd hau dy fawl;
Pen at wrsib paun teir-sir,
Pilstwn ap Elystan hir!
Llawen yw'r wên ar wyneb,
Llew Syr Sion, o'r llys i'r Sieb.
Mold at rym, mal y tad draw,
Marchog gynt a meirch gantaw;
Sein dewrwas hynod arial,
Sion dy daid, sy yn dy dal.
Sarph gwynias Syr Ffwg onen,
Siars a rhwysg Syr Rosier hen.
Swn o'r gaer synwyr i gant,
Siambrlaen hyd ynys Humbrlant.
Nid wyd lai o dadleuen,
Na'th dad hael, ag na'th daid hen!
Gwalch glew o hil Gweilch y Glyn,
Gwalch Maelawr dan gylch melyn;
Llath o ruddaur lle'th roddwyd,
Llafn aur o Lynllifon wyd.
Chwitmau sy uwch at hen sel,
A'r Fychan's arfau uchel.
Dwy Went genyt hwnt gynnydd,
Ag ar ddwy Went i Gaerdydd:
Calon y wlad y'th adwyd,
Calon Sir Caernarfon wyd:
Gwinwydd Ffraingc a gynydd ffrwyth,
Gwinllan o bum ugein-llwyth:
Gwr amsawd grymus ydych,
Gwr llawen a gair llawn gwych;
Ag Annes rywiog uniawn,
Sy ddoeth a hysywedd iawn;
Llaw Annes yw'n llawenydd,
Llawer i'm o'i llaw a rydd:
Son am hon sy iawn yn mhell,
O Gaersallawr gwrs well-well.
Gwawr Rolant ag ŵyr Wilym,
A gwin a saig gynes ym.
Gwresog ei chog a'i chegin,
Gwyr Iesu gwych gwres ei gwin.
Ei seigiau am gwresogan',
Sew o garw coch, a siwgr can.
Pa lwyn gwaed heb blanu gwŷdd,
Palis nawoes Plasnewydd?
Pa dir sydd pe doi ryw son,
Heb blanu heppil union,
Marsia ŵyr Morus a'i wŷdd?
Mawr fu enw mur Eifionydd.
Aed lwyth hardd waedoliaeth hon,
At disigl waed twysogion.
A'r glod ar gerdd dafod aeth,
Iti Rowland wr helaeth.
Post drud hapus dewr ydwyd,
Piau'r ffair wŷch praffhau'r wyd.
Brau wyt Eryr bryd tirion,
Os brau mab a gafas bron.
Dewr wyd ŵr hael drud yr hawg,
Os dewr gwr dwys trugarawg;
Hael didwyll hylaw dedwydd,
Os hael dyn is haul a dydd;
Call ar ddadl cellwair ddoedyd,
Os call mab arall o'r byd;
Glew ydych enwog wladwr,
Os glew neb, os glan o wr;
Dyn glew a chall dan y cylch aur,
Darn oeddyd o'r newyddaur:
Rhoi'n llawen yn d'awen di,
Rhy brudd fydd rhai heb roddi;
A'r cybydd bob dydd diddim,
O'i wraidd oll ac ni rydd ddim.
Ple syberach plas barwn,
Brytwn hael byw'r wyt yn hwn:
Dy borth lle mae'n hymborth ni,
Diddanwch dy ddaioni.
Dwyn y glod a wna glewdwr,
Drws heb gau da wrsib gwr;
Byw yn y'th gwrt benaeth gwych,
Ag ar gynal gwyr genych;
Awch a'i genych i ganwr,
Ag ail i'ch tad gwalch y twr;
Awn i'th ol ddiweniaith hawg,
Awn dan gesail edn gosawg:
Oes dyrfa glwys dref a gwlad,
Oes dwrn na bai gost arnad?
Nid gwr onid a garoch,
Nid heb wal un adwy b'och.
Gwr o wŷdd braisg, wraidd a brig,
Gwr gwaraidd o'r gaer gerrig.
D'air a hana drwy'r heol,
A'th air a dŷf fyth ar d'ol:
A modd gwirfodd goreufath,
Amgylch byd i'm gael eich bath!
Rhodded Iesu'r hydd dwys-wych,
Rhwysg fawr, a hir-oesawg fych.

---

## BUSTL Y BYD.

Agor nef wrth lef araith lafar—dyn,
Duw anwyl fendithgar:
Och Dduw edrych y ddaear,
Dal o'th fodd dy law a'th fâr.

Dal y cledd diryfedd drud,
Dal awr rhag dial dy lid;
Dyro ein Duw, dirion Dad,
Dy ras i bawb dros y byd.

Angheuol yw'r byd, anghywir—yw'r daith
Y gau lawer gwaith a gâ le'r gwir.
Gwŷr yr eglwys lwys a lysir—am chwant,
Ariant a gadwant, ag a'u gwedir.
Bugeiliaid deilliaid a dwyllir—rhoddion
Angylion, person tyn y pyrsir.
A'r bugail di sail dwys holir—am hyn,
Y Cnu a ofyn ag a'i cneifir;
Fe â'r blaidd truanaidd at'r wyn—i geubant,
A hwynt a gadwant, ag a'u gwedir.
Yno'r gau dduwiau ddelwau addolir,
A ffydd iawn grefydd, beunydd ni dderbynir.
Llyfau ar forau arferir—camwedd,

Pob gwagedd faswedd a ddyfeisir;
I lun Duw ei hun ni henwir—y'lusen,
A phren neu geubren y fo a'i gwobrir;
Ysgrythyr lan lydan ni chofleidir,
Ond swynion moelion a ganmolir;
Parchwyd gau dduwiaeth, perchir—ysywaeth;
Pregeth dda i ystyriaeth a ddiystyrir;
Llygrwyd y grefydd, llygrir—yn wastad,
Llygriad drwy fwriad draw arferir.
A gwobrau'n rhestrau rhwystrir—cyfiawnfarn,
A llaw daer gadarn y lleidr a gedwir!
Dod dy siec'ed gled ar glir—wybodaeth,
Drwy gaeth brofedigaeth, fo a'i dygir;
Usuriaeth helaeth holir,—llog arian
Yn uffern dân dylan y dielir!
Pen Ustus nawllys ynillir,—at farn,
Etto ag arian atto y gyrir;
A phrynu cyfraith lle ffrwynir—y gwanddyn,
A pheirianau dyn, a phrynu ei dir.
Y Cwest di onest a dynir—o'r tân,
Gan na fae arian, y gwan a fwrir;
Wrth fryf y siryf mesurir—camau,
A'i freibiau yntau fry a beintir;
Ystus heddwch trwch lle' trechir—gweiniaid,
Daw ar ei enaid dirwy anwir.
Gwŷr y gyfraith taith tuthir,—i'w palasau,
Ag nid oes godau nad ysgydwir!
A'r Cwnstabl breinabl a brynir—â grod,
Daw iddo anglod o deheuglir.
Sietwr, a Chrwnwr Suttir,—attynt
A breibio iddynt, obry y byddir:
Rhyfedd i'w 'r Senedd lle symir—y Pwrs,
Ag nid oes gobwrs nad ysgubir.
A'r truan gwŷl wan lle nis gwelir—tâl
Y sy gam anial, a ysgymunir.
Os daw taer raglaw treiglir—i'n cosbi
Yn oes y baili, y'n ysbeilir.
Promowtwas diflas a deflir—i ddiawl,
Bath anwych wrawl byth ni cherir.
A'r rhingyll trythyll traethir—ci gyflog,
A gŷst dwy geiniog os digonir.
Cerddorion deillion a dwyllir,—yn rhwydd
I ganu, celwydd gwn y coelir;
Cynghorion rhwyddion ni's rhoddir,—gan gâs,
Y gair cras diflas fo'i teflir.
Rhinwedd ddaiawnwedd ni wyddir,—sobrwydd
Ffladrwedd hoen fudrwedd, hyn a fedrir;
Balchedd pob buchedd perchir—godineb,
Ffoleb glythineb byth ni thynir:
Anhappus yw'r byd na wypir—i bwy
Am dda o'r adwy'r ymddiriedir.
Trecha yw'r trawsa lle treisir—y gweiniaid,
Y gwana gwaedded, gwn y gwyddir;
A'r trawsion beilchion fe'u bylchir—yn rhydd
Di wyr wych ufydd fo'u dyrchefir.
Ymendiwn cyn myned o'n mwyndir—bydol,
Duw enwog rasol fe'n dawn groesir;
Peidiwn poenydiwn nodir—gweddiwn,
Edifar wylwn, y dwfr a welir;
A rhwygiad calon yr anrhegir—y tad,
Nid rhwygiad dillad, a deallir;
Trown i gyd a'n bryd i'n brodir—at Dduw,
A gan'r Unduw ni gawn randir;
Archwn arweddwn fe roddir—i'n hwn,
Cnociwn neu gurwn, ag i ni agorir.

Agor nef wrth lef araith lafar—dyn,
Duw anwyl fendithgar;
Och Dduw! edrych y ddaear,
Dal o'th fodd dy law a'th far.

Dal y cledd di ryfedd drud,
Dal awr rhag dial dy lid,
Dyro ein Duw dirion Dad,
Dy ras i bawb dros y byd.

---

## DIGRIF-WAWD;

NEU, EFELYCHIAD "ENGLYNION Y MISOEDD,"

GAN ANEURIN GWAWD-RYDD.

Mis Ionawr myglyd dyffryn,
Gnawd cwrw lle bo cerwyn;
Gnawd medd' dod o'r hopsyn,
Gnawd i'r moch dirio rhodyn;
Gwych fydd lliain a brethyn,
Da fydd bara ag ymenyn,
Gnawd Saesneg y Mhrestatyn,
Gnawd pigog ddail ar bren celyn,
Goreu caingc ar y delyn,
Caingc Arglwydd Llywelyn.

Mis Chwefror, anaml anewyn,
Llawn o desach fydd morwyn;
Gwell fydd llefrith nag enwyn,
Gnawd cneifio lle bo tollwyn;
Gnawd cnau lle bo collwyn,
Gwell gan bob rhian addfwyn,
Glybed o Yal na dwr swyn;
Oera tymor yw'r Gwanwyn,
Siccra i'r allt yw'r pystolwyn.

Mis Mawrth mawr ryddid Adar,
Caled yw cwyno rhyd franar;
Morgan Eurych sy 'ngharchar,
Gwych yw glŷd i ddal adar;
Ceisied pawb ei letty'n gynar,
Ag onide fe fydd edifar,
C'weiriwch delyn yn gerddgar;
Ni ganwn gywydd pedwar,
Glana merch ar y ddaiar,
Ydyw Modryb Gwenhwyfar.

Mis Ebrill wybraid gorthir,
Da fydd cwrw gwell fydd bir;
Pan ddel dail ar y coed-tir,
Llawer morwyn a gynhuchir,
Llawer crimog a dorrir
Ar draws meinciau gornel hir,
Gwell a fydd morwyn ysdlysir,
Na ryw hen wrâch gedor hir,

Gnawd gwenith lle bo cleidir,
Goreu dim yw dyn cywir.

Mis Mai difrydus geilwad,
Hen ddyn a fydd anynad;
Hawddfyd i Abertanad,
Dyn prudd annedwydd ei stâd;
Cybydd a fydd yn wastad,
Aer y Preion sy'n wastad.
Yn porthmonaeth hen ddillad;
Gwaetha tân yw tan glauad;
Gwir a ddywed yr offeiriad,
Goreu llwdn, llwdn dafad;
Gwaetha dyn yn y farchnad,
Ydyw hen ddyn anynad.

Mis Mehefin, hardd Tiredd,
Wrth hir yfed yr hen fedd;
Cyffelyb lladd celanedd,
Od a yr gwŷr i ddal eiddigedd:
Fo anrheithir yr holl wragedd,
Mi a glywais chwedl ryfedd,
Fe aeth y byd yn benna edafedd,
Fe droes y gwynt i'r gogledd;
Pe 'y cerddech dair Sir Gwynedd,
Odid cael gwain trydedd.

Mis Gorphenaf, hyglyd gwair,
Odid morwyn yn ddiwair;
Cnawd tanllwyth lle bo cludair,
Gwych yw eistedd mewn cadair,
A chael telyn rawn gowair;
A rhoi march mewn llyffethair,
A thwymmo'r traed a'r esgair;
A chanu cywydd deu air,
A'r odart ar dy gyfair;
A gweddio ar Dduw a Mair.

Mis Awst molwenog morfa,
Gwell y fydd cwrw na bara;
Oer yw Mynydd y Wyddfa,
Chwanog yw merch i wra,
Yn ei deuddeg o'r pella:
Pan fo'r brithyll brych yn wrda,
Fe fydd gwenith yn y Morfa,
Pwy bynnag a êl i wreica,
Anhapus fydd ei goppa.

Mis Medi mydr ynghanon,
Fe â Sion ap Rhys i'r Werddon:
Cyfraith Cerrig y Drudion,
Fe losgir penwaig cochion;
Lle bo gorau cymdeithion,
Y bydd pyrsau tylodion,
Lle cynygir tocynion,
Fe fydd gwraig y ty'n ddigllon;
Fe fydd syched ar ddynion,
Ar ol y penwaig cochion.

Mis Tachwedd tuchan merydd,
Alawddfyd i Wiliam Bibydd;
Gore gwyr yn y gwledydd,
Sydd yn Sir Feirionydd;
Os gwir yw chwedlau Gruffydd,
Fe feddwodd Rhisiart Bibydd;
Gwaetha dim cwrw newydd,
Hwnw a rwystrodd y menydd;
Gwaetha dim gan y cybydd,
Ydyw clywed llawenydd.

Mis Rhagfyr, byrddydd, hirnos,
Elis bach sy'n agos:
Mae fo'n sorri bob pythefnos,
Ac yn meddwi heb un achos,
Rhowch afal mewn marwydos,
Llenwch gwrw ddechreunos,
Rhai a feddwant heb achos,
A rhai a erys ddiweddnos,
Pan fo'r dydd yn ymddangos,
Ceisied pawb ei letty'n ddiddos.

---

## CYWYDD I OFYN RHYS GRYTHOR,

### NEU I GEISIO EI FENTHYG EF, GAN SION TUDUR.

Y bardd iawndrefn bwrdd windraul,
Brytwn hen breua tan haul;
Sion Tudur pa saint ydwyd,
Hardd fodd llun, ŵyr Ddafydd Llwyd;
Hil braint alw hwylbren tylwyth,
Hael breuwych lin Howlbwrch lwyth;
Cawr wyd ar hwp, credir hyn,
Cry meistr, ryw ceirw Mostyn,
Draig mewn tarth megis Arthur,
Dyn dewrwych doeth dan dyrch dur;
Twr awenydd tarianawg,
Tarw a llew Cwrt Iarll y Cawg,
Carw ffel wyd Corph Elidir,
Cadair y gerdd yn cadw'r gwir.
Bwrid iawngof brwd angerdd,
Bwys drwy dor cwys, d'aradr cerdd;
Coffr y brud wyd, cyff i'r brau,
Cost maes erw, cist mesurau.
Ni wn iawngost Ion wingell,
Hwnt i gael berchen tŷ gwell;
Minnau dy frawd, Myn Duw fry,
A wyr hyn, mae'n wir hyny.
Wiliam ydwyf i alw mydr
Cynwal, ail cân loew wylydr;
Dymunais iawngais angerdd,
Drwy wiriaith gamp d'wr wrth gerdd;
Doed Rhys Cain dad rwysg cenedl,
Grythor chwidr, gwr uthr ei chwedl,
Hydd F'redydd o hyfrydwch,
Ifor a phlaid yfwr fflwch:
Carw cegdost, creciwr coegdwrf,
Cefn gwyll cariwr, cafn gwyllt cwrf;
Gwr gwirdda, bragiwr gwrddaidd,
Geirffraeth hy a gar ffrwyth haidd.
Coeg o langcfab ceg lyngc-fir,
Crechwenu bydd, crochan y bir:

O chae'r lleisiwr chwerw llaeswallt,
Seler win islaw yr allt;
Yfed yn dyn a fyn fo,
Fry ysgaf oni frwysgo;
Oddiyno glew yn ddyn glan,
I ryw dwll e rêd allan.
Brau draw'n ffest brwydro'n ffol,
Bragiwr hoew brig'r heol;
Yn ddyn dewr oddiyno daw,
Was gwan i geisio ei giniaw;
Eiste obry trwst ebrwydd,
Oer gwifr gwyllt ar gyfer gwŷdd.
Yfed yn rhad a dadwrdd,
O fir byth a fo i'r bwrdd.
Os o Frotgos frau atgan,
E fynnai Rys fwy na'i ran;
Wedi'r Biff rhoi ym ddiffaith,
Hwff drwy ysdwff dyrus daith.
Dwrdio di—bydd godardau,
Dadyrddu'n frwd dwrdio'n frau;
Wrth weled swrth waeled swydd,
Was digri heb osdegrwydd,
Mae'n edifar mewn deufodd,
Ar frys ofyn Rhys yn rhodd:
Oni all ffriw henllo ffraeth,
Fwrw dwylo fry ar dewlaeth,
Wedi dêl ni ddoed y dyn,
Heb law seler Plas Iolyn;
Tan y Bryn oes ty un bris?
Twr aelwyd Doctor Elis,
I gowain llym o gan lliw;
Oes well y meistres Eilliw?
A rhoed ei gri am ddiod,
Rhys ynhwr Prys, 'nhop y Rhôd.

—William Cynwal *a'i Cant.*

---

## ATTEB I'R CYWYDD O'R BLAEN

### AG I ROI RHYS IDDO.

Y bardd gwyn ebrwydd ganiad,
Heb air twn mal y bu'r tad.
Bardd distaw beraidd destyn,
Bardd i'r hael, beirdd a wyr hyn.
Wiliam Cynwal mae cenyd,
Awen gwell na nyni gyd;
Mae it rodd gwych, matter oedd gall,
Mwyned fu min dy fwyall;
Mawl a roist fal mêl er hwn,
Y nos heddyw na's haeddwn;
Archyd wr eirchiad dyrus,
Orchest drom, od erchaist Rys.
Blysiasoch blaau sessiwn,
Blys Rhys wrth gael blas ar hwn;
Blysio mab o les i mi,
Blysiasoch ebol sosi.
Rhois fy mryd Rhys, a M'redydd,
Ar ddilyn hwn rwyddlawn hydd;
Yma anodd i minnau,
Fyw awr heb Rys yfwr brau;
Baril a wnaed yn beraidd,
Bir gwrw ym' o'r brag haidd;
Os rhof Rhys eglurlys glod,
Siwr iawn yw, sura 'niod;
Ni hepgorwn hwn hy oedd,
Mwynair ddyn mwy na'r ddannoedd;
F'anwyl o d'wedaf uniawn,
Fo fu Rys gynt yn frwysg iawn;
Ni feiddiaf rhag anfoddau,
Am waith enw cerdd, mo'th naccau.
Nid yw onest nod anardd,
Nac yw fyth, roi nag i fardd.
Rhan y byd rhoi neu beidiaw,
Os rhoi, rhoi yn ddidroi draw;
Rhoi ydd wyf i, y rhodd fawr,
A chêg rwth, i chwi, Grythawr;
Llawenydd heb un dydd dig,
I Rys chwidr wr sychedig.
Ni all un mewn oll ynys,
Gwmpario holl gampau Rhys;
Rhys a'i olwg rhy seliad,
Rhuthrwr gwledd, anrheithiwr gwlad;
Mae hen ogan mynegynt,
Mawrddig aeth am'r ŵydd gynt;
Gan ei fysedd gwnae fischiff,
Ar werth mork o bork neu biff.
Trebl air ar ben trwbliwr bwrdd,
Traws attebion trwst tabwrdd;
Trip dellden trap dywalldiad,
Trap melin glap ymlaen gwlad:
Trystiwr glwth yn tristhau'r glêr,
Treiwr mitt drewi'r matter;
Cloch a naws croch ni's car rhai,
Clips cyndyn clap succan-dai;
Maccwy'r fall, mae cri o'i fod,
Moc os daw miccws diod.

. . . . . . . . .

Cyflwys uthr cof ar saethu,
Os cyfrwys ddyn, cwifr saeth ddu;
Cyw cras Rys, ceccrys reswm,
Cnoc chwerw moc'n chwareu mwm:
Praff draflwnge, prophwyd rhyflin,
Poen iaith oer, heb ben na thin:
Fflodiart yn ffwl a edir,
Ffwrba wyllt ni phery hir.
Gweodd a'i law'r gwŷdd o'i led,
Ag a'i ddwylaw gwe ddeuled;
Rhwttiwr yfed, 'rhyd trefydd,
Rhys fal *hobi hors* a fydd,
Yn wesdyn anonestair,
Ag yn ffol hoedan y ffair.
Pen pres ar bob rhodres rhydd,
A thafod o waith efydd;
Ag er bod tafod deifiog,
Mwyn yw ei grwth, myn y grog!
Croesa aderyn cwrs dyrys,
Croes Duw rhawg rhag crasder Rhys,
Call am siot cyw llym ei sain,
Cair gloewfod careg lefain;
Hwde Cynwal, dau cannos,
Hoeden a ŷf hyd y nos;

Hwde Rys wyllt, ddiras swyn,
Hwde er Mair, hudwr morwyn!
Hwda'r dyn, hwde ar d'ol,
Hwde mae'n well na hudol;
Hwde ar ddyw-sul arwydd Sion,
Nad i adwedd nod eidion;
Hwde felldith ddichwith ddyn
Dig a welwyd o'i galyn,
A'r aflwydd awchrwyd echrys,
I gyd eu rhof gyda Rhys!

---

## CYWYDD USURIAETH.

Mae un a'i barch mewn y byd,
A chyfoeth ag âch hefyd;
Ag a'i air a'i ragoriaeth,
Dros y byd a'i wrsib aeth.
Hwn a fyn hyn a fyno,
. . . . . . . .
Pendefig pwy un dyfiad,
Ag ar ei law gwŷr ei wlạd?
Os y glod fraisg a ledwn,
Fo'i caiff y pendefig hwn;
A chan dant i'w foliant fo,
Filwr rhydd, fal yr haeddo.
Iawn ymadrodd ran mydrwr,
I chwi ar gerdd iacha'r gwr;
Pwy yw dewr parod arian,
Y sy'n glips ar weision glan?
Usuriaeth fab serth ei fant,
Fab usuriwr fab sorriant,
Fab sych salwddrych iselddrem,
Fab y sut dlawd, fab suwt lem,
Fab hir wegil, fab rhy-gall,
Fab ceiniog llog ar y llall;
Fab gwarddig chwerwddig chwith,
Fab da ei fyn'd, fab di fendith;
Fab taeredd fab anheddwch,
Fab dirdra fab traha trwch;
Fab tywyll dwits, fab twyll dyn,
Fab cnwd hardd, fab cnoi tyddyn,
Fab powlio, fab bai helaeth,
Fab cneifio, fab hifio peth,
Fab eillio ef heb ellyn,
Fab blwng dig, fab blingo dyn,
Fab gorthrymder, blinder bla,
Fab aill uffern, fab lloffa,
Fab Satan caiff ran o'r ach,
Fab gwenwyn ffelsyn ffalsach,
Fab cnoi efrydd fab cnafri,
Fab credens, fab consiens ci,
Fab diaraf, fab dau eiriog,
Fab llwyr gribinio, fab llog,
Fab llidiog traws, fab lledwyllt,
Fab cainc o'r gowt, fab cancr gwyllt,
Fab y gath sowdl-fraith heb son,
Ddig wanffydd a'r ddwy gynffon;
Fab llw enbyd, fab llawn bwrs,
Fab diflan gasgl, gipgasgl gwrs,
Fab dichell, fab cymmell cwest,
Fab rwth iawn, fab brith onest,
Fab cydwybod fryntrod fraith,
Fab llw gafr, fab lliw gyfraith,
Fab tir uffern, fab trafferth
Fab gwiber goch, fab gwobr gwerth.
Tri pheth nad oedd waith traffol,
Canu hai acw'n ei hol;
Llwynog, blaidd, llawngabl wr,
A gwas wyr-was usuriwr;
Tri dyn nid oeddynt tra da,
Aent i ddiawl o chwant ar dda,
Ananias, Suddas hen,
Ar usuriwr cras aren.
Tri phoen trwm ar ledlwm tlawd,
A ddaw arnaw ddiwarnawd;
Breibiwr, a'r cribyniwr crach,
A'r Usuriwr sy arwach.
Tri dyn nid ant ar redeg,
I fynydd Duw fan ceadd deg,
Y celwyddog serthgrog swydd,
Ag a'i oglud ar gelwydd.
Y gwr a ddirmygo wan,
A gwr a logo arian;
Diau iawn y daw unawr,
I farnu i'n mysg Frenin Mawr!
Gwae'r usuriwr cras eiriau,
Difraw heb edifarhau.
Os i'r eglwys aroglwych,
Y daw yn gawr fal dyn gwych;
Ni son am ffydd na synwyr,
Son am obligasiwn a wyr,
Son am swyddogion ddegawr,
Son fyth am y sessiwn fawr,
Son am gwest ei orchest oedd,
Son am anudon ydoedd.
Drwg oedd fyth drwy wagedd fod,
Dirmyg ar air Duw ormod,
Moeswn i gyd byd heb wedd,
Llawn bechod wellhau'n buchedd,
'Mogelwn gwelwn y gwaith,
Suddo mal Sodom eilwaith:
Lot dduwiol oedd letywr,
Angylion Duw y'nglan dwr.
Gwae'r dyn a garo'r dinas;
Gwraig Lot aeth yn garreg lâs;
Brud dynawl bwriad doniol,
Bryd ar nef heb droi 'n ei ol;
Na thrown o'r aradr adref,
A dro 'nol nid â i'r nef.
Llawn beiau oll yw'n bywyd,
Llawn bai yw pob lle'n y byd;
Crin yw dyn câr ni adwaenir,
Nid car da ond Acr o dir!
Bywyd drwg yw byd rhygall,
Bradwr llwyr yw'r brawd i'r llall;
Wrth y nos, ewythr, a nai,
A'th gâr agos a'th grogai.
Pawb a wellhai mewn pob lles,
Pe bai faen pawb o'i fynwes.

Mendied pob un yn unyd
Drwy bawb, ag fe fendir y byd.

---

## CYWYDD Y GELYNEN.

Cenais wawd canoes i wŷdd,
Ag i adar o goedydd;
Teg gwelais lety celyn,
Rhoi gwawd hardd i'r coed hyn.
Wrth weled propred pob pren,
Nid glan ond y Gelynen:
Tŷ haf i letya hoyw-ferch,
Teml oes yw, yn teimlo serch:
Llŷs iraidd fry, llwys i'r frig,
Llŷs Bronfraith, llawes brenfrig;
Irddail is dol wyrdd-las deg,
A chlud i Fwyalch loywdeg;
Duw a roes gwrt yn dri sgwar,
Dibrin glod Dabernacl adar.
Perliwyd celyn llwyn pur las,
Purlawr glod, parlwr glas:
Mae aur a pherl mawr i'w phen,
Marc glan y'mrig Celynen;
Lliw Fenws oll feinaf sydd,
Lliw a enyn llaw eunydd,
Asur i'w bwys, is yw'r bon,
A chwrail yw ei haeron,
Toroian fort tô irwydd,
Gwiwlwys yn ei goleuo sydd;
Bort y Glyn bert Gelynen,
Brwys gwyrdd, a brisgwrdd o bren;
Siambr guddiedig, lasfrig lem,
Seintwar Eos, a'i hantrem;
Brig gwyrddlys, o barc hardd-lwyn,
Brenhines mewn llawes llwyn.
Cwplws a brig caplys bren,
Cyplau ail Capel Eilien,
Clydwr rhag y caled wynt,
Caer yw ei chwrt rhag croch is ynt;
A lle gochel pan ddelon,
I wan a chry' yn ochr hon;
A chlog laes i ochel gwlaw,
Llwyn Trystan llen dda trostaw;
Y fan cyrch ifangc a hen,
Yw'r Glyn lle bo'r Gelynen.
Ceir os daw'r gwynt croes, dy'r gog,
Clydwr i ddyn cul oediog;
A'r coedydd irwydd aeron,
A Derw braisg ar odre bron;
Yn noethion ar y fron frau,
Y gwynt aeth a'u henwau hwythau;
Rhew is wybren, rhiw ias obry,
Rhagfyr oll, a'i rhwygai fry;
A Chelynen wych lan-wisg,
Yn iraidd gain, wyrdd ei gwisg;
Hardd a gwyn fry, rhwydd gain frig,
Hi ddwyn dail ddydd Nadolig.
Acew'r haf y ceir hefyd
A'r un bais er oes y byd;
Ni cheir tynu ei chwrtas,
Ni wisgai ond lifrai lâs;
Ei grawn yn llawn ar wellhau,
Gyd a'i bargod yn bigau;
Da gwyr bigiadau geirwon,
Bigo 'n siwr lle bo gas hon;
Di sor wrth serchog, di swn,
Di bigog yw debygwn;
Solas baradwys helynt,
Simwr wyrdd, ni sioma hwynt.
Da ar gafodau oerion,
Ymroi o chaid y'mraich hon;
Diffrwyth ag oer goed ffridd gas,
Dyffryn heb Gelyn golas;
Herwydd tecced ei heurwallt,
Hi roed uwch gwŷdd, harddwch gallt;
Crist oreu gwr awdwr gwŷdd,
Cadwed frenhinbren coedydd;
Na's torer yn oes taerion,
Gwir nis tyr gwr onest hen;
Llaw Dduw'n fron hollddawn frig,
Llwydded rhag bwyall Eiddig;
Na bo'r coed neu barciau hen,
Na bo Glyn heb Gelynen.

---

## CYWYDD I'R DYLLUAN.

Gwn wneuthyd â gwên neithiwyr,
Gyfion oll oed, gwae fi 'n llwyr!
Ar lanerch, mi a'r linos,
Dirion iawn, deirawr o nos:
Daeth y ferch dylai ei pherchi,
A'm bun lan iawn, o'm blaen i.
Daethum i'r fan a'r llanerch,
Lle roedd y fun llarieidd ferch;
Cerais y ddyn cwrs oedd dda,
Cariad o'r modd cywira';
Siaredais soniais unawr,
Gwyr Duw mai o gariad mawr;
A ni'n llyn yn un llanerch,
Yn llawen, mi a'r feinwen ferch;
Y ddylluan lopan lew,
A roes gwaedd o wrysg ciddew;
Draig a ddylai, drwg ddilen,
Dychrynodd ag ofnodd Gwen;
Penodd am fu'r cwmpniaeth,
Draw o'r oed adre yr aeth:
Gwiddan y rhew'n gwaeddi'r hwyr,
Gwrach y llai, groch ei llaswyr;
Drygnad fel cyfarthiad ci,
Neu greg afr, yn ymgrogi;
Och i'r dylluan anwych,
Bendew o gwr eiddew gwrych;
Dar yn drwg di oer ei drem,
Drigeinlliw draig ewinllem
Gwaedd y fall o'r afallen,
A gwddw praff o geuedd pren;
Llais gwrâch drwy grach druan-grwth,
Llesg o bai'd yn llosgi ei bwth.

Neu fod llwynog llog lliwgar,
Yn dwyn gŵydd edn, ag Iâr.
Och i'w phen, aflawen flew!
Gwael ei swydd, o'r glas eiddew.
Aflan drwyn, felen a drwg,
Oer ddwyn o'r eiddiorwg;
Dau lygad gwibiad gwiber,
Y sydd yn debyg i ser;
Bwbach a gana bibau,
Blaidd gwyllt yn rhoddi bloedd gau;
Gwydd hell fron, ni haedd gwell fri,
Grog oedd, grïo a gwaeddi:
Gronw ddall pan fae allan,
A roe waedd a oerai wan;
Gwaeth ei llais afleduais lw,
Llesg rwnan na llais y Gronw;
Creglais gwaeth na'r cwryglwr,
O bydd ar ddull bawdd ar ddwr;
Cyw egwydd fain, coeg udfa,
Bloeddio 'n uwch na blaidd a wna:
Diawl o geubren hen yw hi,
Draiglem oedd, drwglam iddi;
Coegledd drain, cigledd druan,
Cyw athro brith, cwthr bran.
Gwylied hon gweled henyth,
O gil nant, gwely a'i nyth,
Diau oer fyth, o do i'r fan,
Noeth dwll fydd nyth Dylluan!

---

## ACHAU'R CYBYDD.

Y cybydd fab di fedydd dig,
Crwn uffernol, crin ffyrnig;
Fab chwant i gael y fantais
Fab poen byth, fab hen bais,
Fab cancrys, fab crwydrys rad,
Fab siwrl egar, fab Syr lygad,
Fab llogi'r aur, fab llan grin,
Fab rythwas, fab borth eigin.
Fab baw beth, fab cas beth cog,
Fab sur iawn, fab arianog,
Fab ewinog, fab anael,
Fab grydd i wedd fab rhodd wael
Fab a'i fitel ddi helaeth,
Fab hwyr lles, fab bara llaeth,
Fab saith gwlwm pwrs, fab syth-glust,
Fab craff iawn, fab creiau ffust,
Fab rhy ddig, fab prudd ei wên,
Fab hwyr llythyr, fab ben llathen,
Fab lawnddig, fab o'r henddull,
Fab llawes ddofn, fab llaes ddull,
Fab cul llwm, fab cael y llog,
Fab gwinon, fab y geiniog,
Fab gwandraul, ddidraul ddodrefn,
Fab llym gwael, fab llwm ei gefn;
Fab clo tyn, fab clwt henaur,
Fab cau ei ddrws, fab cuddio r'aur,
Fab di-ras Duw, fab trist wên,
Fab del i'w fab di lawen,
Fab anhawddgar i'w garu,
Fab ffroen ddig, fab uffern ddu.

---

## ACHAU YR HAEL.

Yr haeledd fab gwirionedd gras,
Hylaw rhoddion, hil urddas,
Fab daionus, fab dinag.
Fab llwydd waith, fab llaw ddi-nâg,
Fab gwrda rhyglydda glod,
Fab pur da, fab rhoi diod.
Fab diau fawl, fab da ei fyd,
Fab rhodd fawr, na fo pryddfyd,
Fab cyfion fendithion da,
Fab y gardod, fab gwrda,
Fab dillad, fab da ei 'wyllys,
Fab bwrdd llawn, fab harddu llys,
Fab pur odiaeth, fab brendeg,
Fab gwir i'w dŷ, fab gwên deg,
Fab caru cerdd, fab cywraint,
Fab difai erioed, fab da ei fraint,
Fab bedydd Mair, fab bydol,
Fab naf nerth, fab nef yn ol.

---

## CYWYDD MARWNAD SION SALBRI O RUG.

O Dduw Dad pa fyd ydyw?
Darfu am barch dra fo'm byw!
Byd serfyll fod ias oerfel,
Ba waeth i neb beth a wnel?
Os daiar sydd y Meistr Sion,
Ar d'wyneb glana o'r dynion;
Os marw Sion eisiau mawr sydd,
Marw yw enaid Meirionydd!
Marw yw Môn, ag Arfon i gyd,
A chyfoeth Dimbych hefyd!
Oes dan nef o eiste 'n iawn,
I roi yn gofus farn gyfiawn,
Soniaw am ustus union,
Ni bu'n dwy Sir neb ond Sion.
Byw ni'th gair, benaeth gwrol,
Beth a wna dyn byth yn d'ol?
Beth yw llu am allu mawr,
Heb lawenydd na blaenawr?
Beth yw lleng byth o wellhad,
O bae ffael heb ei ffeilad?[1]
Beth yw gwlad am geidwad gwr,
O bai gwlad heb ei gwladwr?
Beth yw Sir heb d'obaith Sion?
Sir sew i bawb sy'r awrhon.
Beth o bai dydd byth heb des,
Bod ynghwyn byd anghynes;
Heb wres aeth, heb ras weithion,
Heb des a haul hebod' Sion!
Heb gosbwr heb ofnwr balch,
Heb aur rug, heb rywiogwalch;

[1] *pilot.*

Drwy fawr had, dy roi fu'r hael,
Dy ddwyn a ydoedd anhael;
Llif a red i'th holl frodir,
Llai dafnau hallt f'enaid hir.
Dra fu'st wrth droi f'angen,
Dirfyw oedd hynt dy fardd hen;
Llawen bob ach ban y'ch byw,
Gruddion yn gof rhai heddyw;
Llawen chwerthin diflin fu'r daith,
Llawn wylo ymhob llan eilwaith.
Ni bu lanw neb olynol,
Na bai drai'n y byd ar ol.
Galw ar eich ol, gleiriach hen,
Yr wyf i, oer yw f'awen;
Di gefn wyf, di gofyn wir,
Di-ffrynd yn y dyffryndir;
Duw a wyr uwch daearen,
Di aur yn mhwrs, dori m'hen.
Di fraw sad, a deufriw saeth,
Di fost draul, a di-feistrolaeth;
Di letty'r wyl, mewn dyled draw,
A di ryddid i rodiaw;
Os daiarwyd ystyriwch,
Ystiwart Rhos, draw o'r trwch,
Iesu nef na b'aswn i,
O'ch blaen awr i'ch blaenori:
Blin i'm awr blaen wayw marwol,
Byd oer chwith, bod ar eich ol,
D'alw r'wyf, dolur afiach,
Tewi 'r wyt yn y tir iach;
E fu ddydd nefoedd yt,
Y tybiwn ym attebyt;
Atolwyn yt lawen iaith,
Hyd dy ben atteb unwaith.

### Atteb.

Taw Sion ai ti sy yna?
I ti ddyn, tewi oedd dda!
Dal ager dy olygon,
Drwy Dduw sych dy ruddiau Sion;
Gochel grio nag achwyn,
A chwardd fy mardd er fy mwyn!
A dwg ryw deg o'r awen,
A dos i Fachymbyd wen,
Ag anerch ferch i Farchawg,
Yr hon ni's gwelaf yrhawg;
Elsbeth da odiaeth ydoedd,
Feinael deg, f'anwylyd oedd;
Cywir oedd ferch, carodd fi,
Gwr oeddwn gywir iddi:
A dwg fy mendith bob dydd,
I'm plant ffyniant hoff winwydd:
A rhybudd fy aer Rhobart,
Dan bwyll ofyn Duw'n ei bart.
Anerch goreuferch grasol,
Sion fy mab sy'n fyw i'm hol.
Anerch Wiliam ar unoed;
Yr un ni's gwelais erioed.
Er Duw eilwaith, er dolwyn,
Anerch fy merch, er fy mwyn;
Ag anerch fy mrawd ganwaith,
A'm un chwaer, mynech o waith;
Dwg anerch am wir serch mwy,
Man cynes i'm nai, Conwy;
A theulu fy nai, Thelwal,
A'm nai Llwyd, mewn holl Iâl,
A phob dyn rhyfelddyn glod,
O bur hanes Salbri hynod:
A'm tetantiaid sobr blaid son,
A'm llysoedd, a'm holl weision.
O bum dra fu'm fyw'n y byd,
Wych winbost yn Machymbyd,
Yr wyf weithian rif wythwell,
Llaw Dduw mewn lle oedd well;
Gwr o stad i Grist ydwyf,
Gyda Christ godech yr wyf!
Yn iach weithian dan y dydd,
Y gwelom bawb eu gilydd.

---

## Y SALM GYNTAF.

Dedwydd yw'r gwr diwyd-waith,
Ar ni rodiodd mewn modd maith,
Wrth gyngor dygyfor dig,
Annuwiolion annelwig:
Nac yn ol annuwiol naid,
Dyrys ffordd pechaduriaid;
Nac eiste ar gytle gwych
Y gwatwarwyr, gyw taerwych;
Ond rhoi fryd hwnt trwy freuder,
Ar gyfraith dawn-waith Duw Ner;
A myfyrio mwy o fawredd,
Gair Duw fydd o'i gryd i'w fedd:
Tebyg fydd i'r fraisg frig bren,
A blanwyd yn bilionen,
Yn min dwr manau da,
A pher weithian y ffrwytha;
Nis crina'n oes carenydd,
Ni wywa'i ddail yn ei ddydd;
Nid felly y cair os air i son,
Rhan gwael yr annuwiolion;
Fel us yr â'r maleiswyr,
Gyda'r gwynt drwg ydyw'r gwŷr,
Ni saif'r anuwiol ffolair,
Yn y farn gadarn a gair;
Na'r troseddwyr serthwyr son,
I'r cof yn mysg y cyfion.
Can's yr Arglwydd a'u llwydda,
A edwyn ffordd y dyn da,
A ffordd y rhai drwy ffrom, ddrwg-ffraeth,
A'u dwg i golledigaeth;
Gogoniant nid gan ganiad,
Oedd orau tôn i Dduw'r Tad,
Gogoniant moliant mawlair,
I'r un Mab oedd ar fron Mair;
Gogoniant nid gwag anian,
Os brwd a gwlith i'r Ysbryd Glan:
Mal y bu mawl y bywyd,
Dichwerw bwyll er dechreu byd.

Y mae'r awrhon mawr wiriaw,
Felly bydd dragywydd draw.

---

## MARWNAD CLIDRO.

Aeth yn wan darn o'r deyrnas,
Clidro ail Iago a las!
A'i gwir lladd y gwr llon?
Os gwir, Duw a groeso a garon!
Mae eisiau pyngcio pencerdd,
A gawn ffurf ag awen fferf;
Ifainc rhwng y faingc a'r tan,
Clidro yn celu ei oedran.
Mae'r crwth uchel mewn heddwch,
Un swn a'r cwn mewn cwch.
Fo ofnai draw y mhen y dre,
Y bobl gan lais ei bill e;
A chwareu, a chae arian,
*Round about* ar y Smot lan.
Fo wnai beth ni wnai neb,
Falcad ar Gywydd bwcled,
Fo wnai gywydd marc clafr llyd,
O'i ben yn oreu'n y byd.
Ar gywydd gwr goreu heb gel,
Byrnhawn y ceir barn Howel.
Fo a redai y prydydd,
Coesfain o Degaingl bob dydd!
Bob wythnos â'i i Gaernarfon,
Crist oni's bob mis yn Mon.
A myn'd hyd Harlech gan bwyth,
A brystio yn Aberystwyth;
Yr ail dydd yr âi'r dyn,
A'i grwth i farchnad Ruthyn;
Y trydydd dydd i Waen Llwg,
A 'margenio yn Morganwg!
A hednaid i Aberhonddu,
A bwrw naid i'n bro ni;
Nid eiriad glera'n glyd,
Goblyn ar ddyddiau cablyd.
O Glocaenog y rhedai
Swyn gwib, i'r Fenachdid wnai.
Cyn y nos fal clos clyd,
Fal chwiw bren, i Fachymbyd.
Medrus mewn llys a llan,
A difyr yn y dafarn:
Gwae'r llongau sydd ar gwr y llaid,
I yspeilio o eisiaw peilaid;[1]
Gwae ysgolheigion y cyngor,
Am eu bardd crin, ar fin y mor;
Gwae'r tefyrn am eu mantais,
Gwae'r gwyr am ei gorph a'i lais;
Ni chair mwy na chywydd march,
Na hebog yn Neheubarth;
Mae'n debyg iawn ei lygad
Os byw, i'r Brenin Ysbâd;
Os marw'n mysg mieri,
Yn iach lawenydd i ni!
A'i Cythraul o ffalster fodd,
A'i llaw Judas a'i lladdodd;
Os lleidr islaw'r llidiart,
A'i lladdodd mewn prif-ffordd part,
Duw na bawn mynwn fy mod,
Yn ymcwest am y costod;
Rhown y dyn wrth gadwyne,
Am hyn draw ymhen y dre;
Y brain a dyna yn bla,
Ei berfedd ar draws y borfa;
Rhyfedd a ffyrfed ei ffon,
Clidro was, curai ladron;
Gwae fi na buasai'n y fan,
Howel gan trosol haiarn;
Y fo a roesai heb ruso,
Y lladron ffeilsion ar ffo;
Fe wnaethai draw yn y drin,
Yn bryd mwrdro brawd Merddin.
Nefoedd i enaid Clidro,
Wrth glywed ei fwyned fo,
Gorau crythor yn Nghymru,
Gorau fardd a fydd, ac a fu!

[1] *pilot.*

---

## Y PUMTHEGFED SALM,

### AR FESUR CYWYDD.

Arglwydd pwy, arogledd pell,
O'th bobl a drig i'th babell?
Pwy drig heb ddim dig neu dwyll,
I'th fynydd dedwydd didwyll?
Hwn a ddirmyg dremyg dro,
Y drygddyn, nawdd Duw rhagddo;
Hwn a rodia da yw'r daith,
Yn y bur ffydd yn berffaith:
Hwn heb gel a wnel er neb,
Cyfiawnder cyfa undeb;
A ddeuto wir ddiddowt iaith,
O'r galon heb ddirgelwaith:
Yr hwn nid ysglandria rhawg,
Gam adwaith ei gymydawg:
Hwn ni dderbyn ni fyn farn,
Treisfalch gyhuddiant trawsfarn:
Hwn heb bris arno ei hunan,
A fydd yn ufydd neu'n wan;
Hwn a barchodd hawdd hoywdduw,
Y dyn a fo'n ofni Duw;
Hwn a dwng mewn cyfrwng ced,
Wir, ac all er ei golled;
Yr un yn wir iawn a wnaeth,
Ni roes arian ar 'suriaeth;
Hwn a fo hyd ei henaint,
Yn ddi freib ac yn dda ei fraint;
Ac ni chym'rodd rodd rwyddwan,
Na gwerth yn erbyn y gwan.
A wnelo hyn hyd elawr,
Ni chwympa ni lithra i lawr;
Mawl i'r Tad a'r Mab cadarn,
Ac i'r Ysbryd gloywbryd glan:
Fal y bu deulu dilyth,
Felly sydd, ac y bydd byth.

## Y DIALEDD CAMGYMERIADOL.

"Yr ydwyf yn unig blentyn; O gyflwr athrist a pheryglus! Y mae baban di ymadferth ar fin serth-allt yn ddyogel mewn cymhariaeth i unig blentyn. Fy nhad ardderchog a dâ, nid oedd yn meddu nemawr, os dim, o ffaeleddau ein gwlad, (yr Eidal,) a'n hamser; efe a allai garu gyda chywirdeb a dyhewyd; efe a allai fadd-eu gyda boneddigeiddrwydd a charedigrwydd; efe a allai fod yn gyfaill i'r rhai y buasai eu dystryw yn enill iddo; yr oedd ef yn athraw i'w dywysog, ac yn hoff o'i wraig. Nid fel pe y buasai heb nwydau; na, yr oedd yn mhell o fod felly; ond yr oedd o fewn ei fynwes ystorfa o deimlad ardderchog a boneddigaidd, digon galluog i reoleiddio, a darostwng cynhyrfiad tanllyd yspryd poethlyd. Ni chyflawnodd onid un trosedd yn ei oes; a'r camwedd hwnw a gyflawnodd efe ar annogiad ei ferch: a chaiff llaw ei ferch wneyd cyfiawnder âg ef, ac ysgrifenu y llinellau hyn er puro ei enw ef, er i'r ysgrifell a'u llunia gael ei throchi yn ngwaed ei chalon ei hun.

"Unig blentyn ydwyf, a chlaer a theg oeddynt ddyddiau fy mabandod. Nid oedd gofal yn weledigaeth a ddeuai yn agos i'm gorweddfa, a thrallod ydoedd elyn na feiddiai ddyfod o fewn i'n hannedd; chwareuyddiaeth a difyrwch a oleuai fy llwybr yn nyddiau fy ieuenctyd, gob-aith a'm rhagflaenai i symud pob tramgwydd o'r ffordd; a chariad a ddylynai, ac a wênai arnaf fel yr elwn heibio.

"Pa ham yr ymdröaf gyd a'r dyddiau claer hyny,—dyddiau fy ieuenctyd? pa ham y dylwn gofio llawenydd boreu einioes? Gallasai yr holl flyneddoedd fod yn gyffelyb i mi; gallasai pob rhyw amser fod yn dyst o'm dedwyddwch; gallasai genethigrwydd fod wedi ei orchuddio â blodau dysgwyliad, ac wedi cyrhaedd o honof lawndwf benyw, gallaswn fod yn goronog â blodeu cariad; wedi myned yn fam, gallaswn gael fy addurno â rhoddion ac âg addunedau; a gallasai fy henaint fod wedi ei goroni â ben-dithion gobaith ac adgof—pe y mynaswn hyny fy hun. Eto, nid oeddwn yn blentyn pen chwiban nac ystyfnig. Gallwn garu hyd addoli; yr oeddwn yn caru fy mam tu hwnt i allu geir-iau gweiniaid i'w draethu; a byth nid ymedy ei llygaid duon yn craffu arnaf â'r serchawgrwydd dyfnaf â'm henaid. Yr oeddwn yn caru fy nhad hefyd; hoffwn ei ragoriaethau ardderchog, a'i weithredoedd nerthol; yr oeddwn yn ei garu, yr oeddwn yn ei edmygu, nes oedd fy nghalon ar ymrwygo wrth geisio cynnwys y serchog-rwydd gorlethawl a gynnyrchai y meddwl am ei holl diriondeb, a'i gariad, a'i ardderchawg-rwydd, yn fy mynwes. Ond, cu hunig blentyn oeddwn; yr oeddynt yn fy ngharu yn angerddol, a myfi yn unig. Hwy a'm dysgent, heb lith, heb ddarlith, drwy gymmundeb beunyddiol y cariad unigol, di ranedig hwnw, mai cael fy ngharu yn unig, oedd gogoniant, a dysglaerdeb, ymborth, ac ysbryd bodolaeth—mai cael ei garu yn unig, oedd y cwbl a wnelai einioes yn werth-fawr—mai cael ei garu yn unig, oedd heuldes, gwres, goleuni, ac egwyddòr fywiol bod. O gybydd-dra gogoneddus! O hunanolrwydd mawreddig a galluog! hyd yn nod yn awr, pan ydwyf yn ddyledus i ti am drueni,—nid yn y byd hwn yn unig efallai, ond yn y nesaf hefyd, —addefaf dy allu, cydnabyddaf dy oruchafiaeth; yr ydwyf yn teimlo mai cael bod yn unig wrth-ddrych cariad yw dyheuad ardderchoccaf natur, dymmuniad goruwch ein bodolaeth, ac mai i'r Duwdod anfeidrol y mae yn perthyn. Y mae yn ddysgwyliad cnfawr, beiddgar, ïe, annuwiol; eto myfi a'i meithrinais o'm mebyd; o'm blyn-eddau boreuaf teyrnasai o fewn fy mynwes, yn anadnabyddus, yn annarganfyddadwy.

"Yr oeddwn yn unig blentyn, ac yn cael fy ngharu yn unig. Yn ngolwg fy rhïeni anwyl, myfi oedd pob peth; gwênai fy mam arnaf o'r boreu hyd y nos; a phan ddychwelai fy nhad adref, o beryglon y rhyfel, neu ddadleuon y cynghorlys, efe a'm cymerai yn ei freichiau, ac a edrychai arnaf âg edrychiad a roddai ar ddeall i mi, mor gyflawn, mor drwyadl, mor angerddol y'm cerid. Yn y gwleddoedd am ba rai yr oedd ein tŷ yn enwog, pan fyddai plant y pendefigion cymmydogol yn ymarllwys i fewn, i fwynhau yr ysblander o garedigrwydd fy nhad, sylwais arno lawer gwaith, pan yn gorfod canmol tegwch, neu ledneisrwydd merch ieuanc rhyw deulu urddasol, yn siarad yn oeraidd, a llesg, tra fyddai ei lygad yn gwibio tuag at ei blentyn ei hun; a theimlwn, tra yr oedd efe yn rhwym yn ol rheolau cymdeithas i ganmol un arall, mai myfi—myfi yn unig a gerid, o'r holl rai gwychion, a phrydferth, a llawen; nad oedd ef yn canfod, nad oedd yn teimlo, nad oedd yn adnabod, unrhyw degwch yn neb oedd o'i amgylch, ond yr hon oedd anwylaf a hawddgaraf, i galon ei serchawgrwydd tadol ef. Fel hyn y treuliodd yr oriau hyd onid oedd mebyd llaith a gwlithog wedi myned yn mhell yn nghanol ei heuldes helaeth, a'i gawodydd prinion, tua haf cynnes llawndwf; ac eto yr un chwedl a elai yn mlaen. Yr oeddwn yn anwyl tu hwnt i bob peth ar y ddaiar; ac hyd onid oedd deunaw haf wedi tywynu mewn ysblander euraidd dros fy mhen, ni theimlais ond un cynhyrfiad yn cyrhaedd dyfnderoedd fy natur; a hyny ydoedd, cariad angerddol y rhai a'm carent i yn angerddol.

Deuai llawer un gan ehedfan o amgylch, fel ednod ar flodeuyn; ond yr oeddwn i yn teimlo yn gyffelyb i'r blodeuyn hwnw, prydferthion yr hwn a allasai eu hattynu, ond yr hwn, naill ai yn anymwybyddus o'r erlyniad dyfal a gynnyrchai; neu, heb gydymdeimlad â'r cyfryw, a barhâi yn dawel a di gyffro, tra y chwyfianai yr eilierau eu hedyn o'i amgylch.

"Yn y deunawfed haf hwnw y bu farw fy mam; hi a gymmerth ymaith gyfran o'r cariad a fuasai yn creiddio ynof fi; ond, hi a adawodd y gyfran oedd yn aros, yn fwy darddwys, a dwfn. Cyfrannogai hi ei hunan o gariad fy nhad gyda mi; cymerasai hi ran o'r serchawgrwydd hwnw, y sychedwn i am ei feddu yn gyfan a di ranedig. Mae yn wir ei bod hi yn rhoddi ei holl gariad i minnau yn gyfnewid; y tremiadau a orphwysent ar fy nhad, oeddynt yn ail mewn serchawgrwydd i'r rhai a fwriai arnaf fi; eto serchawgrwydd fy nhad oedd y gwerthfawroccaf i'm calon i; nid oedd dim yn wan, neu amheus, neu yn anurddasol yn y serchawgrwydd hwnw, neu yr amlygiad o hono. Yr oeddwn yn teimlo ei fod ef yn gwneyd aberth mawr wrth aberthu pob peth i'w blentyn; a pheidio caru dim yn debyg iddi hi; ond efe a roddai i mi gariad teilwng o gariad yn ôl; ac O! mor gywir, mor angerddol yr oeddwn yn ei garu ef!

"Efe a ymddiddanodd â mi unwaith neu ddwy am brïodas, ac am garu arall; ac ymddangosai ei fod yn meddwl ei bod yn ddyledswydd arno, yn enwedig wedi marwolaeth fy mam, i roddi trwy bob moddion yn ei gyrhaedd, gyfleusdra i mi i ffurfio cyssylltiadau newyddion, a galw fy sylw at obeithion newyddion. Ond, yr oedd y cwbl yn ofer, dychymygwn na's gallaswn byth garu â'r cariad am yr hwn y llefarai efe; credwn na allaswn byth deimlo at neb arall gariad mor gryf, mor drylwyr, a'r hwn a deimlwn tuag atto ef; a'm sylw gwastadol ar ei urddas ardderchog, a'i yni tanbeidiol, a barai i mi edrych ar y rhai oll a geisient fy nghariad, fel bodau eiddil, annheilwng o nemawr ddim heblaw dirmyg. Felly elai yr amser heibio; ac er fy mod yn gweled ei fod ef yn awyddus am weled y plentyn a garai, wedi ei uno a rhyw un a fuasai yn yr amseroedd cythryblus hyn yn alluog i'w noddi, pe ei hamddifadasid o'i fraich ddiffynol ef, eto ni's gallwn feddwl am y cyfryw beth ond gyda dygasedd. Ond, yr oedd yr awr a ddygai fy ffawd i'w chanlyn yn nesau. Yr oedd plasdy bychan, ac ettifeddiaeth fechan, yn gorwedd yn y dyffryn, o fewn golwg i'n hannedd, perchenog yr hon oedd yn bleidiol i Ffrainc, ac yn nghyfnewidiadau y dyddiau hyny, efe a ddisgynasai yn raddol, yn îs, îs, mewn cyfoeth. Pan fyddai y blaid Ffrengig yn ddarostyngedig, byddai yntau yn gorfod goddef erlidigaeth; a phan ymddyrchafai y blaid Ffrengig, efe a annghofid, ac a esgeulusid: ac felly treiglai i waered i fryn golud, yr hwn y mae mor anhawdd dringo i fynu iddo, gyd a'r fath gyflymder, fel y bu raid iddo gynnyg y gyfran olaf o diroedd ei dâd ar werth.

"Yr oedd y llanerch yn y golwg, fel y dywedais, o'n ffenestri ni; a dywedai fy nhad yn fynych y buasai efe yn prynu y lle; ond delai rhyw bethau eraill yn rhwystr, fel na orphenid y pryniad; pan ein synid un diwrnod gan y newydd fod yr ettifeddiaeth wedi ei gwerthu. Cyfodai y gwrid i wyneb fy nhad, a dywedai yn ddigofus, na feddyliasai ef fod neb yn Tuscany, a fuasai yn beiddio myned i sefyll rhyngddo ef â phwrcas a ddymunai ei wneyd. Efe a anfonodd un o'i swyddogion i ymofyn a oedd yr adroddiad a gawsai yn gywir; yr attebiad syml oedd, bod y lle wedi ei werthu. Fy nhad a gythruddid gan y newydd; ond nid aeth ei ddigofaint yn ddim pellach; a lliniarodd yn llwyr pan glywodd mai rhyw foneddwr tramor a'i prynasai.

"Yn mhen ychydig amser ar ol hyn, ar ddiwrnod hafaidd hyfryd, a ninnau wedi marchogaeth allan i ollwng ein hebogiaid ar y mynyddoedd, cyfarfuom â nifer o deithwyr ar feirch. Yr un a farchogai yn flaenaf, ac wrtho ei hun, oedd yn wr pendefigaidd yr olwg arno, heb gyrhaedd canolddydd einioes eto; ond gallasai fod yn dair neu bedair blwydd ar ddeg ar hugain; ac yr oedd bod yn agored i'r haul a'r ystormydd, wedi tywyllu ei wedd, tra yr ydoedd ambell i flewyn gwyn yn gymmysgedig a'r crychwallt du, a ddisgynai ar ei ysgwyddau. Yr ydoedd yn wr tal, a hardd yr olwg arno, ac yr oedd difrifwch dwys yn ei wynebpryd, yn dynodi llawer o feddylgarwch, os nad gofal a phryder; eisteddai ar y rhyfel-farch a'i cludai yn y fath fodd a'i gwnelai yn amlwg ei fod yn feistr trwyadl arno. Wrth fyned heibio, efe a gyfododd ei het, can gynted ag y canfu fod benyw gyd a'r fintai arall; ac yna trodd ben ei farch tu a'r ffordd a gyfeiriai at blasdy Montaroni, yr hwn, fel y dywedais, a werthasid yn ddiweddar.

"Yr oedd rhai cerbydau yn dilyn ychydig bellder o'i ol; ac un o'n gweinyddion, gan feddwl y buasai trwy hyny yn boddhau chwilfrydedd na oddefai urddas fy nhad iddo ei ddatgan, a ofynodd i un o'r gyrwyr wrth fyned o honom heibio iddynt, i bwy y perthynent. Y dyn a attebai, "I'r Iarll de Morney, yr hwn a farchogodd o'r blaen:" a phan glybu fy nhad yr enw, efe a ddeallodd yn y fan, mai swyddog enwog yn ngwasanaeth brenin Ffrainc oedd efe, gwr enwog am ei ddewrder a'i fedrusrwydd fel maeslywydd, ac am y boneddigeiddrwydd enaid hwnw

a ddyrchafa bob achos, ac a urddasola bob gweithred. Y wybodaeth hon a barodd i fy nhad benderfynu eisio dyfod i gydnabyddiaeth a'n cymmydog newydd; ond am beth amser bu ei gais yn ofer. Ni wnelai yr Iarll unrhyw gyfeillach â neb o'r pendefigion cylchynol. Ac aeth y gair ar led yn fuan, mai siomedigaethau chwerwon, yn cyfodi oddiar annïolchgarwch brenin, ac eiddigedd hoff-ddyn, a'i gwnelsai yn ddyn-gasawr annghyfeillgar. Nid oeddym yn dewis argymell ein cyfeillgarwch ar neb. Aeth hyn heibio, ac fe'i hannghofid; fel y gallasai yr Iarll fyw yn ein mysg fel pe na buasai yn bod mewn un modd, oni buasai bod rhyw adroddiadau am ei addfwynder, a'i gymmwynasau i'r werin, yn cyrhaedd ein clustiau o ddydd i ddydd, yr hyn a ddangosai nad *dŷn* a gasâi, ond y mawrion, efallai.

Un diwrnod yn yr hydref, tra yr oedd fy nhad yn absenol yn Fflorence, yr oeddwn wedi myned allan i farchogaeth, yn cael fy nilyn gan ddwy weinyddes, a rhai gweision; ar draed, ac ar feirch; ac, ni's gwn yn iawn pa ham, cymeraswn fy nghyfeiriad dros lechwedd y bryniau a orweddant gerllaw plas Montaroni. Ar yr ucheldir oddiar y lle hwnw, y mae creirfa, yn cynnwys darlun godidog o'r Forwyn Fair, gerllaw y man lle y mae y coed yn amgylchynu y rhanau uchaf o'r mynydd.

Ymdroais i edrych ar y darlun, ac ymgroesi. Yr oedd y gweinidogion ychydig o'r ôl; ac ar y fynyd hono, rhuthrai blaidd allan, o'r tu cefn i'r greirfa, a neidiai at wddf fy march. Y gweision a garlament i fynu, a'r bwystfil a ollyngodd ei afael, ac a ffodd; ond y march, wedi ei ddychrynu a'i archolli, a ddaeth yn aflywodraethus, a chan ymgodi a lluchio, a ymsaethodd fel mellten dros y bryn. Y gweinidogion a ddylynent ar lawn garlam; ond ni wnelai trwst carnau eu meirch hwy, namyn gwylltio yr eiddof fi yn fwy. Dynesai at ael y diphwys a groga oddiar yr afon: yn ofer yr ymdrechwn i'w attal; ac yn ofer y ceisiwn droi ei gyfeiriad; yn mlaen, yn mlaen yr elai; a chyn y buasai mynyd arall drosodd, buasai tŷ fy nhâd, yn ol pob tebyg, wedi ei wneyd yn annghyfannedd, pan y gwelwn ryw un yn neidio i fynu oddi rhwng y prenau, i ffordd y march. Iarll de Morney oedd efe; ac mewn eiliad cydiai yn ffrwyn yr anifail; ond nid oedd rhyngddo ef a'r diphwys namyn dau neu dri o gamrau byrion, a'r anifail a barhâi i ymgodi a lluchio; fel yr oedd einioes pob un o honom megis yn y clorian, dros yspaid yr ymdrechfa fer. Pa fodd bynag â nerth cawraidd, efe a orchfygodd gynddaredd yr anifail gwyllt, gan ei ffrwyno yn ol ar ei ffolenau, a chipiodd finnau yn llewygedig yn ei freichiau; a chludid fi yn y fan i'r plas Montaroni; a phan ddadebrais o'm llewyg, gwelwn yr Iarll yn edrych arnaf gyda dyddordeb mawr. Yr oedd geiriau yn annigonol i ddatgan fy nïolchgarwch ar y pryd; ac efe a wênai, ac a ysgydwai ei ben pan y ceisiwn ddïolch iddo; a dywedai, "Buaswn yn gwneyd yr un peth â'r tlottaf yn y tir. Onid ydych yn meddwl fy mod wedi cael fy ad dalu yn dda trwy ei wneuthur o honof i *chwi?*" Yr oeddwn yn meddwl bod y wên hono a chwarenai ar ei wefus falch a phruddaidd, y peth pryd-ferthaf ar a welswn yn fy mywyd; ac nid attebais air iddo: ond yr ydwyf yn credu i mi syllu arno yn dra dyfal; canys efe a wênai drachefn; a chymhellai fi yn daer i gymeryd ychydig win, gan ddywedyd ei fod ef yn canfod nad oeddwn wedi gwellau eto. Can gynted ag y datganais fy nymuniad i gael myned, efe a barodd fy nghludo adref yn un o'i gerbydau; ac anfonwyd yr hysbysiad am y ddamwain a'm cyfarfuasai, i'm tâd yn ddïoed. Efe a brysurodd o Fflorence boreu dranoeth, mor gyflym ag y gallai; ond cyn iddo gyrhaedd, yr oedd yr iarll wedi dyfod i ymofyn yn nghylch fy iechyd, ac wedi aros yn hir i ymddiddan gyda mi.

Byth nid annghofiaf y cyfymweliad hwnw! Byth nid â yr ymddiddan hwnw o'm côf. Yr ydoedd yn rhyw beth newydd, dyeithrol, a hyfrydol. Myfi a'i cofiaf byth; ac eto gallai fod yn anhawdd egluro yn mha beth yr oedd y swyn hynod a'm caethiwai yn y fath fodd, yn gynnwysedig. Ni wenieithiai i mi; ac hyd yn nod ni chyttunai â mi yn amryw o'm golygiadau; efe a'm cyfarchai, nid fel y'm cyferchid gan y rhai a ddaethent yn fwriadol i'm boddio a'm hennill; ni lefarai wrthyf megis wrth blentyn; ni lefarai wrthyf megis wrth fenyw; ond llefarai, megis y cyfarchai y naill feddwl dyrchafedig un arall; megis yr ymddiddanai un dëall cryf; un galon arddderchog, â'i chyffelyb. Efe a arhosodd gyda mi am oddeutu awr, a gadawodd fi mewn breuddwyd, wedi fy synu a'm swyno.

"Pan gyrhaeddodd fy nhad, ymollyngais ar ei fynwes ac wylais; ac efe a ddychymygai fod y dagrau hyny yn tarddu oddiar gyffroad teimlad am fy mod yn cael ei weled drachefn, wedi bod mor agos i gael fy ngholli iddo am byth: ond yr oedd teimladau tra dyeithriol yn gymmysgedig a'r rhai hyny, yn tynu y dagrau i'm llygaid; a threulid y dydd mewn breuddwydion effro. Yn ystod y dydd hwnw, fy nhad ardderchog a'm gadawodd, i gyflwyno ei ddïolchgarwch ei hun i'r Iarll de Morney; a dychwelodd yn ol wedi ei ddarswyno bron yn gymaint a'i ferch. "Yn wir" eb efe, "y mae ef yn ddyn ardderchog ac annghyffredin; ac yn awr, gan ein bod wedi tori trwy iâ ei neillduaeth, ni wiw i ni golli y fath gymdeithas, yr hon sydd i'w chael

mor anfynych." Ond, nid oedd yntau ei hun yn tueddu i'w cholli ychwaith bellach: ac efe a ddaeth drachefn dranoeth: ïe, deuai bob dydd. Efe a ymddïosgodd o'i neillduaeth i ni; a newidiodd gwrs ei ymddygiad ar yr hwn y penderfynasai, tuag attom ni; ac erom ni, efe a adawodd ei unigedd, ac a ymgymmysgodd a'r byd. Canfûm,—ac O! â'r fath falchder a llawenydd y canfum—fy mod i yn dyfod yn fwy na phawb arall iddo ef;—bod ei lygad llonydd, pruddglwyfus, yn goleuo pan y'm gwelai; a bod y wefus falch, benderfynol hono, yn meddalhau i wên ddysglaer, ar ddisgyniad gair oddiar fy nhafod; ac y byddai y llais gwrol, hyawdl hwnw, yn crynu gan ddwysder teimlad calon â'r hyn y llefarai, pan yn fy nghyfarch weithiau! O â'r fath lawenydd y canfyddwn ei fod yn fy ngharu. Ac fel y carwn innau ef yn ol! Ni's gallaf ei ddarlunio; na allaf byth! Sylwn ar bob symmudiad o'i eiddo, ac yr oedd pob symmudiad yn urddasol yn fy ngolwg; gwrandawn ar ei eiriau, ac yr oedd pob sain yn beroriaeth; pwyswn ar ei fraich, ac yr oedd pob cyffyrddiad yn llawenydd; syllwn i'w lygaid, a theimlwn megis pe y buaswn yn edrych i byrth y nef! Yr oedd y teimladau a ddeuent drosof bob dydd, yn ddwfn, yn orlethawl, ac angerddawl; ac yr ydwyf yn credu pe y buasai raid iddynt fod lawer yn hwy yn anlafaredig, ac annatguddiedig, y buasent yn fy ninystrio gan eu dar-ddwyster.—Buant agos a'm dinystrio; canys daeth amser, yn mhell, yn mhell wedi i'w galon ef gael ei chadwyno wrth yr eiddof fi; a'r eiddof fi wrth yr eiddo yntau, â rhwymau cryfach na chadwynau o adamant, pan yr amheuai, yr ofnai; pan ddarfu i newydd-deb ei deimladau, ei sefyllfa, a'i ragolygon, siglo hyd yn nod ei gyfansoddiad cryf, a'i feddwl dianwadal ef, a gwneyd iddo betruso, a bwhwman, ofni, ac ymdrechu,—ymdrechu yn ofer, i ddïanc o gaethiwed ei ysbryd mewn rhwymynau newyddion, ac anarferedig. Efe a ymgadwodd oddiwrthyf am agos i chwe diwrnod cyfan; ac O! pwy a all ddarlunio arteithiad tanllyd fy nghalon yn ystod yr oes faith, faith hono o amheuaeth, petrusder, ac ofn! Efallai na's gwyddai ef pa beth a deimlai; efallai na's gwyddai ef mor ddwfn, mor anadferadwy yr oedd ein hysbrydoedd wedi eu rhwymo, y naill â'r llall: ond yr oeddwn i yn ei wybod, ac yn ei deimlo oll. Yr oeddwn i yn teimlo fy mod yn eiddo ef, ac yntau yn eiddof fi; a pha ryw beth bynnag a gyfryngai rhyngom, y rhwygai rwymau einioes. Y dydd cyntaf o'i absenoldeb, gwyliwn am ei ddyfodiad bob awr; a cheryddwn fy hunan am fy annyoddefgarwch. Dywedwn wrthyf fy hun, mai y tro cyntaf ydoedd iddo ei abseuoli ei hun fel hyn; cysurwn fy hunan â'r meddwl y gallasai fod rhyw amgylchiad damweiniol wedi cymeryd lle i'w gadw oddi wrthyf. Yr ail dydd, ofnwn, ac amheuwn. A allai ei fod ef yn glâf? gofynwn i mi fy hun; neu wedi ei niweidio gan ryw ddamwain ddisymwth, fel na's gallai ddyfod i geisio yr hon yr oedd ei chymdeithas wedi cynnyrchu y fath gyfnewidiad rhyfedd yn ei holl ymarferion? Yn yr hwyr, aeth fy nhad i waered i'w annedd; ond efe a ganfu fod yr iarll wedi myned allan i farchogaeth yn mysg y mynyddoedd; a gorweddais i lawr, nid i orphwyso, ond i wlychu fy ngobenydd â'm dagrau. Y trydydd dydd a dreuliwyd genyf mewn myfyrdodau chwerwon a phruddaidd. Ffieiddiwn fy hunan, wrth feddwl i mi erïoed gael fy nghymell i adael tawelwch di gyffro blyneddoedd fy ieuenctyd: ac fel yr edrychai fy nhad arnaf, ac y canfyddwn yn nhremiad trallodus ei lygaid,—er fod nwydau cyffrous fy mynwes yn ymladd a'u gilydd mewn dystawrwydd, ac mewn tywyllwch—ei fod ef yn canfod y frwydr o fewn, ac yn deall yr achos o'r ymladdfa, ymddigiwn, cythruddwn, am fod unrhyw lygad yn edrych ar chwerwder fy nghalon; a meddiennid fi â theimladau tuag at y rhïant serchog hwnw, na ddaethai eu cyffelyb i'm mynwes erïoed o'r blaen.

"Y pedwerydd, a'r pummed dydd, yr oeddwn yn dawelach; ond tawelwch anobaith ydoedd! Yr oedd digofaint wedi darfod, gan roddi lle i dynerwch. Meddyliwn, ei fod ef wedi gweled llawer o'r byd, wedi ymgymmysgu â'r gwammal, a'r ysgafn, a'r anfad, a'r segur; ac y mae ei feddwl ardderchog fel yr adamant, wedi cashau yr anadl halogedig a dywyllai ei ddysgleirdeb rhagorol. Y mae efe wedi penderfynu na lychwina ef ei galon byth â chariad at yr un o greaduriaid anwadal a thwyllodrus y byd; ac y mae efe wedi dïanc rhagof finnau, rhag y bydd raid iddo oddef y teimladau hyny, y rhai y gall efe eu dysgu yn rhŷ dda. Trachefn, wylais ar hyd y nôs; ac ar y chweched boreu cyfodais, yn ymroddedig mae yn wir; ond â'r ymroddiad o anobaith; â'r ymroddiad nad yw yn cryfhau, ond yn gwanhau; â'r penderfyniad i ddyoddef yr oll a all einioes ei ddwyn; ond sydd yn edrych, ac yn hiraethu am, ac yn prysuro dyfodiad marwolaeth.

"Wedi y boreubryd, elai fy nhad i farchogaeth; a gwelwn ef yn cymeryd y brif-ffordd yn nghyfeiriad Montaroni. Ni's gwyddwn pa ham yr elai; ond dymunwn nad aethai; ac fel yr oeddwn yn eistedd yn y cyntedd, ac yn gwylio ar blu ei het, a lliwiau dysglaer ei osgorddion, yn ymddangos yn achlysurol rhwng yr olewwydd llwydion, dymunwn allu galw arno yn ôl, fel y gallaswn ddweyd wrtho fod y cwbl drosodd yn awr, a bod fy meddwl yn awr wedi ei wneyd i fynu. Ar y fynyd hono, clywn drwst carlamiad

meirch; marchogai fy nhâd yn araf; ac nid o'r cyfeiriad hwnw y deuai y trwst. Troais fy mhen; ond yr olewwydd a'r ffigyswydd ar yr ochr arall, a guddient un o ffyrdd culion y wlad, a ymdroellai drwy y goedwig o'r dyffryn islaw. Gofynwn i mi fy hun, pa ham y mae fy nghalon yn curo mor wyllt wrth drwst mor gyffredin? ond eto, curo yr oedd hi, nes oedd fy anadl bron a chael ei attal; ac arhosai fy llygaid yn sefydlog ar lanerch lle y dysgleiniai llinell wen magwyr isel yr ardd, rhwng y coed a'r planwydd ar y tir-res oddi danodd. Y fynyd nesaf, diflanai trwst carnau meirch yn llwyr, tywyllai rhywbeth rhyngof â dysgleiniad magwyr yr ardd; a gwelid ffurf ddynol yn ymsymmud trwy y coed, lled bwyswn ar golofn, rhag ofn syrthio o honwyf. Efe a ddeuai yn mlaen rhyngddo a'r uchel-neuadd fawr, yn yr hon yr arferwn eistedd yn y boreu yn gyffredin; ond, ond fel yr esgynai y grisiau, o'r tir-res i'r cyntedd, disgynai ei lygad arnaf fi, ac efe a lamodd yn mlaen. Pan o fewn dau gam i mi, efe a safodd yn ddisymwth, a'i wedd yn amlygu syndod a gofid; a bloeddiai, "Laura! yr ydych yn welw, yr ydych yn glaf! Yn enw y Nefoedd, pa beth a barodd y fath gyfnewidiad arnoch?" a gwyddwn ar hyny ei fod yn fy ngharu i! Nid attebais, canys ni's gallwn atteb; ni symudais, canys ni feiddiwn symud. Yn y fan, yr oedd efe wrth fy nhraed, a llefai, "Dywedwch i mi, dywedwch i mi, a all fod genyf fi ran yn hyn?" Trachefn nid attebwn ef, ac eto rhaid fy mod wedi ei atteb mewn rhyw ffordd; canys yr oedd ei freichiau am danaf mewn eiliad, a chleddid fy wyneb yn ei fynwes. Y fynyd o lesmeiriad a deimlwn y pryd hyny, tra yn cael fy ngwasgu at galon yr hwn a garwn, yn dyheu gan sicrwydd ei fod yn cael ei garu yn ol!—yr oedd y fynyd hono o lesmeiriad, o lawenydd cyffrous, yn werth holl einioes! Prin y gwn pa beth a gymerodd le yn nesaf; yr oedd ymwybyddiaeth wedi colli; er mai prin y gallaf ddywedyd pa un a'i terfysg llawenydd lawer, yn eu dadwrdd am sylw, yn boddi pob meddwl gwahan-redol; neu ynte, fod y teimlad o hapusrwydd yn rhŷ gryf i gyfansoddiad bregus i'w ddal namyn am fynyd, prin y gallaf ddywedyd; ond y fynyd nesaf a gofir genyf, a'm cafodd, nid yn y cyntedd, ond yn y neuadd fawr, i'r lle y'm cludasid yn ei freichiau; ac yntau yn gwlychu fy arleisiau â'r cyffuriau oeddynt gerllaw; ond ni alwasai am neb i'w gynnorthwyo; a phan welodd y gallwn wrando, efe a benliniai wrth fy nhraed, ac eto yn cadw ei freichiau o'm hamgylch, fel pe buasai wedi dyfod i eiddunaw yn ostyngedig, eto yn benderfynol i orchfygu. 'Laura!' medd efe, 'Laura! brydferth, a hawddgar! yr ydych wedi bod y glaf; yr ydwyf yn canfod eich bod wedi bod yn glaf ac yn ofidus eich meddwl. Ac O! pe y gallwn obeithio—na, yr ydwyf yn gobeithio—bod y cystudd hwnw, bod y gofid hwnw, wedi tarddu o'm habsenoldeb i,—fel y gorfoleddai llawenydd ar drallod! fel y byddai i'r gofid a ddyoddefasoch chwi, roddi ffordd, yn hunanoldeb natur dyn, i'r per-lesmeiriad o wybod fy mod i, fy mod i, er annheilynged ydwyf, yn meddu y gallu i beri trallod i chwi, ac i greu eich hapusrwydd!'

Buaswn yn atteb; ac efallai fod rhywbeth mor gryf yn anianawd merch, neu yn ei haddysg, fel y gallaswn roddi attebiad merch; ond efe a aeth rhagddo, ac a ddug oddiarnaf bob gallu i rithio digofaint. 'Gwrandewch, fy Laura,' medd efe, 'gwrandewch fy anwylyd! Chwi a ellwch feddwl fy mod wedi fy absenoli fy hun oddiwrthych chwi—oddiwrthych chwi, presenoldeb yr hon sydd wedi dyfod yn heuldes fy einioes—am fy mod yn coledd un amheuaeth, neu ddrwgdybiaeth, nad oeddych chwi, mwy nag y mae llawer merch, yn ddim amgenach na chreadur amddifad o deimlad. Chwi a allech feddwl, onid oeddwn yn barnu fel hyn, fy mod yn lled dybied y gallai fod felly; a'm bod yn ymdrechu i orchfygu y teimladau a'm hattynent er eithaf fy synwyr rhagorach. Os felly, yr ydych yn gwneyd cam â mi. Yr ydwyf yn eich adnabod yn well na hyny, Laura. Er mor deg a hardd yw y llaw hon, er mor loywon a swynol yw y llygaid yna, buasai y llaw hon mor ddi werth yn fy ngolwg a dernyn o farmor cerfiedig; ni buasai gan y llygaid yna iaith i gyrhaedd fy nghalon; neu, ni buasai eu hyawdledd yn amgenach na'r eiddo y darlun arliwiedig ar y llïan, oni buasai fod y llaw hon yn trosglwyddo calon, tu hwnt mewn gwerth ac mewn claerder i fwngloddiau gwerthfawr y ddwy India—oni buasai fod y llygaid yna yn fforddio gwystl o deimladau teilyngach, ardderchocach, na choron concwerwr. —Laura, yn ystod y chwe diwrnod arswydus diweddaf, ffoais rhagoch, gochelais chwi, ac mewn unigedd, a dwys fyfyrdod, ymdrechais i'm meistroli fy hunan—ymdrechais i orchfygu cariad grymusach na mi fy hunan; ond, nid unrhyw amheuaeth o honoch chwi a fu yr achos o'r ymdrech; nid unrhyw ofn pa fodd y gallech chwi droi allan. Yr amheuaeth oedd o honof fy hunan! Ni's gallwn gredu fy mod yn deilwng o'r fath gariad a'r eiddoch chwi. Yr ofn oedd yn mherthynas i'm tyngedfen fy hun! Ni's gallwn obeithio bod ffawd dda yn cadw i mi y fath drysor a'r galon a lefara allan yna. Laura, Laura!' eb efe drachefn, gan fy ngwasgu yn nes i'w fynwes, fel y gwelai wên, y gyntaf a ddaethai dros fy wynebpryd cynhyrfus, yn ymdori wrth ei adroddiad o'i ofnau afreidiol, 'Laura, Laura! yr ydwyt yn eiddo i mi! myfi a'i gwelaf yn y llygaid yna, na lefarasant ddim ond gwirionedd

erïoed; myfi a'i gwelaf ar y wefus yna, a ffurfiwyd i gariad ei hunan!'

"Nid attebais; ond nid oedd raid iddo am attebiad. Efe a welai, efe a deimlai ei fod yn cael ei garu; ac efe a aeth rhagddo, gan ddywedyd, 'Pan ddaethum yma o'm gwlad frodorawl, yr oeddwn wedi penderfynu ymneillduo oddiwrth y byd, yn yr hwn y buaswn yn troi hyd hyny, ac ymgadw mewn undeb a'm cydddynion, yn unig trwy y gadwaen o dosturi at y tlawd a'r rheidus. Wedi cael fy siomi mewn dysgwyliadau claer, penderfynais na's credwn mwyach mewn rhinwedd dynol; ond myfi a'ch gwelais chwi yn awr; goddiweddasoch fi fel yr haul yn gwasgar cysgodion tywyll y nos; dychwelasoch oleuni i'm henaid, gobaith i'm calon, a heuldes i'm llwybr. O Laura, Laura! na ddygwch oleuni eich cariad oddiarnaf byth mwyach, canys yna byddai y nos yn ddengwaith mwy tywyll a thruenus.'

"Fel yr oedd ef yn datgan ei serchawgrwydd tanbaid ei hun yn ëofn, calonogid yr eiddof finnau oddiwrth yr eiddo ef; dattodid fy ngwefusau seliedig gan ei hyawdledd; addefais fy mod yn ei garu ef; a gwnaethum iddo amgyffred pa mor fawr. Eisteddasom yn nghyd, wedi ein cadwyno yn mreichiau ein gilydd; gan dywallt allan deimladau ein calonau y naill i'r llall, trwy ebychiadau disymwth! O'r diwedd, yn llawer cynt nag y dysgwyliem, clywem drwst meirch yn dynesu: a deuai fy nhad i'r neuadd. Ar hyny cyfodai Henri, ond ni's gollyngai fy llaw; gwasgai hi eto yn yr eiddo ei hun, ac arweiniai fi yn mlaen; a chan ddodi ei law aswy ar fraich fy nhad, dywedai, 'Arglwydd Ardalydd, yr ydwyf yn gofyn rhodd genych, yr hon os ydych chwi yn ei gwerthfawrogi fel yr ydwyf fi, sydd fwy na phe y gofynaswn am orsedd genych. A ellwch chwi fod yn wr mor haelionus a'i rhoddi i mi?—llaw eich merch?'

"Efe a lefarai megys â thôn tywysog, a theimlwn—O! fel y teimlwn y fynyd hono, ei fod yn ei anianawd ardderchawg yn llawer mwy nag unrhyw dywysog ar y ddaear. Fy llygaid a edrychent i waered, a'm gwefusau oeddynt gauedig; ond fy nhad a attebai,—'Myfi a'i rhoddaf i chwi yn rhwydd, arglwydd Iarll; ond ar un ammod; hi a gaiff fod yn wraig i chwi; ond ni wiw iddi beidio a bod yn ferch i mi: ni's gallaf fyw hebddi; ac ni wiw i chwi ei chymeryd oddi tan fy nghronglwyd: chwi a gewch drigo yma gyda hi, ac felly cnillaf fab.'"

"'Yn ewyllysgar, yn dra ewyllysgar, y preswyliaf fi lle y preswylia hi,' attebai yr Iarll: ac ychwanegai, 'Fy arglwydd, yr oeddwn wedi ymddïosg o'r byd, a phenderfynu ymwrthod â chymdeithas am fy oes; ond hi yw fy mŷd i yn awr. Hi a ddyru i mi fywyd newydd; ac, os darfu i anfadrwydd eraill dduo natur ddynol yn fy ngolwg, gall ei rhinweddau, a'i chariad haelfrydig hi, wneyd pob peth yn dêg a hawddgar eto!' Yna, a gwên falchaidd, fel pe y buasai yn llefaru mewn ymostyngiad i ffurfiau cyffredin, y rhai a ddirmygai tra yn rhoddi ffurf iddynt, efe a ddywedai ychydig eiriau o berthynas i'w gyfoeth a'i sefyllfa, a'i fod yn dwyn i'w gyfathrach âg ettifeddes tŷ fy nhad, waddol nad oedd yn annghyfartal â'r eiddi ei hunan. Ond fy nhâd gan ei attal, a ddywedai, "Yr ydwyf yn hysbys o'r cyfan, iarll; pan glybu un o'm cyfeillion doeth, ein bod yn eich adnabod ac yn eich edmygu, efe a gymerodd arno ei hunan y drafferth o wneyd ymofyniad o barth i'ch meddiannau, ac a anfonodd i mi adroddiad maith am eich tiroedd yn *Picardy*, eich ettifeddiaethau yn *Brie*, eich cestyll a'ch gwinllanoedd teg yn *Provence*, a *Languedoc;* yr hwn gofnodiad defnyddiol a blygais yn ofalus, ac a drosglwyddais i'r tân; ac nid oes genyf ond i ddywedyd i chwi, pe y buasech yn dyfod i ofyn fy merch heb genych ddim ond eich cleddyf gloyw, eich rhinweddau rhagorol, a'ch enw ardderchog, y buaswn yn eich croesawi mor llawen ag yr ydwyf yn gwneyd yn awr, er eich bod yn arglwydd llawer o diroedd llydain a theg."

. . . . . . . . . . . . . .

"Fe'n prïodwyd, ac am dri mis byr, mor fyr, fel pe y buasai yr holl oes wedi ei threulio fel y rhai hyn, na buasai yn ymddangos namyn fel fflachiad mellten, yn ddysglaer a byth-gofus, ond wedi diflanu can gynted ag ei gwelid,—dros dri mis byr, buais fyw mewn un breuddwyd perlewygol o lawenydd. Syllwn ar ei olygon, gwleddwn ar ei wênau. Annghofid ceinder pob peth arall, i syllu ar ei ffurf delediw fel yr ymrodiai mewn mawrhydi yn neuaddau fy nhad. Yr oedd adsain ei leferydd yn eu llanw â chynghanedd, ei lygaid yn eu goleuo, megis i wledd wastadol. Na ddyweded neb fy mod i yn eiddigeddus wrth natur. O! na, myfi a'i gwelais pan yn cael ei gylchynu gan y gwŷch a'r hawddgar, yn gogwyddo uwch eu penau â'i wefusau balch-wênawg, ac yn eu cyfarch âg ymadroddion llednais a hynaws, heb unrhyw bangfa o ofn nac eiddigedd. Gwelais geinwychder yn ymdrechu i dynu ei sylw, a mursendod yn arddangos ei holl ystrywiau, a chwarddais yn yr hapusrwydd uchelfrydig o ymwybyddiaeth mai yr eiddof fy hunan oedd efe,—yn y teimlad gorfoleddus, mai erof fi yr oedd pob meddwl, dymuniad, a serch o'r eiddo ef. O na! nid oeddwn yn eiddigeddus wrth natur! Nid ydwyf yn meddwl hyny. Yr ydwyf yn gobeithio nad oeddwn! Ni chredaf hyny!—Na, na! fe'm twyllwyd yn greulawn ofnadwy!

"Ond, âf rhagof. Yr oedd y tri mis hyny yn

ddedwyddwch di gymysg. Ar derfyn yr yspaid hyny, cyrhaeddodd y newydd ni, fod y plâ wedi gwneyd ei ymddangosiad eto yn *Florence;* a'r holl bendefigion cymmydogaethol a ymbarottoisant i'w cau eu hunain i fynu o fewn eu hanneddau, er gochel yr haint. Gofynais iddo ef, pa beth a fwriadai *efe* ei wneyd?

Efe a ddywedai, 'Yn gyntaf oll, yr ydwyf yn bwriadu myned i waered i *Florence*, er cael allan y gwirionedd. Yna' eb efe, gan fy nghofleidio, 'yna, fy Laura, rhaid i ni wneyd ein dyledswydd. Nid ydwyf yn beio y rhai ydynt yn ymneillduo yn ofnus, gan fod ganddynt blant yn ymddibynu arnynt am nodded a chynnaliaeth. Ni feddwn ni yr un; ac y mae llwybr ein dyledswydd yn agored o'n blaen. Pa fodd yr ymdarawaf, ni's gwn; canys er mynyched yr aethum i frwydr; er amled yr wynebais farwolaeth, ni chymerais yr oll a garwn ar y ddaear gyda mi i berygl erïoed o'r blaen; ni ddarfu i mi eto beryglu ar bob cam, fywyd a werthfawrogid genyf gymaint yn fwy na'r ciddof fy hun. Dywedwch, Laura, a ellwch chwi wneyd eich meddwl i fynu i fyned gyda mi i fysg y truain a'r trancedig, i dywallt y cyffur iachaol ar y tafod crasboeth, i liniaru yr awr angeuol, i esmwythau gwely ing, i syllu ar y dirboenau arteithiol y gallwn fod yn eu gafael ein hunain y fynyd nesaf; ac i gyfarfod ar bob cam, â'r plâ pruddaidd, yn ei ffurf fwyaf arswydlawn?'

Gan ei wasgu yn ol, dywedais, 'Henry, fe all ddeffroi holl ddychrynfeydd fy natur farwol, gall beri i'm haelodau eiddil grynu; ond ni effeithia ar fy nghalon. Pa le bynag yr ewch chwi, yno yr âf finnau; y dynghedfen a gyfarfyddoch chwi, a gyfarfyddaf finnau: eiddoch chwi ydwyf, Henry, trwy einioes—eiddoch chwi hyd angau ei hunan!'

"Ar ei ddychweliad o *Florence*, efe a dawelodd ryw gymaint ar ein hofnau. Yr oedd y cyfarwydd wedi tystio am y clefyd a ffynai yn y ddinas y pryd hyny, nad y plâ ydoedd, er ei fod yn debyg iddo. Ond parhau i gynnyddu yr ydoedd, ac ymledu trwy y wlad, gan ddyfod yn nês, nês i'n trigle. Daeth yr adeg, pan oedd raid rhoddi ein penderfyniad i'r prawf. Aethom i'r bythynod, ymwelsom â'r cleifion, a'r rhai oeddynt yn meirw, cyfarfuom â llawer golygfa frawychus, a drychfeydd arswydus; ond yr oeddym yn ymfalchïo, ac yn ymbleseru yn y gwaith; ac ymlawenhaem wrth allu gwneyd hyny yn nghyd.

"O'r diwedd, pan oedd y ffrewyll wedi lliniaru rhyw gymaint, dychwelasom adref un diwrnod, wedi bod yn marchogaeth allan, er cael mwynhau awyr iach y mynyddoedd. Dyma yr ymattaliad cyntaf a gymerasom o'n llafur; ond, pan gyrhaeddasom adref, gwelwn fod grudd fy mhrïod yn welw; ac efe a roddai ei law ar ei dalcen ddwy waith. Llamai fy nghalon yn ddychrynllyd fel y sylwn ar yr ystum hwnw; a chraffais ar ei wedd. Treuliodd y nôs gan droi a throsi yn anesmwyth: ac erbyn y boreu, yr oedd gorphwylldra y clefyd arno ef.

"Ni adewais erchwyn ei wely: ond gweiniais fy hunan arno, nos a dydd. Gwyliais ef â'r pryder mwyaf; ac â chariad mor ddwfn, mor angerddol, mor ofnadwy! Gwyn ei fyd na buaswn heb wneyd felly, na buaswn i wedi ei adael yn nwylaw rhyw estroniaid llog i weini arno! Ond, ni allwn wneyd hyny, ac fe'm gwobrwywyd yn ofnadwy. Tra yr oedd y gwallgofrwydd yn gryf arno eto, efe a siaradai yn wyllt am lawer o bethau; a gwelwn fod ei feddwl crwydredig yn dychwelyd yn barhaus at amgylchiadau mynedol ei oes. Efe a roddai ei orchymynion megys mewn brwydr; efe a gyfarchai bennaduriaid dychymygol ar ryw bynciau mewn llywod-ddysg; efe a ddadleuai â hen gymdeithion yn nghylch chwareuyddiaethau a gymerasent le er ys talm. Weithiau, byddai yn siarad yn eglur; bryd arall ni byddai namyn dyryswch murmmrawl. O'r diwedd, yr ydwyf yn meddwl mai ar foreu y pedwerydd dydd ofnadwy ydoedd, yr oedd ei orphwylldra yn fwy poethlyd nag y buasai eto, a'i eiriau yn erwin a ffyrnig. Crogai gwaradwyddiadau chwerwon ar ei wefusau; ac efe a geryddai ryw un yn llymdost a galarus, am goll anrhydedd, ac annïolchgarwch du, a chariad heb ei ad dalu yn deilwng. Yna murmurai enw benyw, mewn tôn o serchawgrwydd dwfn, ond trallodus. Efe a grybwyllodd ei henw dair gwaith; a'r drydedd waith, galwai y Nefoedd yn dŷst, mor gywir ei carasai! Nid fy enw i oedd hwnw! a buasai dagr y lleiddiad yn drugaredd i mi yn hytrach na'r enw hwnw.—Gan hyny efe a fuasai yn caru un arall! Nid myfi ydoedd dewisedig cyntaf ei galon: am arall y buasai teimladau dyfnion cyntaf ei galon: cofid hono eto—ïe, efallai ei cerid eto. Llefai, 'O Marie, Marie! mor gywir, mor ardderchog y'th gerais!' a'r geiriau a adseinient yn fy nghlustiau yn barhaus! Efe a fuasai yn caru un arall! a hyny yn ngwanwyn cynar ieuenctyd; yn mhrydferthwch teimladau anwylaf y galon, efe a fuasai yn caru un arall! Gallai ei fod yn fy ngharu i ar egwyddorion rhagorach—Gallai ei fod yn fy ngharu i yn ddoeth, yn ardderchog, ac yn dda; gallai ei fod yn fy ngharu i â barn, cystal ag â nwyd! Ond, pa beth oedd hyny oll i'w gydmaru â nwyfiant ei ieuenctyd?

"Och! fel y gwŷniodd fy nghalon dros lawer dydd maith, a llawer noswaith flin, wedi clywed o honof yr enw hwnw! Ac eto, ymdrechwn i wneyd yr hyn oedd gymhwys; ymegniais yn

galed i gymedroli fy nheimladau; i drais-wthio yr adgofion hyny o'm meddwl, i fod iddo ef, ac i deimlo tuag atto ef, fel pe na buasai y gorphwylldra twyllodrus erïoed wedi bradychu i mi gyfrinach ei fynwes ef. Ymdrechais yn galed; ac yn ffodus parhaodd y clefyd rai dyddiau yn hwy, cyn ei adferiad i un radd o ymwybyddiaeth. Prïodolai fy nhad brudd-der fy ngwynebpryd i fy mhryder yn nghylch bywyd fy mhrïod; y gwasanaethyddion a feddylient fy mod yn fy nhreulio fy hun i'r bedd, yn fy ymdrechion i'w waredu ef oddiyno: ond ni wyddai neb am golyn y neidr oedd yn gwŷnio yn fy nghalon i. Yr oedd fy nhad yn absenol pan lefarai efe y geiriau hyny; ac fe'u llafarasid, nid yn ein hiaith beraidd ein hunain, er yr arferai hi yn gyffredin megis brodor o'r wlad, ond yn iaith ei wlad ei hun, yr hon ni ddeallid gan y gweinidogion. Yr oedd y gyfrinach, y gyfrinach ofidus, yn aros gyda mi fy hun—yr oedd y dafn o wenwyn wedi disgyn ar y galon hono na's meddai un gwrthlyn iddo.

"Or diwedd aeth eithaf-bwynt y clefyd drosodd, ac efe a ddechreuodd wellau: ond yr oedd yr afiechyd hwnw wedi dwyn oddiarno ef, ac oddiarnaf finnau, yr hyn na allai amser mwyach ei adferu. Nid am fy mod i yn ei garu ef yn llai; O na, na, na! yr oeddwn yn ei garu ef yn fwy—yn ddyfnach, a gwresoccach nag erioed, oblegid yn fwy poenus. Ond, dygasai oddiarno ef yr hyder crychneidiawl hwnw â'r hwn yr arferai fy nghalon ddychlamu i'w gyfarfod ef yn wastad; y llanw hwnw o'm holl feddyliau, a'm holl deimladau y rhai o'r blaen a dywalltid yn ddi attalfa i'w fynwes. Oddiarnaf fi, dygasai y sicrwydd diarswyd hwnw o fy mod yn cael fy ngharu, a fy ngharu yn unig. Nid oedd ffurfafen ein bodolaeth unedig yn glaer mwyach; a'r waith gyntaf y'm cofleidiodd yn ei fynwes wedi y cystudd maith hwnw, O! mor athrist, mor chwerw y teimlwn, fod cyfnewidiad wedi dyfod drosof.

"Adferwyd ei iechyd yn gyflawn; ac mor bell o fod wedi ei wanhau, a'i niweidio, ymddangosai fod y clefyd wedi ei adael yn brydferthach, ac yn gryfach nag o'r blaen. Deuai y werin yn dorfeydd i'w weled, ac i'w fendithio: ac fel yr ymdroai yn eu mysg, teimlai fy nghalon yn falch, a'm hysbryd yn llawen; ond er hyny, tra y llawenychai, yr oedd rhyw leferydd na's gallwn roddi taw arni, yn ail adrodd yr enw atgas. Ymdrechwn, fel y dywedais, i orchfygu pob cyfryw feddyliau; ceisiwn weithredu, a meddwl, a theimlo, megis y gwnaethwn o'r blaen; ond ni allwn wneyd felly yn hollol, er llwyddo o honof mewn rhan: yr oeddwn yn fwy difrifol nag yr arferwn fod, deuai rhyw gwmmwl o brudd-der drosof, ac efe a'i canfyddai. Yna, efe a geisiai fy nyddanu, ac edrychai arnaf â thynerwch na's gellid ei gamgymeryd; ac achwynai arno ei hunan, ei fod wedi peri i mi ymwneyd â golygfeydd, a dyledswyddau rhy ddifrifol a phwysig i'm natur dyner a thosturiol. Brydiau eraill, efe a haerai fy mod wedi niweidio fy iechyd wrth weini arno ef, a gwasgai fi at ei galon, gan syllu yn fy llygaid, ac ymdrechu i ad dalu i mi trwy serchawgrwydd o'r fath ddyfnaf. Fel hyn, efe a'i twyllai ei hunan o barth i'r achos o'r cyfnewidiad a welai; ond yr oedd un a welai yn ddyfnach, er nad oedd yntau eto yn gweled yn iawn. Yr oedd fy nhad wedi sylwi ar y prudd-der a ddaethai drosof: a mynych y canfuais ei lygaid yn craffu arnaf fi yn gyntaf, megis yn ymofyngar; ac yna ar fy mhrïod, tra y crynhoai gŵg ar ei aeliau. Ac un dydd, pan oeddym wrthym ein hunain, efe a'm cymerodd yn ei freichiau, a chan edrych arnaf yn serchog, dywedai, 'Fy Laura, fy mhlentyn hoff! nid ydwyt mor ddedwydd ag y teilyngit fod. Yr ydwyf yn ammeu, yn ofni, ein bod wedi camgymeryd ein dau. Dywaid i mi, a ydyw dy ŵr i ti, yr hyn y gallai calon dy dâd ddymuno ei fod?' ac fel y llefarai, fflachiai cynddaredd o'i lygaid, a ddangosai ddyfned, a chryfed oedd y cariad tadol hwnw, a barai iddo ofyn y cwestiwn.

"Syllais arno am fynyd, yn barod i ymdori i wylo; ond gwyddwn pe y gwnelswn hyny, na buasai namyn cadarnhau drwg-dybiau oeddynt dwyllodrus a di sail; am hyny ymdrechais i attal y dagrau a fynasent ymarllwys. 'Laura,' medd efe drachefn, wrth ganfod bod rhyw ymdrech o'm mewn yn fy nghadw yn fud; 'Laura, yr ydwyf yn dy dynghedu er cariad tâd, i fynegi y gwirionedd i mi! Ymddiriedais drysor iddo, na allasai neb arall roddi ei fath: ac O! os ydyw ef yn cam ymddwyn tuag atto, bydd rhyngddo gyfrif llym â mi!'

"I'r hyn yr attebais, 'Fy nhad, ni ddywedais gelwydd wrthych yn fy mywyd erïoed! ac yr ydwyf yn tystio i chwi yn awr, ei fod ef yn bob peth sydd yn ardderchog, a dâ, a charedig—yn bob peth y gallai eich calon ddymuno ei fod;' ac ychwanegais, 'efallai nad ydwyf fi mor iach ag y byddwn; ac ofer i mi wadu, nad ydyw fy nheimladau mor siriol ag y bum; ond ar fy einioes, yr ydwyf yn credu nad oes dim ar y ddaear na's gwnelai fy mhrïod, er fy ngwneyd yn hapus.'

"Aeth amryw wythnosau heibio; ac yr ydoedd wedi dyfod yn wanwyn eto; ymddangosai pob peth yn siriol a dedwydd o'm hamgylch: ac yr oeddwn yn beio arnaf fy hunan, am na buaswn i fel y flwyddyn, yn gallu bwrw ymaith y cwmmwl gauafaidd a ddaethai droswyf, a bod mor lawen a siriol drachefn, ag y buaswn erïoed o'r blaen. Ar un prydnhawn-gwaith teg yn

nghanol mis Mai, a'm prïod yn eistedd wrth fy ystlys yn y cyntedd, a'i fraich drosof yn ysgafn; tra yr oedd fy nhâd o fewn ychydig bellder oddiwrthyf, yn eistedd ac yn darllen rhyw lyfr; nyni a edrychem ar y dyffryn ceinwych, a'n meddyliau yn cyd fwynhau mewn dystawrwydd yr holl wrthddrychau teg oeddynt o'n blaen. Awel dyner yr hwyr a chwyfiai gangenau hirion y castauwydd, gan gyfeirio eu bysedd deiliog tu a'r gorllewiu llachar; a'r olewwydd a wisgent y mynydd, ar yr hwn y saif Mynachlog y Drindod, gan blygu o flaen yr awel, a ymddangosent fel pe yn gwasgar y llwch cochlas oddiar eu cangau ysgeifn tra y chwyfianent yn ol a blaen. Y fynachlog ei hunan a ymddangosai yn sefyll rhyngom a'r awyr glaer, ei thŵr, ei phinacl, a'i mur, yn gyrph tywyll-ddu eglur; ac heb fod yn mhell islaw iddynt, yr oedd llinellau heirdd Plâs Montaroni, yr hwn oedd yn meddiant fy mhrïod eto, er ei fod wedi peidio cyfanneddu ynddo. Anfynych y gwelswn y ddrychfa geinwych hono yn ymddangos mor hawddgar; ac fel yr oeddym yn gwneyd sylwadau ar ei thegwch mewn ychydig o ymadroddion, ond llawer o feddyliau; dylenwid ein calonau ein dau â llawenydd tawel a hyfryd, yr hwn a ddeuai fel balm i'r eiddof fi yn neillduol.

'Laura,' medd fy mhrïod o'r diwedd, 'onid ydym ni yn teimlo yn gyffelyb, anwylyd? onid ydym yn teimlo fod rhyw gydymdeimlad cynghaneddol rhwng pob peth yn mŷd allanol natur â byd eiu calonau ni ein hunain? Onid ydym yn teimlo nad ydyw yr holl gyfnewidiadau a'r amrywiadau a ddygir dros wyneb y byd mawr, yn ddim amgen na rhyw gerddor galluog yn chwareu, megis ar offeryn, gan dynu allan oddiar danau y galon ddynol seiniau peraidd, fel y mae yn cyffwrdd a phob tôn-nodyn mewn natur? Y fath beroriaeth lawen sydd yn chwareu yn ein mynwesau, wrth edrych ar wawr glaer yr haf! mor ddwfn, ac ofnadwy yw y seiniau a gyfodant oddiar y tanau ydynt yn ein mynwes fel y syllwn ar fawrwychder yr ystorm yn ei myuediad heibio? a phan edrychom ar olygfa fel hon yn nhawelwch gorphwysfa hwyrol anian, onid ydyw megis pe byddai adgof o'n mewn, yn canu emyn gorphwysol ein blynyddoedd mynedawl?'

"Gwrandawais ac edrychais i fynu gyda chariad; ac efe a elai rhagddo:—'Rhyw beth bendigedig a hyfryd ydyw gallu y côf, yr hwn a dyn y gwenwyn o bethau poenus, ac a edy yr archoll a iachawyd yn dyner, eto yn gauedig. Pe buaswn yn myned i fynegi hanes fy oes a aeth heibio, buaswn yn dewis pryduhawngwaith fel hwn, a drychfa fel hon.'

"'Gwnewch hyny yn awr, gwnewch hyny yn awr!' gwaeddwn yn awchus, gan guro fy nwylaw.

"'O'r goreu, caiff fod felly fy anwylyd,' medd efe; 'fe all fod pethau poenus yn yr hanes; ond bum yn meddwl ei hadrodd wrthych lawer gwaith; a gwuaf hyny yn bresenol.'

"Ar y fynyd hono fe'i hattelid, trwy i un o'r gwasanaethyddion ddyfod i'w hysbysu fod gwr dyeithr wrth y glwyd, yn dymuno cael ymddiddan ag ef. Yn y fan efe a archodd i'r gweinidog ollwng y gwr dyeithr i fewn: a dygid gwr i fewn, mewn gwisg led wledig, a difwynedig gan hir ymdaith, a'i wyneb wedi ei felynu gan belydrau yr haul. Ei ymddangosiad disymwth a gynhyrfai fy ngwr yn fwy nag y gwelswn ef yn cael ei gynhyrfu erïoed o'r blaen. Efe a welwai ar y cyntaf, fel corph marw, yna codai y gwrid i'w wyneb: dodai ei law ar garn ei gleddyf; yna gollyngai ef drachefn; a chyfodai ei fŷs ger bron y dyeithr-ddyn, fel pe y tyngedasai ef i fod yn dawedawg. Y fynyd nesaf, efe a'i cyfarchai mewn tafodiaith nad oeddwn i yn ei deall; a chan fyned allan gyd a'u gilydd ar yr uchel-rodfa, parhasant yn hir i ymddiddau yn danbaid. Gwelwn fy ngwr yn rhoddi aur i'r estron; a gwelais ef hefyd yn cyfeirio at Blas Montaroni. Yna rhodiasant yn nghyd i waered i'r gerddi, a gallem glywed eu lleisiau yn ymddiddan hyd onid oedd yn dywell nos arnynt: yna y dyeithr-ddyn a ymadawodd, a dychwelodd fy ngwr i'r neuadd; ond yr oedd efe yn gynhyrfus, yn absenol, a dyeithr ei ymddygiad; ac wedi ychydig o fynydau, poenus i bob un o honom, efe a ymneilldnodd i'w gyfrinfa, i ysgrifenu.

"Yr oeddwn innau hefyd wedi fy nghyffroi; yr oeddwn yn llawn o feddyliau cythryblus, y rhai ni's gallasai fy rheswm eu llywodraethu. Yr oedd y côf, yr hwn ychydig fynydau yn ôl a gyfrifem mor hyfryd, yn awr yn ein harteithio megis ellyll. Yr enw hwnw, yr enw andwyol hwnw, yr hwn a ddaethai dros ei wefusau yn ngorphwylledd ei glefyd, a barhâi i swnio yn fy nghlust. Alltudiai gwsg o'm gorweddle, a thangnefedd o'm calon: fe'i hadseinid yn ol aruaf yn nystawrwydd y nos; ac unigrwydd fy ystafell a boblogid â delweddau brawychus.

"Yr ydoedd yn hwyr iawn cyn dyfod o'm gwr i ymofyn gorphwysdra; a phan ddaeth, gan ei fod yn tybied fy mod i yn cysgu, ni ddywedodd ddim wrthyf. Ond, nid oeddwn yn cysgu; ac ymddangosai gwawriad llwyd y boreu yn y ffurfafen, cyn cau o honof fy llygaid. Yna lludded a'm gorchfygodd; ond pan ddihunais, yr oedd fy ngwr wedi myned. Gan gyfodi, gelwais am fy morwynion, ac ymwisgais ar frys; a pharais i un o'r merched fyned i ymofyn pa le yr oedd yr Iarll? Yr atteb oedd, ei fod wedi myned allan i hela; ond, teimlwn, a gwyddwn nad oedd hyny yn gywir!—Dychlamai fy nghalon

fel pe y buasai ar ymrwygo; yr oedd fy ymenydd fel pe y buasai ar dân, a phob aelod i mi yn crynu, fel mai gyd ag anhawsder y gallai y forwyn gau fy mreichledau am fy arddyrnau, gan mor ddirfawr y crynai fy holl gyfansoddiad. Ni's gwyddwn pa beth i'w wneyd; na pha fodd i weithredu. Rhuthrai mil o gynlluniau gwyllt-ion, a bwriadau afreolaidd drwy fy ymenydd, nes oeddwn ar ddyrysu. Ar un pryd, bwriadwn fyned i waered i Blâs Montaroni yn ddïoed, a gweled a oedd efe yno; y fynyd arall, meddyliwn y buaswn yn anfon y gwasanaethyddion i ddilyn ol traed y meirch; a phryd arall, penderfynwn fyned, a chwympo wrth draed fy nhâd, a dweyd y cyfan wrtho,—fy holl amheuon, fy holl eiddigedd, fy holl ofnau; ond yna, gofynwn i mi fy hun, pa beth a allwn ei ddweyd wrtho? Efe a welsai y dyeithrddyn cystal a minnau; efe a sylwasai ar ymddygiad fy ngwr hefyd. Ymdrechais i ymdawelu; ymegnïais i ymresymu yn erbyn fy nwydau: ond pa beth a all rheswm ei wneyd yn erbyn y cyfryw deimladau—yn erbyn y fath orphwylldra ag a'm meddiannai ar y pryd?

"O'r diwedd pa fodd bynag, daethum yn ddigon tawel i fyned i waered i'r neuadd; yr oedd fy nhad yn sefyll yno, ac yn edrych trwy y ffenestr, ac yr oedd ei aeliau yntau hefyd yn gymmylog; ond, er iddo edrych arnaf yn hir ac yn syn, ni chymerodd unrhyw sylw o fy ngwelwedd a'm cyffro—naddo, nag o'm dagrau; canys ni's gallwn eu hattal, ac yr oeddwn yn wylo. Cymerasom ein boreu-bryd yn nghyd; ac yn y fan wedi ei orphen, efe a ofynai i un o'r gweinidogion, 'A ydyw fy ngheffylau yn barod?'

'Nid ydynt eto, fy arglwydd,' medd y dyn, 'ond y mae yr hen Anetta yn dysgwyl oddi allan, gan daer erfyn am gael ymddiddan â'r Arglwyddes Laura.'

"Y crybwylliad o fod rhyw un yn ceisio ymddiddan a mi y fynyd hono, a barai i'm calon grychneidio, fel pe y buasai yn hysbysiad o farwolaeth; ac mewn llais na's gallasai y dyn ond yn brin ei glywed, erchais iddo ddwyn yr hen wraig i'm hystafell. Hi a fuasai fy mammaeth i, ac yn awr yr ydoedd yn byw yn nhŷ ei mab, yn agos i Fonachlog y Drindod. Can gynted ag y gwelodd hi fi, hi a ddaeth yn mlaen ac a'm cusanodd; ac yn gymaint ag na's meddwn eiriau i ofyn ei neges, hi a dorodd allan heb ychwaneg o ymholiad, gan floeddio, 'Och! fy arglwyddes! och! fy mhlentyn anwyl! yr oeddym oll yn meddwl eich bod wedi cael gwr nad oes ei fath yn yr holl fyd; ond ysywaeth! y mae eu beiau yn perthyn i bob dynion.'

"Bron yn methu anadlu, gofynais, 'Beth am fy ngŵr? dywedwch y cyfan i mi ar unwaith! a hyny mewn ychydig eiriau! brysiwch, brysiwch!'

"Gall mynyd o'r arteith-droell ymddangos fel llawer diwrnod maith; ac yr oedd chwedl yr hen wraig hono, er nad oedd ganddi nemawr i'w ddweyd, yn oes faith o drueni. Sylwedd ei chwedl ydoedd, fod boneddiges deg wedi dyfod y prydnhawn blaenorol, i ofyn am letty yn Mynachlog y Drindod. Yr oedd gyda hi blentyn ieuanc, a dau o weision, un o ba rai a anfonodd hi i'n palas ni yn ddïoed, a'r hwn ar ei ddychweliad, a symmudodd ei feistres yn y fan i Blas Montaroni. Hi a aethai ei hunan heibio y lle hwnw yn y boreu, ebe hi, ac a welsai fy ngŵr yn myned i'r gerddi lle yr ymrodiai y foneddiges gyd a'i phlentyn; a chan ei chymeryd yn ei freichiau, efe a'i cofleidiai yn serchog. Ni wrandawais ychwaneg; ond neidiais i fynu, a rhedais i lawr y grisiau, gan chwilio am fy nhâd, yr hwn oedd yn ymbarottoi i fyned ar gefn ei farch, a chan gwympo wrth ei draed, mynegais y cyfan iddo. Efe a wrandawai arnaf heb amlygu un arwydd o syndod.

"'Laura, eb efe, 'myfi a wyddwn y cwbl yn foreu heddyw; ac yr ydwyf yn barod, ïe, yr awrhon, i'ch dïal—i'ch dïal, arno ef, a ddibrisiodd y fath drysor ag ydych chwi, ac ar ei gariadferch wrthun.'

"Yna, gan gofleidio ei liniau, llefwn, 'Nid arno ef! nid arno ef! fy nhâd; y mae ef yn anwylach genyf na myfi fy hun; ond arni hi,' ychwanegwn, tra yr oedd holl ellyllon uffern yn brysur yn fy nghalon,—'ond arni hi, os ydych yn ewyllysio; canys nid yw yn ddichonadwy iddi hi a'ch merch, fyw yn nghyd ar yr un ddaear! Rhaid i mi, neu iddi hi farw! Ond, nid arno ef, fy nhad, nid arno ef, os y mynech na chollech eich plentyn!'

"Efe a safai yn synedig, ond nid attebai; a darllenwn yn sarugrwydd dybryd ei wedd, benderfyniad ofnadwy ei galon. A llefwn arno drachefn, 'Fy nhâd, cofiwch mai eich plentyn chwi ydwyf fi, ac y gallaf fod mor benderfynol ag ydych chwithau. Rhoddwch addewid i mi—rhoddwch addewid i mi, y caiff ef fod yn ddïangol oddiwrth air ac archoll, oddiwrth niwed, nac unrhyw gynnyg i'w niweidio; os amgen, yma, wrth eich traed, chwi a gewch weled gwaed eich plentyn eich hun yn llifeirio yn gyntaf;' ac fel y llefarwn, cipiais y ddagr o'i wregys.

"Efe a roddes yr addewid i mi, gan ei chadarnhau â llŵ, a chan neidio ar fy nhraed, dywedais, 'Ewch, ond, O! na fyddwch yn hir oni ddychweloch attaf, rhag gwallgofi o honof.'

"Neidiai ar gefn ei anifail, a marchogai ymaith. Clywais drwst y pyrth yn cael eu hagoryd fel yr elai allan, clywais drwst traed y meirch yn carlamu i waered i'r dyffryn; ac yna, cwympais fel un marw ar balmant y neuadd.

"Hwy a'm cludasant i ystafell wisgo fy ngwr;

ond ymddengys iddynt fod yn hir cyn gallu fy adferu o'm llewyg; ac yr oedd gwendid llewygol yn aros arnaf, gan ddarlethu nwydau tanllyd fy nghalon. Tra yr oeddwn yn gorwedd yn eu breichiau fel hyn, ac yn edrych o'm hamgylch yn llesg, disgynai fy llygaid ar syppyn mawr o ysgrifen yn gorwedd ar y bwrdd, ac estynwn fy llaw tuag atto. Un o'r merched a'i dug i mi yn ddïoed. Yr ydoedd yn llaw-ysgrif fy ngŵr, ac wedi ei gyfeirio attaf fi. Ag awyddfryd gorphwyllog, torais ef yn agored, ac a ddarllenais. Dechreuai fel hyn, 'Laura, fy anwylyd, yr oeddwn ar adrodd fy hanes alarus, pan ein hattaliwyd; ond, y mae yn anhebgorol angenrheidiol i mi wneyd hyny yn awr, gan fod tynged eich gŵr i fesur mwy neu lai wedi ei gyd rwymo â'r eiddo creadur annedwydd, sydd yn awr o fewn llai na milldir i'n preswylfa. Er fod ei chyfeiliornadau galarus wedi ei halltudio dros dair blynedd o fynwes y brawd hwnw, at serchawgrwydd yr hwn y mae hi yn ffoi unwaith eto am nawdd a chynhaliaeth—

"'Ei brawd!' sibrydwn, 'ei brawd!' a dechreuai rhyw flaen-brofion aneglur a dychrynllyd ymgrynhoi o amgylch fy nghalon. Tremiai fy llygad yn mlaen, a darllenwn,—'Fy unig chwaer, Marie, am yr hon yr ydwyf yn llefaru, sydd lawer ieuengach na mi.'

"'Ei chwaer!' llefwn, gan neidio i fynu gyd âg ysgrech uchel,—'O'r Nefoedd fawr! pa beth a wnaethum? Rhedwch, rhedwch!' meddwn, gan droi at y merched, 'anfonwch y gwŷr meirch ar ol yr Ardalydd! Prysurwch, prysurwch i Montaroni! Dywedwch wrtho ein bod wedi camsynied! Archwch iddo ddychwelyd, a'm gwared rhag gwallgofrwydd! Brysiwch! pa ham yr oedwch?' Hwy a'm gadawsant oll i ufuddhau, oddieithr un eneth a anesid yn y wlad, yr hon a ddywedai, 'Arglwyddes, y mae ffordd ferach, trwy y gerddi a'r perllanau. A gaf fi fyned ar draed? Myfi a fyddaf yno yn hir o flaen y marchogion.'

"'Myfi a âf fy hunan,' meddwn, gan neidio i fynu,—'Myfi a âf fy hunan!' a chan frysio i waered y neuadd, yn cael fy nilyn gan yr eneth Juditha yn unig, aethum i waered y rhodfeydd a'r gerddi, mewn ing meddwl, ag y mae ei adgofio yn wallgofrwydd o'r bron. Yr oeddwn yn ehedeg yn hytrach na cherdded, trwy y rhesi hirion o winwydd a ffigyswydd, hyd oni chyrhaeddais fagwyrydd gardd Montaroni. Yr oedd un drws yn union gyferbyn a mi, ac un ar waelod y llechwedd, yn arwain ar hyd grisiau oddifewn i'r magwyrydd, i'r uchel-rodfa. Gwnaethum brawf ar y cyntaf, ond yr oedd wedi ei gloi. Clywn hefyd leisiau pobl yn siarad ar yr uchrodfa; yr oedd un yn siarad mewn tonau ymbiliadol, ond nid attebai y llall nemawr.

"Ysgydwais y ddôr yn egnïol, gan alw yn uchel am ddyfodfa i fewn; ond nid attebai neb; a rhedais i waered at y ddôr arall. Fel y dodwn fy llaw ar y clô, clywn ysgrech glochaidd, fel pe buasai yr eiddo benyw; ond, ymollyngai y ddôr oddi tan fy llaw, ac aethum i fewn. Ar waelod y grisiau, safai fy nhad, a'i wyneb yn welw fel angau, a'i gleddyf noeth yn ei law.

"'Laura,' eb efe yn gyffrous, 'chwychwi yma? Y mae wedi ei wneyd! y mae wedi ei wneyd, fy mhlentyn! Bu raid i ni wylio hyd oni adawai efe hi, fel y gallwn gadw fy addewid, ac na ddisgynai ein dialedd arno yntau gyda hi! Ond, y mae y weithred wedi ei chyflawni! Gwel; dyna Pietro yn dyfod, a'r ddagr yn ei law!'

"Fy unig attebiad ydoedd uchenaid ddofn; ond, gan ymsaethu heibio i'm tâd a'r dyn a wnelsai y weithred, rhedais i fynu i'r uchelrodfa, ac yno, yn mysg y prenau eurafalau gerllaw y ffynnon, myfi a'i gwelwn hi yn gorwedd, yn drochedig mewn gwaed. Druan oedd Marie de Morney! Dyna lle y gorweddai, a chydynau harddwych ei gwallt yn disgyn ar y fynwes deg hono, o'r hon y dylifai ffrwd einioes yn gyflym. Yr oedd y lleiddiad wedi ei tharo yn fedrus, gan drywanu y galon! ac yr oedd marwolaeth, oer, a gwelw, yn llwyr deyrnasu ar ei gwedd. Safwn yn syn, fel pe buaswn wedi troi yn garreg. Yr oedd gan yr olygfa ofnadwy ryw ddylanwad dyeithr arnaf, fel na allaswn syflyd o'r lle. Galwai fy nhâd arnaf yn daer, ond yn ofer; ni symmudwn. Ymdrechai yr eneth Juditha, yr hon yn grynedig a gwelw, a'm dylynasai, fy nhynu ymaith, ond ni's gallai. Ond, yn mhen rhyw fynyd wedi, disgynai y lleferydd mwyaf ofnadwy ar y ddaear ar fy nghlust,—a fuasai unwaith y mwyaf perseiniol! Lleferydd fy ngŵr ydoedd; a buaswn yn ymsuddo i'r ddaear pe y gallaswn. Fe'i hattalid gan weision fy nhâd, y rhai oeddynt wedi cymeryd meddiant o'r tŷ; a gallwn ei glywed yn gweiddi, "Gollyngwch; neu, fel y mae Duw yn y nefoedd, myfi a'ch trywanaf i'r ddaiar!'

"Buasai amser i ffoi, ond ni feddwn y gallu; a safwn gerllaw y marw, yn welw a digyffro. Y fynyd nesaf yr oedd efe ger fy mron; ac O! yr olwg ofnadwy a gefais i arno y pryd hyny nid â byth o'm côf. Efe a edrychai ar gorph ei chwaer, ac yna edrychai arnaf finnau; a chan dynu ei ddagr oddiar ei ystlys, efe a estynai ei charn attaf, gan ddywedyd mewn goslef isel, ond difrif-ddwys ofnadwy,—'Arglwyddes, ni's gellwch fod wedi eich di sychedu eto. Ni all gwaed benyw fod yn ddigonol i un o'ch uchel achau chwi; cymerwch waed y brawd hefyd,—mae ei fynwes yn noeth ger eich bron!'

"Ni's gallwn atteb;—yr oedd fy nhafod wedi ei barlysu; ni chynnyrchai fy ymenydd un meddwl ond ing; yr oll a feddwn yn amgen na delw, oedd ymwybodolrwydd; yr oll a allwn wneyd oedd gwasgu fy nwylaw yn nghyd, ac edrych yn ei wyneb, gan attolygu trugaredd. Ond ar y fynyd hono, fy nhâd, a'r lleiddiad, a ddeuent i fynu y grisiau; a chlywid trwst pobl yn dyfod o'r tŷ hefyd; a'm gŵr a edrychai yn gyflym o'i ôl, yna arnaf finnau, ac at y corph. Deuai fflachiad disymwth o ing gorphwyllog ar draws ei wynebpryd, ac efe a yrodd y ddagr i'w fynwes ei hun.

"Yna torwyd y swyn; yna, yna yr adferwyd i mi allu i ysgogi a llefaru; a gelwais yn uchel am gymhorth, rhwygais yr awyr â'm hysgrechfeydd, a chwympais wrth ei draed—canys efe a safai eto yn ddiysgog—ac mewn gwylltineb gorphwyllog, attolygais arno i fyw, i fyw i'm gwaredu rhag gwallgofrwydd. Ond, yr oedd rhyw dawelwch ofnadwy wedi dyfod dros ei wyneb ardderchog.

"'Laura,' eb efe, 'yr ydwyf yn marw: a chystal yw fy mod felly; canys pe buaswn byw, buasai raid i mi fyw i gospi a dïal. Pa ham y gwnaethoch hyn' eb efe yn fwy llesg, 'ni's gwn. Cymerwch eich dwylaw ymaith; nid gwiw i'r llaw a ystaeniwyd â gwaed fy chwaer, gyffwrdd â mi.'

"'Eich chwaer!' llefai fy nhad, yr hwn a ddaethai i fynu erbyn hyn;—'eich chwaer!—Sethrwch arnaf fi! sethrwch arnaf fi!' bloeddiai, gan gwympo wrth draed yr iarll. 'Nyni a lofruddiasom y diniwed!'

"Minnau a barhawn yn cofleidio ei liniau; ac attolygwn arno, na byddai iddo fy mwrw ymaith mewn dirmyg; ac mewn ymadroddion angerddol, mynegais iddo y modd y'm twyllasid. Efe a wrandawai arnaf, er y gallwn weled buddugoliaeth yr angel dinystriol yn y gwelwedd a ddeuai dros ei wynebpryd; ond, efe a barhâi i wrando arnaf; a deuai gwên,—gwên ddysglaer, siriol, yr olaf, yr hawddgaraf, ar ei wefus, fel pe buasai yn foddhaol ganddo glywed rhyw beth a allai esgusodi fy nhrosedd. Efe a ddododd ei law ar fy mhen, fel y penliniwn o'i flaen. 'Druan ydych!' eb efe, 'os felly y mae, yr ydych chwi yn wrthddrych tosturi, mwy nag ydyw hi;' gan gyfeirio ei law at ei chwaer. 'Bu hi farw, pan yn ddwys edifeiriol am un cyfeiliornad galarus, yr ydoedd ar gladdu adgof ei gwarth yn nghysgodion y lleiandy, a chyssegru gweddill ei dyddiau i geisio maddeuant ei Duw: tra y rhaid i chwi fyw rhagoch, eneth annedwydd! i holl bangfeydd adgof chwerw. Na phenliniwch yna, fy arglwydd,' medd efe yn mhellach, gan gyfarch fy nhâd;—na phenliniwch yna; nid ydyw yn gweddu i chwi! Ond cynorthwywch fi i'r eisteddle acw; canys y mae fy nerth yn pallu yn gyflym.'

"Yr oedd amryw o'r gweinidogion wedi ymgrynhoi o amgylch, a hwy a'i cynnorthwyasant, neu yn hytrach, a'i cludasant i'r eisteddle a nodasai efe. Y cyffroad a barai i'r gwaed ddylifo o'i fynwes, a meddyliais y buaswn yn gwallgofi wrth ei weled yn llifeirio.

"'Pa le y mae y plentyn?' medd efe o'r diwedd, ar ol eistedd o hono; 'pa le y mae y plentyn?' A hwy a ddygasant faban teg a siriol, ato yn ddïoed, yr hwn a wesgid ganddo yn ei fynwes waedlyd.

'Druan amddifad!' medd efe, fel y chwareuai y baban â siobau auraidd ei gochl. 'Druan amddifad! ffrwyth ffalsder annheilwng penadur, a gwendid benyw—Yr ydwyf yn dy adael yn unig yn y byd tywyll, di serch hwn. Eto, bydded pawb sydd yma yn dystion, fy mod i yn cymmun-roddi i'r plentyn hwn bob peth a feddaf yn yr Eidal. Rhaid i'm hettifeddiaethau o'r tu hwnt i'r Alpau, fyned yn ol y gyfraith i eraill; ond iddo ef yr ydwyf yn rhoddi y cwbl a feddaf yma. Ac os bydd i ryw un caredig weini rhan tâd i'r plentyn tlawd hwn; gan ei ddwyn i fynu mewn ffydd ac anrhydedd, gwirionedd a rhinwedd,—bydded i fendith Duw ddisgyn arno, yn ol gweddi dyn ar drancedigaeth! Ond O! uwchlaw pob peth, bydded iddynt ei ddysgu i ymddiried mewn rhinwedd, i ymddiried mewn cyfeillgarwch, i gredu mewn cariad; canys y mae drwg-dybiaeth, drwg-dybiaeth melldigedig! yn fwy twyllodrus nag ydyw hyd yn nod y rhagrithiwr bryntaf ar y ddaear.—Cymered rhyw un y plentyn, canys yr ydwyf yn llesmeirio!'

"Efe a ymattaliai am fynyd, a phenliniwn wrth ei draed; canys yr oedd y geiriau a lefarasai ef wrth y plentyn wedi gwneuthur i mi wylo, a'r dagrau hyny wedi esmwythau fy ymenydd. Gan hyny, penliniais wrth ei draed, ac edrychais i fynu tu a'i wyneb, i edrych a gymerai efe sylw o honof eto. Bu ei lygaid yn gauedig am fynyd, a'i wefusau a sibrydent weddi. Yna, efe a edrychai i waered arnaf, ac a ddywedai, 'Laura, yr ydwyf yn maddeu i ti! ac yr ydwyf yn hyderu y maddeua Duw i ti hefyd; ond, yr ydwyf yn ofni na's maddeui di i ti dy hunan byth. Eto, am y fynyd olaf hon o'm heinioes, tyred i fy mreichiau unwaith eto! Eistedd yma gerllaw i mi; goddef i mi roddi fy mhen i bwyso ar dy fynwes. O Laura! pe gallasit ti ond gwybod fel y'th garwn—mor gyflawn ac unigol y meddiennit fy serchiadau, ni fuasit ti byth yn fy ammeu. Ni cherais erïoed ond tydi; a cherais di y modd na charwyd gwraig erïoed! Yr ydwyf yn dy garu, hyd yn nod yn awr!'

"Teimlwn ei ben, fel y gorweddai ar fy myn-

wes, yn pwyso yn drwm arnaf; eto, ni symudwn, ac ni allwn lefaru; ond eisteddwn ae wylwn, a'm dagrau a ddisgynent ar gudynau ei wallt. Yn fuan wedi hyn deuai offeiriad i'r ardd, wedi clywed fod rhyw un yn marw; a chan ddyfod tuag attom ar unwaith, efe a syllai ar fy ngŵr, ac a'i cyfarchai, gan ddywedyd, 'A wyt ti eto yn mysg y byw, fy mab?' Ond nid attebid ef. Yna dywedai yr offeiriad, 'Ha ferch! nid dy fynwes di yw y bedd; rhodded y marw i fynu i drigfanau y meirw.—Yr ysbryd a ymadawodd!'

"Hwy a'i eymerasant oddiar fy mynwes; er hyny, glynwn wrtho. Ni allwn, ni fynwn gredu fod y ewbl drosodd; fod gobaith, dedwyddwch, tangnefedd, a diniweidrwydd, wedi eu colli oll mewn un awr; bod eiddigedd, âg un dyrnod, wedi rhoddi terfyn ar holl fendithion einioes ar unwaith. Hwy a'm hattalient, ac a'i dygasant yntau ymaith. Pa beth a gymerodd le drachefn, ni's gwn; canys y mae bwlch o amryw ddyddiau yn y côf. Yr ydwyf yn credu mai gorphwyllog oeddwn dros y dyddiau hyny, er na fynegodd neb hyny i mi erïoed; ond pan adferwyd fy synwyr i mi, dyma y lle yr oeddwn, yn un o gelloedd y fynachlog hon; a'r abbades, yr hon oedd o'r un waedoliaeth a mi, yn eistedd gerllaw i mi, gan fy ngwylio. Pan adferwyd ychydig ar fy nghyfansoddiad llesg, ae y gofynais ryw gwestiynau pryderus am y mynedol, hi a fynegodd i mi fod rhyw chwedl ddyeithr a brawychus ar led y wlad o berthynas i farwolaeth fy ngŵr, a rhyw foneddiges y tybid mai ei chwaer ydoedd, yn Montaroni. Ei hymadroddion a'm gyrasant yn wallgof eilchwyl; a gorphwyllwn yn nghylch yr oll a gymerasai le: ond gwyddwn fy mod yn dyrysu yn awr; teimlwn fod fy ngeiriau yn afreolaidd, annghyson, a pheryglus, er na's meddwn allu i'w hattal. Ond adferwyd y gallu hwnw i mi yn fuan; a phan ymofynais yn mhellach, rhoddid yr attebion i mi gyda mwy o ochelgarwch. Deallais fod fy nhâd wedi gadael y wlad; ae yn rhyfela gyda rhyw fyddin dramor. Yr oedd ei ddylanwad a'i gymeriad uchel ef, wedi llethu ymholiad, mewn gwlad lle y mae braich y gyfraith yn wan ae esgeulus. Er hyny, yr ydoedd chwedlau dyeithr ar led. Mwyheid y ehwedl, a cham ddarlunid ei ran ef yn y gweithredoedd ofnadwy hyny; ae yn awr, wedi ugain mlynedd o ofid afiesol, ae o edifeirwch a gweddi mwy effeithiol, od oes gwirionedd yn addewidion trugaredd, yr ydwyf wedi eistedd i gyflawni y gorchwyl ofnadwy o adrodd fy hanes bruddaidd fy hunan. Rhan o'm eosbedigaeth ydyw gwneuthur hyny; ond, ni fynwn i enw archolledig fy nhâd orfod dwyn yr holl waradwydd y mae dynion yn ei fwrw arno yn awr.—Y mae drosodd, ae y mae fy nghalon innau wedi ei hysgafnhau trwy y cyflawniad o hono! canys, er mai tywyllwch a gofid yw fy nghyfran i eto, y mae pelydryn o obaith o'r nefoedd,—blaen-brawf o drugaredd oddi uchod—yn dyfod, ae yn tawelu fy ysbryd. Caniattaer i'r amser fod yn fyr; i'r dyddiau fod yn ychydig o rifedi; bod i'r fuchedd flinderus hon ddyfod i ben yn fuan, ae i'r corph llesg gael gorphwyso yn y drigfa dywell hono, lle y gorwedda fy nhâd eisoes, unig gamwedd yr hwr ar y ddaear, a gyflawnwyd o gariad attaf fi, a'r prïod hwnw, a garwn hyd orphwylldra."

—*Allan o* James's Book of the Passions.

---

## HUNAN.—DUCHANGERDD.

GAN ALAFON.

(Buddugol yn Eisteddfod Freiniol Bangor, 1874.)

Bydd beirdd cyn gafael mewn rhyw destyn mawr
  Yn galw'n wylaidd am gynorthwy'r Awen;
Cydsynia pawb i minau wneyd yn awr—
  Wel tyred dduwies, os oes genyt *bawen;*—
Mae'r pwne sydd genyf heddyw'n gnafaidd gawr,
  O dymher flin, anhydrin, ae aflawen.
'Rwyf wedi'i roddi i lawr eyn dechreu arno—
Mae'n haws d'od drosto, barned y neb farno.

Nid canu i *fy hunan* fydd fy ngwaith,
  Pe canwn felly byddwn yn hunanol;
(A byddai pob ffolineb ynwy'n ffaith,
  Pe gwnawn i mi fy hunan gerdd duchanol),—
Nid cyflwr unig Hen-lancyddiaeth chwaith
  Feddyliaf; na, rhyw hunan pur wahanol—
Rhyw Hunan *mawr*—rhyw anferth Hunan-ddelw
Addola'r oesoedd, yw fy nhestyn gwelw.

Mae gwelw'n rhyw ansoddair egwan iawn,
  Ac annhriodol i'w ddelweddu hefyd,
O herwydd mae ei groen yn dŷn—yn llawn;
  Ond cofiwch, llawn o fost a ffugiaeth ynfyd;
Neu (os goddefwch dipyn mwy o ddawn)
  Chwydd annaturiol ymenyddiol glefyd;
Neu 'n well fe allai, llawn o'r un athroniaeth
A'r 'swigod wneir trwy bibell a seboniaeth.

Yr eilun hwn a faglodd ein hen dad—
  Gwyr pawb mor erwin oedd y codwm gafodd:
Mae'r cloffni byth yn rhwystro i'r un o'i had
  Ymgripio i fyny i'r lle gynt y safodd;
A phawb o'r bron yn rhoddi rhyw fawrhad
  Addolgar i'r ddrychiolaeth a'i hanafodd;—
Drwy oesau'r byd mae hudlath hun-addoliaeth,
Fel hunlle fawr, yn llethu y ddynoliaeth.

Rhyw "garreg afael" roes y diafl yn ngwaen
  Cymdeithas, ydyw ysbryd hunanoldeb,
Atalia'r byd rhag myned yn ei flaen;
  A chyn y daw i ddeall gwir raddoldeb,
Rhaid tynu llawer oes yn groes i'r graen.
  Mae'r byd yn ddall i gywir ragoroldeb:
Y diafol beunydd, mewn chwerthinol afiaeth,
Hud-ddena ddyn ar ol rhyw *ffug* uwchafiaeth.

Ond er mwyn cyrhaedd pen y gân ryw bryd,
  Rhaid imi ganu'n dipyn mwy personol;
A chloi'r llinellau hwyrach ar ei hyd
  Ag odlau mwy cyffredin, ac undonol;
Ond os daw'r lleill yn rhwyddion, gore'i gyd—
  Mae odlau dwbl wrth gwrs yn fwy *barddonol.*
(Na thybied undyn byw mai er mwyn estyn
Y gân yr aed fel hyn "oddiwrth y testyn.")

Mae'r dynion nad arferant blygu glin
  I'r Baal-dduw hwn, i'w cyfrif yn eithriadau,—
Bydd pawb o'r bron yn gollwng dros eu min
  Addoliad iddo, dan rai amgylchiadau;
A'r dyn eiddilaf mewn pob math o rin
  Yw'r cyfansoddwr goreu ar honiadau:
'Ran hyny mae'n wybyddus mai'r peth gwacaf
Bob amser, o angenrhaid, yw y llacaf.

Ceir ambell un yn treulio'i oes i ben
  I geisio cael gan rywun wel'd ei allu;
A braidd na luchiai'r byd, a ser y nen
  O herwydd ei ddyhirwch cas yn *pallu!*
Nis gallodd wel'd ei hun erioed—mae llen
  O hunandwyll ac ymffrost wedi ei ddallu.
O herwydd camgymeriad dybryd, druan,
Mae'r dyn yn byw a marw ynddo'i hunan.

Edrycha'r llall mewn syndod arno'i hun
  Mor fawr, mor uchel—fel Alp-fynydd dynol;
A phlant y ddaear wrth ei droed bob un,
  Yn cropian yn eiddilod gor-resynol;—
Chwydd wydrau mewnol sydd yn twyllo'r dyn;
  Ni choeliai chwaith pe dwedai'r Mor Pegynol!
Wel, wel, bydd yn ddygwyddiad rhyfedd arw
I gymaint swm *ddiflanu* pan fydd marw.

Mae'n ffaith mai'r dynion bach teneuaf, all
  Gwynt Hunan chwyddo i'r maintioli mwyaf.
Mae'n ffaith mor wir mai nid yn mhen y call
  Mae'r gwrtaith hwnw dŷf y tafod hwyaf:
Paham mae dynion bychain mor ddi ball
  Yn barnu eraill?—Ofnaf yr andwyaf
Fy nawn wrth ateb; ond mae ysgolheigion
Yn dweyd mai'r "mwya'u trwst yw llestri *gweigion.*"

Ymrithia Hunan hefyd hyd y wlad
  Yn fynych mewn corphorol symudiadau:
Rhydd *ystum* ambell lencyn ganiatad
  I'r craffus ddarllen rhes o awgrymiadau;
Ond cerdda llawer yn ol siampl eu tad—
  Mae anfarwoldeb rhai mewn *ysgogiadau!*
Mae tad i bawb, wrth gwrs,—a thad gwahanol
I dafliad braich ac ystum yr hunanol.

Yn llogell anferth ambell wr go fawr
  Y saif ei Hunan torsyth i ymhoni:
Os tyn pechadur truan hwnw i lawr,
  Yn iach i bobpeth arall ddaw o honi;
Ond ymolwyna darnau gwych eu gwawr
  I'r llaw a'i gwna yn llithrig trwy "seboni:
Mae sebon yn ddiffael, medd dysgedigion,
Am fagu natur hael mewn boneddigion.

Ymbortha Hunan ar ryw lawer byd
  O fwydydd lunir o wahanol nwyddau;
Ond nid oes cystal blas ar ddim o hyd
  A'r bri a hongia wrth ganghenau *swyddau,*—
Cael mwyniant uchel swydd—O! dyna i gyd
  Yw *hoby* bywyd rhai am leng o flwyddau:
Tyn swyddi ddwr o ddannedd gwreng a bonedd—
'Does dim mor swynol o'r "Comiti" i'r Senedd.

Os rhoir y dyn i dynu yn y bôn,
  Ystrancia'n ynfyd nes bo'r tresi'n tori;
Ac am y canol wed'yn—tewch a son,
  Neu trŷ yn fud a byddar "wedi sori;"
Ond tŷn bedrolfen gymaint a Sir Fon
  Os rhoddir iddo'r fraint o gael *blaenori!*
Mae'r ysbryd hwn yn brawf o ras cynnyddol!
Mewn rhyw gyfeiriad, yn y dyn crefyddol!

Mor rwydd ceir ambell i feddyliol gawr
  Yn gallu synu'r byd wrth gyfansoddi,—
Wrth raff athrylith fenthyg, arwr mawr!
  I gefnfor drychfeddyliau mae'n ymsoddi;
A heria undyn byw i feiddio i lawr
  I'r fath ddyfnderoedd, heb foddloni boddi.
Gwna ddillad rhwysgfawr gyda'i goeg ddefnyddiau
I wisgo *plant amddifaid ymenyddiau!*

Rhyw wag ymhoniaeth ydyw'r felldith sydd
  Yn camgyfeirio 'sgrifell plant llenoriaeth;
A dyma'r hen gyweirnod poenus rydd
  Rhyw anghydseinedd bythol mewn cerddoriaeth:
Mae'r "Cythraul Canu" 'n ddigon hyf liw dydd
  I dd'od i'r golwg gyda'r gair *blaenoriaeth.*
Mae'n arw o beth fod cerdd yn agor dorau
Sy'n gollwng hwn yn rhydd i rwygo corau!

Paham mae *beirdd* yn fwy o "blant y cam"
  Na bodau ereill drwy yr holl gyfnodau?
A ellwch chwi esbonio y paham,
  Ysbrydion di rifedi Eisteddfodau?
Gwna llu lawforwyn gaeth o "iaith eu mam"
  I weini ymffrost ar eu llyfn dafodau.—
Ceridwen! pwy briododd gau ymhoniaeth
A'r dduwies dyner hono—Mam barddoniaeth!

Mae'r gân yn rhedeg eisoes yn rhy faith
  I ddim ond gwneyd crybwylliad am ystranciau
Fy arwr mawr, consetlyd, ambell waith,
  Yn ngwersyll anrhydeddus yr Hen lanciau;
Ni fynwn ffromi Hen-lancyddiaeth chwaith,
  Rhag ofn yr *esgymundod* a'r *ystanciau,*—

Oblegid y mae un[1] o'r urdd nodedig
Er's talm yn dalp o Hunan *anffaeledig.*

Fel hyn, mae Hunan drwy derfynau'r llawr
Yn derbyn rhyw warogol gydnabyddiaeth;
Er hyn i gyd mae rhai yn ddigon mawr
I ddysgu adnod Hunan-adnabyddiaeth.
Mae dynion felly yn ffieiddio sawr
Meddyliau gwyntog, chwyddol, a "phwffydd-
iaeth:"
Mae plant athrylith bur ac anfarwoldeb
Yn ddigon tàl i *sathru* hunanoldeb!

Waeth heb roi saethau sèn ar fwa dawn
Fel hyn, a'u gollwng ymaith yn duchanol—
'Does dim ond *gras* gâ oruchafiaeth lawn
Ar Hunan: tra bo'i fancr gyhwfanol
Ar drum y byd, ca ddeiliaid lawer iawn—
Mae hwn a dynion bach mor anwahanol:
Gorphena'r byd ei dasg mewn Gostyngeiddrwydd
Y dydd bydd ffrwynau'r meirch yn dwyn—
"*Sancteiddrwydd!*"

[1] *Pio Nono.*

---

## Y MWN-GLAWDD IFORI.

### CHWEDL O'R MÔR RHEWEDIG.

#### I.—YAKOUTSK.

YAKOUTSK y gelwir un o brif ddinasoedd Siberia, gwlad ag y mae ei henw yn cynnyrchu drych-feddyliau eithafol am ddiffrwythdra ac annghyfanedd-dra. Ond y mae Siberia, yr hon a ddyfrheir gan afonydd y rhai a wasanaethant yn lle rheilffyrdd yn mhob cyfeiriad, a'i mynyddoedd a'i dyffrynoedd coediog, ei llethrau gwyrdd-leision, ei maesydd diwylliedig, ei dolydd esmwyth, a'i gerddi, a'r ynysoedd glas-welltawg yn yr afonydd mawrion; yn nghyda mesur helaeth o lysieuaeth gyffredin; a ffynhonell o fasnach ddi derfyn mewn crwyn, ac ifori, fel y rhan fwyaf o wledydd eraill, yn gweini ad-daledigaeth am lymder yr hinsawdd. Tref dra gogleddol yw Yakoutsk, ar lan yr afon fawr Lena, a heolydd llydain, a bythynod truanaidd, oll o goed, mewn llawer o ba rai y mae rhew eto yn cael ei ddefnyddio yn lle gwydr ar y ffenestri yn y gauaf. Fe'n hysbysir gan deithydd enwog, fod, ar ei ymweliad ef â'r lle, bedair mil o bobl yn byw mewn pum cant o dai; tair eglwys o feini, dwy o goed, a chrefydd-dy, (*convent*). Meddai ddernyn henafiaethol i'w ddangos unwaith, sef yr hen Ostrog, neu amddiffynfa a gyfodasid gan y Cossaciaid, yn y flwyddyn 1647; ond yr hon, gan nad oedd wedi ei hadeiladu o geryg, ond o goed, a adfeiliodd yn gyflym, fel nad oes erbyn hyn ddim o'i holion yn aros. Y mae cynnydd a diwylliant yn ganfyddadwy hyd yn nod yn y fan hon, a'r bythynod gwaelion yn rhoddi ffordd yn raddol i dai, rhai o ba rai ydynt wedi eu trefnu yn deleidwiw oddi fewn. Y mae yn ganolbarth masnach fawr: o'r Anubra i gyfyngforoedd Behring, o lenydd y Môr Rhewedig hyd Fynydd Aldana; o Okhotsk, ac hyd yn nod o Kamtchatka, dygir nwyddau hyd yma, cynnwysedig yn benaf o grwyn blewog, dannedd moelroniaid, ac ysgythr-ddaint cawrfilod, o'r rhai y gwneir ifori rhagorol, y rhai a werthir oll yn yr haf i fasnachwyr teithiol, y rhai a roddant yn gyfnewid ffwgws cryf, ŷd a blawd, tê a siwgr, diodydd cedyrn, sidanau a chottymau Chineaidd, brethynau, llestri haiarn ac efydd, a gwydr.

Y mae y rhan fwyaf o drigolion y dref yn fasnachwyr, y rhai a brynant eu crwyn blewog gan helwyr Yakouta am brisiau isel, ac yna a'u gwerthant mewn rhyw ddull dyeithriol i oruchwylwyr o Rwssia, a ddeuant i ymofyn am danynt. Yn ystod y ffair flyneddol, ystoriant eu nwyddau mewn ystafelloedd annghyoedd, ac yno y bydd raid i'r gwyr o Irkoutsk ddyfod i'w gweled. Y preswylwyr Rwssiaidd yw y masnachwyr hyn; ac nid yw y brodorion Yakoutaidd namyn y crefftwyr. Yn y drefedigaeth bellenig hon o'r teulu dynol, rhoddir y baban Rwssiaidd newydd-anedig i'w fagu gan fammaeth Yacoutaidd; a phan fyddo yn ddigon hên, dysg ddarllen ac ysgrifenu; yna efe a ddygir i fynu yn masnach y blew-grwyn, ac felly gorphenir ei addysgiaeth.

Ifan Ifanofitch oedd wr ieuanc a anesid, ac a ddygasid i fynu yn Yakoutsk. Rhoddasai ei rïeni y ddogn arferol o addysg iddo, ac yna goddefasent iddo ddilyn ei dueddfryd ei hun dros amser. Ymgymerai Ifan â helwriaeth; a chan ei fod yn dra hoff o'r difyrwch yma, efe a aeth allan pan yn dra ieuanc gyd a'r helwyr Yacoutaidd, a daeth yn hyddysg yn y gwaith o chwilio am y bele, y gath bali, a'r ïg; a gallai erlyn y carw Llychlyn, a'r *Elk*, ar y llithrfeydd; ac aethai hyd yn nod i'r gogledd i chwilio am foelroniaid. Fel hyn, erbyn ei fod yn ugain mlwydd oed, yr oedd efe yn gyfarwydd ar yr holl ran lafurus o'i fasnach, ac yn adnabyddus o'r holl helfeydd da, ar y rhai y seiliai y Siberiaid eu llwyddiant. Ond pan ei galwyd i ddylyn y rhan fwy tawel a di lafur o'i alwedigaeth, nid oedd agos mor fedrus. Yr ydoedd ei fuchedd lafurus flaenorol, yn gwneyd ei drigias drefol yn ddiflas iddo, ac efe a amlygai y dïystyrwch trwyadl hwnw ar siopyddiaeth a amlygir gan y llwythau crwydrol yn gyffredinol, pa un bynag ai Indiaid Cochion, Arabiaid, Tartariaid, neu Siberiaid.

Ond dywedid wrth Ifan, bod yn rhaid iddo

wneyd ei ffordd yn y byd. Yr oedd ei rïeni, y rhai a fuasent feirw cyn cyrhaedd o hono ef ei lawn-dwf, wedi gadael ychydig o gyfoeth iddo, mewn arian a blew-grwyn, trwy y rhai pe y dewisasai fod yn ddiwyd a chynnil, y gallasai esgyn yn rhwydd i'r sefyllfa uchaf yn ei dref enedigol. Gan weithredu ar gynghorion ac annogaethau taerion ei gyfeillion, efe a roddes i fynu grwydro; ac a aeth i gyfanneddu yn mhreswylfod ei dadau; a bentyrodd ei flew-grwyn a'i ifori, a brynodd ychwaneg attynt, ac a ymbarottodd at y ffair flyneddol. Y masnachwyr o'r brif ddinas, Irkoutsk, a ddaethant, a gwnelai Ifan, yr hwn oedd yn gyflym a medrus, fasnach ddâ. Ond, wedi newid ei flew-grwyn a'i ddannedd, am dê, ffwgws, brandi, brethyn, &c., ni theimlai efe yn ddim dedwyddach. Hiraethai Ifan am y bryniau sych-gras, y mynyddoedd dyrchafedig, a'r llynau gloywon,—yr helwrfa gynhyrfus, a'r cad-wyliad nosawl, pan fyddai yr Yacoutaniaid penllwyd, a'u pibellau yn eu penau, yn adrodd chwedlau rhyfedd ac ofnadwy yr oesoedd gynt. Tra yn ymborthi ar foethau y dref, dyheuai ei gylla am ymenyn rhewedig Yakouta, wedi ei dori â bwyill, ac am bŷsg rhewedig, a moethau gogleddol eraill. Ac yna, dywedai ei gyfeillion caredig, fod arno eisiau gwraig, a sicrhäent ef, fod einioes yn rhwym o fod yn annifyr hebddi; ond y byddai iddo yn ei chymdeithas hi, beidio â'i hiraeth am gymmundeb âg anwariaid, ac â gwylltfilod yr anialwch.

Ifan a'u credai, a chan ddylyn eu cyfarwyddiadau, efe a ymgymmysgodd mewn cymdeithas, gan fynychu gwleddoedd trystfawr y dref yn amlach, yr hyn a gymerai i fynu sylw y trigolion yn benaf ar y tymhor tawel. Cyfrifai pobl dda Yakoutsk—fel pob rhyw bobl yn ymylu ar gyflwr natur, yn enwedig mewn hinsoddau gogleddol—fwytta ac yfed fel gorchwyl penaf eu heinioes. Dywaid ffugchwedlau am y swm anferth o ymborth y gallent ei ddifa, bron yn ymylu ar yr Esquimaux: ond pa fodd bynag am hyny, y mae yn wirionedd diamheuol, y dechreuid pob gwyl Yakoutaidd âg amryw oriau o fwytta ac yfed llafurus, o fwyd bras ac olewaidd, a brandy crŷf. Wedi ymlenwi hyd yr eithaf â'r cyfryw ymborth, byddai y meibion henaf, yn gyffredin yn troi at eu pibelli, eu cardiau, a'u gwirodydd; tra fyddai y boneddigesau yn parottoi tê, ac yn bwytta cnau rhost, er cynnorthwyo yn nhreuliad yr ymborth, efallai. Y gwŷr ieuainc a chwedleuent gyda hwynt, neu, a rostient eu cnau iddynt, tra fyddai ambell i goryn cymhenffraeth, yn myned trwy ddawns Siberiaidd gyda cherddoriaeth y crwth. Ymunai Ifan yn galonawg yn yr holl rysedd hyn: efe a ysmygai gyd a'r hen wŷr, ac a yfai eu gwirod; efe a rostiai eu cnau i'r boneddigesau, ac adroddai ystoraion rhyfedd iddynt, ar y rhai y gwrandawid yn awchus yn y cyffredin, oddieithr pan fyddai rhyw ffasiwn newydd, a annghofiasid er's blyneddoedd yn Paris, wedi cyrhaedd drwy St. Petersburg, Moscow, ac Irkoutsk, i ddiffeithfaoedd Siberia. Yna, efe a dawai; gan fod y boneddigesau yn meddu digon o destyn arall ymddiddan, heblaw y testyn mawr ymddiddan wrth y bwrdd *tea*, sef athrodaeth; nes peri i'r hen wŷr ysgwyd eu penau, a dywedyd nad felly yr oedd pethau pan oeddynt hwy yn ieuainc. Pa fodd bynag, yr oedd Ifan yn meddu un elfen anffaeledig o boblogrwydd gyd a'r boneddigesau. Fel y nifer fwyaf o'r Rwssiaid a gawsent achlysur i deithio llawer mewn gwledydd oerion, efe a fwynhai gwpanaid o dê yn hytrach na gwydraid o wirod; gan ei fod wedi dysgu trwy brofiad, fod mwy o gynesrwydd naturiol ynddo; ac y mae yn hysbys fod y rhan fwyaf o'r swyddogion Rwssiaidd o'r un farn ag ef am hyn.

Cawsai sylw Ifan ei gyfeirio at Maria Vorotinska amryw weithiau;—gweddw ieuanc gyfoethog oedd Maria, yr hon oedd yn wrthddrych edmygedd holl Yakoutsk. Gadawsai ei gŵr waddol iddi mewn hyddysgrwydd yn masnach y blew-grwyn, ac mewn arian sychion, (fel y dywedir,) nid ychydig; yn nghyda thŷ wedi ei ddodrefnu yn hardd; yr hyn a gyfrifir yn goron dedwyddwch yn Siberia. Yr oedd Marïa, er ieuenged ydoedd, yn cael y gair o fod yn orau am fargeinio yn yr holl wlad. Prynai ei chrwyn am lai na phawb arall, a gwerthai hwynt am brisiau uwch; a dywedid y buasai o werth annrhaethol i Ifan, gyd a'r holl gymhwysderau hyn, gan nad oedd ef yn nodedig o galed, fel prynwr na gwerthwr. Ond parhâi Ifan dros enyd, yn hollol ddi deimlad i'r holl fanteision cymdeithasol hyn, a phrydferthwch rhagorol y foneddiges. Efe a'i cyfarfyddai yn fynych, ac hyd yn nod a rostiai fwy o'i chnau hi na neb arall; ond er y cwbl nid ymddangosai ei fod wedi ei ddal yn maglau yr un dôg. Nid oedd yn bwytta, yn cysgu, nac yn ymddifyru, un gronyn llai na phan ei hadwaenai gyntaf.

Pa fodd bynag, un prydnhawn, fel yr oedd Maria yn estyn ei dê iddo, yn nghyda theisen frwd, teimlai Ifan ryw ddylanwad cryf yn cydio ynddo, er na's gwyddai yn sicr pa ham; a thranoeth efe a wnaeth y cynnygiad pwysig iddi yn ffurfiol. Chwarddai Marïa, taflai ei phen, a dywedai ychydig eiriau ysmala; ac yna, heb ei dderbyn na'i wrthod, awgrymai rywbeth yn nghylch ei ieuenctyd, ei ddiffyg o ymroddiad i'w fasnach, a bychander ei gyfoeth. I'r hyn yr attebai Ifan yn lled boethlyd, gan ddatgan ei fod ef yr heliwr gorau yn Yakoutsk, ac o ganlyniad y mwyaf cyfarwydd trwy brofiad ac

ymarferiad, yn y fasnach; ac yna, efe a'i hysbysai o gyfanswm ei feddiannau.

"Prin y bedwaredd ran o'r hyn a adawodd yr hen Vorotinska dda i mi!" medd y gyfrwys Marïa.

"Ond, pe y mynwn," medd Ifan, "myfi a allwn fod y masnachwr cyfoethoccaf yn Siberia."

"Pa fodd?" gofynai Marïa yn lled chwilfrydig; canys effeithiai y crybwylliad am gyfoeth arni hi, fel y gwna arogl pylor ar y rhyfel-farch.

"Gan mai myfi ydyw yr unig Rwssiad o'r bron, a fu yn cyfanneddu yn mysg yr Yakoutiaid, yr ydwyf yn feddiannol ar y gyfrinach o gael blewgrwyn yn rhatach a rhwyddach na neb arall. Heblaw hyny, pe y dewiswn gymeryd siwrnai faith, gallwn gael ifori yn bentyrau enfawr. Y mae traddodiad ar led, am fwn-glawdd o ifori yn y gogledd, yr hyn a sicrhawyd i mi gan hen ŵr o Yakouta fel gwirionedd."

"Digon tebyg," medd Marïa, i'r hon yr oedd bodolaeth cloddiant ifori y *mammoth*, mewn talpiau enfawr, yn ddigon hysbys; "ond y maent wedi eu hysbeiliaw er ys talm gan y cwmnïau masnachawl."

"Nid y rhai hyn," medd Ifan; "ond mwn-glawdd nad agorwyd erïoed; yr hwn sydd yn mhell, bell, yn y Môr Rhewlyd, ac yn gofyn gwroldeb ac egni dyfal i'w ddarganfod. Fe'i darganfuwyd unwaith gan ddau o Yakoutiaid. Un o honynt a laddwyd gan y brodorion; dïangodd y llall, ac y mae yn hen wr yn awr."

"Pe gallech chwi ddarganfod hwnw," medd Marïa, "chwychwi a fyddech y dyn penaf yn Siberia, ac fe'ch anrhydeddid gan yr amherawdr ei hunan."

"A chenych chwithau?" gofynai Ifan yn ostyngedig.

I hyn attebai Marïa yn bwyllog, gan ddywedyd, "Ifan Ifanofitch, y mae yn hoffach genyf dydi nag un dyn yn Yakoutsk; ond, myfi a addolwn y masnachydd Ifori mawr."

Boddheid Ifan yn fawr gan ei hattebiad. Eto, fe'i synid nid ychydig gan gymeriad y foneddiges, yr hon wedi prïodi hen ŵr er mwyn ei gyfoeth, a ymddangosai mor barod i gymmodi ei helw â'i serchiadau mewn ail brïodas. Ond nid oes rhyw lawer o goethder yn perthyn i rai haner gwareiddiedig. Gwareiddiad sydd yn gwneyd dyn cyflawn o'r elfenau amrwd sydd ynddo wrth natur.

Pa fodd bynag, ammaethai Ifan y meddylddrych, yr hwn ar wahan oddiwrth y nwyd ddisymwth a gymerasai feddiant o hono, a fuasai yn eplesu yn hir yn ei ymenydd. Yn ystod ei wib-deithiau, buasai heliwr enwog o'r enw Sakalar, yr hwn a arhonai haniad oddiwrth seilydd Tartaraidd tybiedig Yakoutas, yn gwneyd llawer hwyr yn ddifyrus iddo, drwy adroddiad o'i daith beryglus ar geir llusg, ar draws y Môr Rhewlyd, a'i ddarganfyddiad o fwn-glawdd ifori;—sef cronfa enfawr o ysgythr-ddannedd y *mammoth*, a ganfyddir yn gyffredin yn ddwfn iawn yn y ddaear; ond yma, o fewn cyrhaedd llaw pawb. Efe a siaradai am y peth, fel un o ffoleddau ei ieuenctyd, trwy yr hyn y collasai efe gyfaill anwylaf ei fywyd; ac nid awgrymasai un amser ei fwriad i adnewyddu yr ymweliad. Ond yr oedd Ifan yn benderfynol i ymgymeryd â'r anturiaeth beryglus; ac hyd yn nod i sicrhau gwasanaeth Sakalar fel ei arweinydd.

### II.—Yr Heliwr Yakoutaidd.

Ni hunai Ifan ar ei fwriad; ond yn mhen ychydig ddyddiau yr ydoedd yn barod i gychwyn. Efe a brynodd y meirch angenrheidiol; ac a rwymodd i fynu yr holl nwyddau amrywiol oeddynt yn angenrheidiol i'w daith, ac yn debyg o ryngu bodd i'w gyfaill o Yakouta, yn gynnwysedig o dê, rum, brandi, myglys, pylor, a phethau eraill. Iddo ei hunan, efe a gymerodd gwpl o law-ddrylliau, dillad cryfion a chynes, crochan at goginiaw ei ymborth, ac amryw bethau eraill, gwir angenrheidiol yn y gymmydogaeth oer hono y bwriadai ymweled â hi. Y mae pob teithwyr i'r gogledd wedi cael allan fod digon o ymborth, a'r cyfryw ddïodydd a thê, yr amddiffyn mwyaf effeithiol rhag gerwinder yr hinsawdd, tra y mae ymborth olewaidd a bras yn ddyogelydd da rhag yr anwyd. Ond, nid oedd raid i Ifan ofalu cymaint am y pethau olaf hyn, canys yr oedd ei gyfaill o Yakouta yn ddigon hysbys o'u gwerth; ac yn sicr o'u harlwy mewn helaethrwydd. Y rhan gyntaf o daith Ifan, oedd o angenrheidrwydd i *wigwam* Sakalar, heb gymhorth yr hwn y buasai ei holl obeithion yn ofer am gyrhaedd ei amcanion. Meddai ddigon o ymddiried ynddo ei hun i anturio heb arweinydd tua gwastadedd Miouré, lle y cyfaneddai ei gyfaill o Yakouta. Cychwynodd ar wawriad y bore, heb hysbysu neb ond Marïa o'i ymadawiad; a chychwynai yn galonog tu a'r gwastadedd rhewlyd a ymestyna o Yakoutsk i'r Môr Gogleddol. Y mae y wlad yma yn gynnwysedig o forfeydd, gwaunydd enfawr, fforestau mawrion, a bryniau wedi eu gorchuddio âg iâ yn mis Medi, yr adeg y cychwynai ef ar ei daith. Yr oedd ganddo bump o geffylau, y naill wedi ei rwymo wrth gynffon y llall, tra y marchogid y cyntaf gan Ifan ei hunan. Gorfodid ef i farchogaeth yn araf, gan daflu ei olygon yn ôl yn awr ac eilwaith, er gweled fod pob peth yn iawn. Y nos, gorweddai ar groen arth, dan gysgod perth, goleuai dân mawr, a choginiai ymborth blasus; ac wedi pentyru dillad arno ei hun, cysgai yno yn ddïogel a chysurus.

Cyfodai ar doriad y wawr, a dodai ei grochan te, llawn o eira glân, ar y marwydos; a darparai ei foreu-bryd; ac yna ymbarottoai i gychwyn eilwaith ar ei daith. Y mae yn anhawdd dychymygu am ddim mwy poenus na'r daith hon. Nid oes braidd unrhyw nodau i ddynodi y ffordd, tra yr oedd llynau, a ffurfiasid gan lifogydd diweddar, yn attal y teithydd bob haner awr; gan ei orfodi i gymeryd cylch-drofeydd meithion, blinion, a dyrysłyd.

Ar foreu y trydydd dydd, teimlai Ifan yn lled amheus yn nghylch y ffordd. Adwaenai y cyfeiriad cyffredinol oddiwrth y mynyddoedd pellenig, a dymunai osgoi morfa maith. Yr ydoedd afon rewedig o'i flaen, a chrug ar yr ochr arall. Gan adael y lleill i ymborthi oreu y gallent, efe a farchogodd ei geffyl gorau, ac a groesodd y ffrŵd. Yr oedd y rhew yn plygu dano fel yr elai, ac am hyny marchogai yn arafaidd; ond, gyd a'i fod wedi cyrhaedd y canol, ymagenai yn sydyn ar ei draws, a suddai yn amlwg oddi tano. Edrychai Ifan o'i amgylch yn gyffrous, a gwelai fod y rhew yn agenu yn mhob cyfeiriad; a'r fynyd nesaf, ei geffyl a gwympai drwodd, gan ymwingaw yn egnïol. Ond, yn lle disgyn i ffrwd o ddwfr oer, caffai Ifan ei hun mewn cromgell fawr, ac oeraidd, a ffrwd fechan yn treiglo yn y canol; yr hyn a barodd iddo adgofio golygfeydd nad ydynt yn anfynych yn yr hinsoddau hyny. Yr oedd yr afon wedi rhewi drosodd pan oedd y llifogydd yn uchel; ond yn fuan, wedi i'r dwfr ostwng i'w lyfel arferol, nid arhosai namyn y crystyn uchaf o'r iâ. Ond ni theimlai Ifan unrhyw awydd i edmygu y gromgell led-dywyll a ymestynai i fynu ac i waered allan o olwg; ond gan sefyll ar gefn ei farch, efe a ddringai orau y gallai i'r arwyneb, gan adael yr anifail truan i waered. Yna, efe a redodd i'r lan, ac a ddefnyddiodd y ddyfais Yakoutaidd adnabyddus, i ryddhau ei anifail; gan dori twll yn yr iâ yn agos i'r lan, tu a'r hwn y prysurodd y creadur cyfrwys ar unwaith, ac efe a dynwyd allan. Wedi dïanc yn ffodus fel hyn o berygl mawr, efe a adnewyddodd ei ymchwil ar draed; a thua chanol dydd, ail gychwynodd i'w daith; ac yn mhen ychydig oriau, cyrhaeddodd wastadedd hynod y Mioure, lle y dysgwyliai ddod o hyd i wersyll ei gyfaill Sakalar. Gan adael gwastadedd diffaith o'r bron, efe a safai yn ddisymwth ar ymyl ceule crwn, chwe milldir ar ei draws, hynod o ffrwythlawn, ac wedi ei fritho âg amryw bysgodlynoedd. Gellid canfod yn amlwg fod y cyfan wedi bod yn llyn ar un adeg. Yn awr, yr ydoedd yma ddeadellau mawrion o wartheg a cheffylau; ac yn wasgaredig dros ei wyneb yr ydoedd lluaws o gabanau yr Yakoutiaid. Yr oedd Ifan yn ddigon adnabyddus o'r llanerch hon; ac efe a farchogodd rhag ei flaen tua chaban, a safai ar wahân oddiwrth y lleill, lle y preswyliai Sakalar yn gyffredin. Yr ydoedd yn fwy, ac yn lanach na'r rhan fwyaf o honynt, yr hyn oedd i'w brïodoli i addysgiad Ifan, a gofal canlynol merch, yr hon a ddygasid i fynu gan fam Ifan, tra yr ydoedd y gwr ieuanc ar ei wib-deithiau; ac felly a ddysgasai arferion mwy coethedig na'r eiddo ei llwyth yn gyffredinol. Yr oedd hyn yn wir angenrheidiol, yn gymaint a bod yr Yakoutiaid, pobl fugeilaidd, o haniad Tartaraidd, yn hynod o fudron, ac yn lled anwybodus, ac aflerw, fel pob rhyw genedloedd anwaraidd. Prif ddiffyg yr Yakoutiad ydyw ei fudreddi, heblaw hyny, y mae efe yn gynnrychiolydd lled ffafrawl o'r anwarddyn: ac er pan y daeth i gyssylltiad â'r Rwssiaid, y mae wedi dyfod yn gyfoethog; gan ei fod yn meddu dïadelloedd o braidd, a chyflawnder o fwyd a dïod. Y mae ef yn hynod o galed, a gall oddef oerni dirfawr. Teithia yn yr eira heb babell nac ysgîn; a phan gyrhaeddo y gwersyll, gorwedda i lawr ar yr eira, a'i gyfrwy yn obenydd, ei hŵs yn wely, a'i gochl yn orchudd; ac felly y cwsg. Y mae ei allu i ymprydio bron yn anhygoel, a'i olwg mor graff, fel y dywedai Yakoutiad wrth deithydd Rwssiaidd enwog unwaith, ei fod ef wedi gweled seren lâs fawr, yn bwytta nifer o sêr llai, ac yn eu bwrw i fynu drachefn. Y diffygion ar leuadau *Jupiter* a welsai y dyn. Ac fel yr Indiad Coch, efe a adgofia bob perth, pob maen, pob crug, a phob llyn, angenrheidiol er canfod ei ffordd, ac ni chyll ei hunan un amser, pa faint bynag y pellder a fydd ganddo i'w deithio. Ei ymborth yw cig eidion, a chig ceffylau, a llaeth buchod a chesig. Ond ei brif ddanteithfwyd yw brasder amrwd a thoddedig; tra y mae helaethrwydd yn brif deilyngdod gwledd yn wastadol. Cymmysga hefyd saig o bŷsg, blawd, llaeth, a brasder, yn nghyda rhisgl math o bren, yr hwn a ddodir i fewn er chwanegu ei swm. Ysmyga meibion a merched yn ddi derfyn, gan lyncu y mŵg, fel y gwna llawer o breswylwyr gwledydd gwareiddiedig, yr hyn sydd arferiad ofnadwy o niweidiol. Brandi yw y ddïod a werthfawrogir yn fwyaf ganddynt, gan nad ydyw eu *koumise* hwy eu hunain yn ddigon cryf ganddynt. Yn yr haf dylynant fywyd symmudol mewn pebyll, gan gasglu gwair; ac yn y gauaf, trigant mewn cabandy, a elwir *yourte*, yr hwn a wneir o ystram coed, ar ffurf cwch gwenyn, wedi ei orchuddio â thywyrch glaswelltog, a chlai; a'r ffenestri o rew claer. Bydd y rhai tlottaf yn cloddio dair troedfedd islaw arwyneb y ddaear; ond bydd gan y cyfoethogion lawr coed yn gydwastad âg wyneb y tir o'u hamgylch, tra y mae math o feinciau annghelfydd oddiamgylch yn gweini yn lle gwelyau, wedi eu hysgaru â

byrddau, y naill oddiwrth y llall. Y lle tân sydd yn y canol, yn gogwyddo yn hytrach tu a'r drws; a phiben yn cludo y mwg ymaith.

Yr ydoedd bron yn dywyll pan gyrhaeddai Ifan at *yourte* Sakalar. Yr ydoedd yn fwy, ac yn ymddangos yn lanach i'r llygad nag yr un o'r rhai cylchynol. Yr oedd iddo hefyd amryw feudai, yn llawn o fuchod, ac un neu ddau o ddynion yn gweini ar y rhai hyny, y rhai a ysmygent eu pibelli wrth y drws. Rhoddai Ifan ei geffylau i ofal un o'r rhai hyn yr hwn a adwaenai, ac elai i fewn i'r caban. Yr oedd Sakalar, yr hwn oedd yn ddyn tal, tenau, tua haner cant oed, ar fyned i gymeryd ei hwyrbryd. Yr oedd yno bentwr mawr o gig berw, a phŷsg, a math o gawl, yn barod; a geneth ieuanc, tua deunaw mlwydd oed, glanwaith, trwsiadus, a phrydferth, yn gweinyddu ar yr heliwr.

"Ysbryd y coed, diffyner fi!" ysgrechai yr eneth, gan golli haner y cawl am ben y llawr.

"Pa anifail gwyllt a welaist ti, Kolina?" llefai yr heliwr, yr hwn a ysgaldianasid ychydig; ac yna, gan weled Ifan, ychwanegai, "Croesaw Yakoutiad i ti, fy mab! Y mae fy hen galon yn dychlamu o lawenydd, ac yr ydwyf yn ddigon brwd i doddi rhew-fryn, gan yr olwg arnat ti, Ifan! Kolina, brysia! dwg ddysgl arall, cwpan arall, y gostrelaid oreu o frandi, a'm pibell goch o Moscow!"

Nid oedd un angen i'r heliwr lefaru: yr oedd Kolina, yn gyflym fel ewig, wedi neidio i fynu oddiar y fainc isel, a dwyn eu holl bethau goreu allan yn y fan, ac hyd yn nod wedi dechreu parottoi teisen, y cyfryw ag ei dysgasid i'w gwneuthur gan Ifan ei hunan, am ei bod yn gwybod ei fod ef yn hoffi rhyw fath o fara gyd a'i brydau ymborth.

Ac wedi i'r gwr ieuanc liniaru rhyw gymaint ar ei newyn, gofynai Sakalar iddo, "I ba le yr wyt ti yn myned?"

"I For y Gogledd, i chwilio am y mwnglawdd ifori mawr," medd Ifan yn swtta.

Gwrthneidiai Kolina mewn braw a syndod; tra y sefydlai Sakalar ei olygon treiddiol ar y gŵr ieuanc, gyda thrallod a chwilfrydedd; a braidd na buasai yn tystio yn ddiamwys fod ei hoff ddysgybl yn yr helwrfa, wedi myned yn orphwyllog. Ond cyfodai Ifan, ac archai i weision yr Yakouta goludog, ddwyn ei goffrau i fewn; ac agorai ei ystôr o drysorau. Dyna lle yr oedd te i Kolina; ac i Sakalar, rum, brandy, pylor, gynau, myglys, cyllill,—pob peth a allai demtio Yakoutiad. Edrychai y tad a'r ferch drostynt gyda phleser dros beth yspaid; ond yn fuan, ysgydwai Kolina ei phen; a Sakalar a ddywedai, "Ifan, hyn oll sydd wedi eu bwriadu i demtio yr Yakoutiad tlawd, i groesi yr anialwch o rew. Y mae yn llawer o gyfoeth; ond nid ydyw yn ddigon i wneyd Sakalar yn orphwyllog. Gwarchodir y mwnglawdd gan ysbrydion drwg: ond, attolwg fachgen, llefara, pa ham y mynit ti fyned yno?"

"Rhodded Kolina bibell i mi, a mynegaf fy holl chwedl," medd Ifan; ac wedi llenwi ei wydr, adroddai y blew-fasnachydd ieuanc y chwedl am ei gariad, a'i fargen â'r weddw gyfrwys.

Yna dywedai Kolina, gyda theimlad dwys, "Ac y mae y ddynes galon-galed yma wedi eich anfon i beryglu eich bywyd ar y Môr Rhewlyd arswydus. Ni fuasai geneth Yakoutaidd mor hunanol: ond hi a ddywedasai, 'Arhoswch gartref—bydded i mi gael Ifan; gall dannedd y mammoth orwedd dros byth yn y Môr Rhewlyd!'"

"Ond, fe fyn y bachgen fyned, ac efe a foddir fel cî," medd Sakalar, yn arafach, wedi yr arllwysiad yma o ddigofaint benywaidd.

"Rhaid i chwi fyned gyd ag ef, fy nhad," medd Kolina, gan edrych yn dosturiol ar Ifan; "a chan na all eich plentyn aros wrthi ei hunan, fe â Kolina hefyd!"

"Nyni a gychwynwn wedi y caffo y ceffylau bum niwrnod o wair," medd Sakalar yn ddifrifol—gan na phorthid yr anifeiliaid crybwylledig pan ar fyned i siwrnai—"a chaiff Kolina fyned hefyd; canys bydd Ifan ddwy flynedd ar ei ffordd."

Gwrandawai Ifan mewn syndod: yn y lle cyntaf, ar benderfyniad disymwth, a gwresogrwydd ei gyfeillion serchog, gyd a'r rhai y buasai yn aros ddeuddeng mlynedd; ac yna, at yr amser oedd yn ofynol i'r daith. Efe a deimlai yn dra amheus a arhosai y weddw heb briodi, cyhyd o amser; ond rhoddai eglurhad Sakalar foddlonrwydd iddo, fod yn anmhossibl cwblhau y daith, hyd yn nod mewn dwy flynedd. Yr heliwr a'i hysbysai fod yn rhaid iddynt yn gyntaf ymuno â'r llwythau a gyfanneddant o amgylch Nijnei-Kolimsk (Kolimsk-Newydd), lle yn unig y gallent gael cŵn, a cheir llûsg i'w siwrnai ar draws y Môr Rhewlyd. Byddai i hyn, a'u darpariadau, gymeryd y gauaf i fynu. Yn yr haf, ni's gellid gwneyd dim. Pan ddychwelai y gauaf, rhaid iddo gychwyn tua'r pegwn gogleddol—daith mis o leiaf; ac os y dygwyddai daro ar y fan, rhaid fyddai iddynt wersyllu yno dros y gweddill o'r gauaf. Treulid yr haf hwnw i godi yr ifori, tewychu y cŵn, a llwytho. Cymerid y trydydd gauaf i fynu gyd a'r daith adref. Wedi clywed hyn, petrusai Ifan; ond wrth ddysgrifio y daith, cyffroid ysbryd yr hen heliwr; a chyn y nôs, yr oedd ef yn frŵd yn y dymuniad am gael golwg unwaith eto ar ddrychfeydd peryglon ei ieuenctyd: a datganai Kolina yn ddifrifol, bod yn rhaid iddi hi gael myned

gyda hwy, ac felly, mewn un noswaith, penderfynai yr anwariaid profiadol hyn ymgymeryd â thaith, y buasai eraill yn cymeryd haner can mlynedd i siarad yn ei chylch, cyn anturio arni.

Ychydig a gysgodd Kolina y noswaith hono; canys yr oedd un mewn ystafell gyfagos iddi, a fuasai yn wrthddrych ei hedmygedd o'i hieuenctyd. Hi a garasai Ifan, fel plentyn a gyd chwareuai â hi—ac a'i carasai fel dyn; ac yma, wele yr hwn y buasai trwy y gauaf yn hiraethu am ei weled, ac yn gobeithio cael ei weled unwaith eto yr haf dyfodol, wedi dyfod yn ddisymwth, i gychwyn ar daith beryglus o amryw flynyddoedd, er enill llaw gweddw drachwantus, ond ieuanc a hawddgar. Fel hyn, canfyddai Kolina ei holl freuddwydion hoffaf yn diflanu, ac eilun ei chalon yn cael ei falurio yn llwch. Eto, ni theimlai unrhyw ewyllys drwg at Ifan, ac ni newidiodd ei meddwl a'i phenderfyniad, i fod yn gydymaith ffyddlawn i'w thad a'i gyfaill, yn eu hynt anturiaethus i'r ynysoedd tybiedig yn y Môr Rhewedig.

III.—Nijnei-Kolimsk.

Y pum niwrnod a bennodasid gan Sakalar i ymbarottoi i'r daith, a dreuliwyd yn gyfan-gwbl i'r gorchwylion angenrheidiol. Yr oedd ganddynt lawer i'w wneyd, a llawer i ymddiddan yn ei gylch. Yr oedd yn rhaid iddynt deithio ffordd faith cyn y cyrhaeddent wir gychwynfa eu hanturiaeth beryglus. Rhoddai Sakalar adroddiad manol o'i holl ddyoddefiadau blaenorol unwaith eto, er rhoddi argraff dyledus ar Ifan, o beryglon yr anturiaeth; ond, nid oedd dim a lwfrhâi y masnachwr ieuanc. Yr oedd efe yn un o'r dynion hyny, dan amgylchiadau mwy ffafrawl, a fuasai yn Cook, yn Parry, neu yn Franklin, a beryglent bob peth er gwneyd darganfyddiad chwanegol yn ngwyddonaeth Daiaryddiaeth. Cyfnewidiwyd pum ceffyl Ifan, am rai eraill, mwy cyfaddas i'r fath daith ag yr oeddynt ar ei chymeryd. Yr oedd un i bob un o'r anturiaethwyr, a'r lleill i ddwyn y clud, yr hyn oedd yn gynnwysedig yn benaf o nwyddau â'r rhai y telid hur y cŵn a'r llusg-geir. Yr oeddynt oll wedi eu harfogi yn dda, tra yr oedd eu gwisgoedd oll yn gyffelyb—Kolina ar y pryd wedi cymeryd arni wisg, ac ymddangosiad gŵr. Dros eu gwisgoedd arferol, dodent arwisg o grwyn llwynogod; a'r coesau a orchuddid â chrwyn ysgyfarnogod; a thros y rhai hyn yr oedd hosanau o grwyn meddal ceirw Llychlyn; a botasau cryfion uchel, o'r un defnydd; a thros y cwbl, yr oedd hugan a chwcwll o groen dwbl y carw; ac wedi gofalu am ddyogelu pob rhan o'r corph rhag yr oerni, drwy drefnu darnau cyfaddas i gysgodi y genau, y trwyn, a'r clustiau, yr oeddynt yn ymddangos ar eu hymadawiad yn gymhwys fel tri syppyn symmudol o hen ddillad. Yr oedd pob un o honynt wedi ei arfogi â dryll, llaw-ddryll, bwyall, a chyllell heliwr, tra y cynhaliai y gwregys yn mhellach, bibell, a choden ffwgws. Nid oeddynt wedi mynegi i neb i ba le yr oeddynt yn myned, ond gwyddai yr holl bentref eu bod ar ymgymeryd â rhyw daith beryglus, ac am hyny tröent allan i gyfarch gwell iddynt ar eu cychwyniad, tra yr oedd amryw o edmygwyr brwdfrydig Kolina, yn murmur o herwydd ei bod hi yn myned i'w canlyn. Ond y teithwyr a adawent wastadedd Miouré o'u hol yn fuan, a dechreuent ar y ffyrdd a gyfeirient tu a'r Môr Rhewedig. Ar bob cam, deuent ar draws siglenydd wedi haner rhewi, y rhai oeddynt yn dra pheryglys; ond, marchogai Sakalar yn gyntaf, a'r lleill a'i dylynent bob yn un; a'r hen heliwr profiadol, drwy fyned rhagddo yn bwyllog, a osgöai y peryglon hyn. Yn fuan, cyrhaeddasant wastadedd maith, dri chan milldir ar ei draws, yn llwyr annghyfanneddol gan ddynolryw; anialwch, y naill haner o'r hwn ydoedd greigle diffrwyth, a'r naill haner yn gorsle feddal ar y wyneb; ond yn rhew oesol, droedfedd o ddyfn. Yn ffodus, yr ydoedd yn rhewi yn galed yn awr, fel yr oedd yr arwyneb yn gymhwys i ddal pwysau y ceffylau. Oni buasai hyn, buasai raid iddynt aros i ddysgwyl am rew calettach. Nid oedd afonydd lled fawrion wedi rhewi eto; ac yr oedd yn rhaid croesi yr Aldana yn yr ysgraff a gedwid at wasanaeth cyffredin teithwyr. Gorphwysasant dros nos, a gwnaethant fath o babell â llwyn o goed, a chrwyn danys. Kolina a goginiai swper, a chwiliai y dynion am ryw lanerchau lle y caent ychydig laswellt haner rhewedig, fel y gallai y ceffylau gael porfa. Dyma y lle olaf y gallent gael hyd yn nod y cyfryw ymborth, a thros rai dyddiau, rhaid oedd i'w hanifeiliaid fyw ar ryw gyfran fechan o wair.

Yn mlaen yr elent, dros y gwastadedd diffrwyth, gan rydio afonydd, a thramwy drwy gorsydd, ac eto, yn parhau i gyfarfod yn achlysurol â rhyw fath o laswellt; pan ar y trydydd dydd, y disgynai yr eira yn gwmmwl arnynt; nes cyfnewid gwedd yr holl anialwch llwydaidd yn wyn gannaid yn y fan. Yr oedd y gauaf mewn gwirionedd wedi eu goddiweddyd: ac erbyn hyn yr oedd angen am holl synwyr Sakalar, ei brofiad, a'i graffder. Yr ydoedd pob arwydd amlwg o'r bron, wrth yr hwn y gallasai ganfod ei ffordd, wedi diflanu, a'i unig gyfarwyddyd i drawsu y gwastadedd, oedd y bryniau pellenig yn y dydd, a'r sêr yn y ffurfafen, y nôs. Cadwai Sakalar ei olwg yn fanwl ar y cyfryw wrthddrychau; ac wedi cychwyn o hono unwaith

dan dywysiad goleuadau y nefoedd, prin y byddai nemawr latheni o'i le, pan orphwysai drachefn. Dewisai lechwedd bryn i wersyllu bob amser, lle y byddai coeden neu ddwy, a chyffion haner pwdr, yn nghyd a pherthi, i wneyd tân mawr.

Yr ydoedd bron ar wawrio y pummed boreu wedi myned o honynt i'r gwastadedd, ac Ifan, a Kolina yn cysgu; ond ni hunai Sakalar. Yr oeddynt bron a chyrhaedd cwr eithaf y diffeithwch ofnadwy; ond, yr oedd perygl newydd yn cadw meddwl Sakalar yn effro; canys efe a wyddai eu bod yn awr yn arlwybr y Tchouktchas gwylltion ac anwar, ac ofnai y byddai i'w tân eu bradychu. Pe buasai Sakalar wrtho ei hunan, efe a fuasai yn cysgu yn yr eira, heb ddim tân; canys nid oedd ef yn anhysbys o'r perygl o gyfarfod â'r Tchouktchas annibynol, y rhai a ddygasid yn ddiweddar yn unig, hyd yn nod mewn enw, yn ddarostyngedig i'r Rwssiaid. Yr ydoedd y cnwd tew o eira a ddisgynasai y ddau ddiwrnod blaenorol, yn gwneyd y perygl yn fwy. Eisteddai Sakalar yn ddifrifol ar bren cwympedig, a'i bibell yn ei safn, a'i olygon yn sefydlog ar y gorwel draw. Dros ryw yspaid, ni chanfyddai ddim neillduol; ond o'r diwedd, canfyddai amryw wrthddrychau tywyll ar yr eira, yn carlamu yn union yn nghyfeiriad y gwersyll. Adnabyddai Sakalar yn y gwrthddrychau, nifer o hyddod. Y Tchouktchas oeddynt ar eu ceir llŷsg, yn dyfod â chyflymder melltenawl dros yr arwyneb rhewedig!

"I fynu!" llefai yr heliwr. Ac wedi cyfodi o'i gymdeithion ar eu traed, dywedai, "Parottowch eich drylliau ar frys! Y mae y gelyn ar ein gwarthaf! Ond, wynebwn ef yn cofn, a gadewch iddynt deimlo pwys ein plwm!"

Cymerai Ifan a Kolina eu safle yn dawel, gan ddysgwyl am eirchion Sakalar. Ni chollid dim amser fel yr oedd yn fwyaf ffodus; canys yr oedd yr anwariaid gerllaw eisoes; a'r fynyd nesaf yr oeddynt yn disgyn o'u ceir llûsg: a deuent yn mlaen ar hyd yr eira, law yn llaw, oddeutu dwsin mewn nifer. Ergydid y tri dryll llwythog ar unwaith o'r gwersyll; ac ergyd Sakalar a archollodd y blaenaf o honynt, yr hyn a roddes attalfa ar eu cyrch; a chwympasant yn ol i ymgynghori. Gwelid yn y fan na's meddent arfau tân, ac o ganlyniad, nad oedd y gwersyll bychan mewn llawer o berygl. Yna, elai Ifan a Kolina yn nghyd a'r gorchwyl o bynorio y ceffylau; ac wedi cael pob peth yn barod, cychwynasant i'w taith, a'r Arabiaid Siberiaidd yn eu dylyn o hirbell. Ond, ni flinid y teithwyr ganddynt mwyach, a gwersyllasant y noswaith ganlynol ar ffiniau y Toukoulane, wrth odreu mynyddoedd y Verkho-Yansk. Wedi yr orphwysfa arferol, dechreuasant ar y rhan galettaf o'r daith. Yr oedd creigiau ysgythrawg, cornentydd dyfnion, lluwchfeydd mawrion, rhew ac eira, yn eu ffordd. Yn awr, marchogent gydag ymyl clogwyni arswydus, ar hyd llwybr mor gul, fel y buasai un cam cyfeiliornus yn angau yn y fan; drachefn, ymwthient drwy geunentydd llawn o iâ, lle y cleddid eu meirch hyd eu cenglau, ac y gorfyddent eu tynu allan o "nerth braich ac ysgwydd." Yn ffodus, y mae y march Siberiaidd, er yn fychan, yn grŷf a diflin; yn alluog i fyw dros daith o dri mis ar laswellt gwywedig, a llysiau wedi haner pydru, a haner rhewi. Yr hwyr hwnw gwersyllasant ar y rhan uchaf o'r ffordd, lle y mae yn ymdroelli rhwng clogwyni dyrchafedig. Erbyn canol dydd dranoeth yr oeddynt wedi cyrhaedd gwastadedd arall, nad oedd nemawr ragorach na'r un y daethent drwyddo eisoes, ond heb fod yn llawn truenused yr olwg arno; ac yn meddu y fantais ychwanegol o fod bythod wedi eu cyfodi arno yma a thraw. Yr oedd yr oerni yn erwin erbyn hyn, ac yr oedd yn dda i Ifan, ei fod yn meddu y wisg Siberiaidd a ddarparasai Sakalar iddo, er ei fod ar y dechreu yn ei hystyried yn faich anolygus. Yr oedd llithrigrwydd y rhew ar yr afonydd, yn ei gwneyd yn dra anhawdd iddynt deithio yn gyflym; gan fod y ceffylau oeddynt heb eu pedoli yn methu sefyll ar eu traed. Yr oedd yn rhaid cynneu tân; ac wedi cael digon o ludw, daenu hwnw yn llwybr cul ar draws y rhew, a thywys y meirch yn ofalus ar hyd y cyfryw lwybr—yr hyn oedd yn un o'r amryw ddyfeisiau gofynol i wrth-weithio gerwinder yr hinsawdd. Ac fel hyn, gan ddyoddef oerni, a phrinder ymborth, a gweithio eu ffordd am ddyddiau dros wastadeddau rhewedig, a lluwchfeydd o eira, drwy gornentydd dyfnion, a thros fryniau uchel, o'r diwedd hwy a gyrhaeddasant *Nijnei-Kolimsk*, erbyn yr hyn yr oeddynt wedi llwyr ddiffygio o'r bron, yn enwedig Kolina, yr hon nid ymarferasai erïoed a'r fath ludded.

Erbyn hyn, yr oeddynt bron a chyrhaeddyd glanau y Môr Rhewlyd mawr. Y mae y pentref yn gorwedd tua deunaw gradd yn fwy gogleddol na Llundain, ac yn agos mor bell i'r gogledd a *Boothia Felix*, lle bu y Llong-lywydd Ross yn aros yn yr iâ dros bedair blynedd. Fe'i seiliasid tua dau can mlynedd yn ôl, gan rai o'r Cossaciaid crwydrol; er ei fod yn anhawdd dirnad pa beth a dueddai neb i ymsefydlu mewn lle, a oleuir, ond na chynhesir byth, gan yr haul; lle y mae dydd sydd cyhyd a deuddeg a deugain o ddyddiau Prydain; a nos, cyhyd a deunaw ar hugain o nosweithiau; lle nad oes wanwyn na hydref, ond rhyw rithiant aneglur o haf, dros dri mis; ac yna, gauaf; lle y mae yr holl lysieuaeth yn cael ei wneyd i fynu o ychydig gorhelyg, a glaswellt coraidd, a lle, ychydig islaw

yr arwyneb, y mae rhew oesol. Ond, yn addaledigaeth am hyny, y mae yno gyflawnder o geirw Llychlyn, elkiaid, eirth duon a gwineuon, llwynogod, a gwiweirod, a bleiddiaid. Heblaw hyny, y mae lluosogrwydd o elyrch, gwyddau, hwyaid, petris, a mynieir; ac yn yr afonydd, helaethrwydd o bysgod. Ac er fod y boblogaeth mor deneu yn awr, a bod yr adeg y poblogwyd Kolimsk yn hysbys, bu cenedl luosog yn y parthau hyn unwaith, adfeilion amddiffynfeydd a phentrefydd yr hon, sydd yn weledig eto. Y mae poblogaeth yr holl randir tua phum mil, o ba rai y mae tua thri chant yn Rwssiaid, disgynyddion alltudion Siberiaidd. Cyfanneddant mewn tai wedi eu gwneyd o goed a fwriwyd ar y glenydd, ac a gasglwyd drwy lafur amyneddgar blyneddoedd, a mwsogl, a chlai. Eu ffenestri yn y gauaf, sydd o rew, chwe modfedd o drwch; ac yn yr haf, o grwyn. Y mae y dosbarth gorau yn gwisgo yn hardd, ac hyd yn nod yn chwaethus; ac y maent yn lanwaith, yr hyn yw y ganmoliaeth uchaf a ellir ei roddi i bobl haner gwareiddiedig, cystal a chenedloedd gwâreiddiol. Y maent yn bobl eofn, egnïol, a diwyd; pob awr gymhwys i fod allan dan yr awyr agored, a dreulir ganddynt yn pysgotta, a hela; ac yn darparu ymborth erbyn y gauaf. Tua diwedd y gauaf maith, pan fydd newyn a phrinder yn bygwth yr holl boblogaeth, bydd cymmylau o eleirch, gwyddau, hwyaid, a mynieir, yn ymdywallt ar y wlad; a bydd meibion a merched, hen ac ieuainc, yn rhuthro allan yn nghyd i'w hela. Daw y pŷsg yn nesaf, ar ymdoriad yr iâ; ac yn y fan wedi hyny, daw yr amser i hela ceirw Llychlyn. Treulir pob mynyd o'r tymhor haf i ystôrio yr holl ymborth yma, ar gyfer gauaf maith a chaled, pan na's gellir dal dim. Bydd y benywod yn casglu llysiau a gwreiddiau. Pan y mae yr hâf ar derfynu, ymddengys y penwaig yn heigiau, gan weini cyfran arall iddynt at eu cynnaliaeth; ac yn ddiweddarach fyth, arferant bysgotta, drwy dori tyllau yn y rhew a fydd newydd gael ei ffurfio. Ac nid ydyw Kolimsk yn llwyr amddifad o drafnidiaeth. Dygir y rhan fwyaf o fasnach y wlad yn mlaen, yn ffair Ostrovnoye; ond y mae Kolimsk hefyd yn cael ei rhan. Bydd y masnachwyr a ddeuant i gynnull y blew-grwyn a gawsai y Tchouktchiaid anturiaethus, hyd yn nod ar yr ochr arall i gyfyngfor Behring, oddiar Indiaid Gogledd America, yn aros yma, ac yn gwerthu *tea*, ffwgws, *brandy*, a nwyddau eraill.

Yr oedd y nos hirfaith wedi dechreu pan gyrhaeddodd Ifan a'i gymdeithion i Kolimsk; a dâ eu bod wedi dyfod, canys yr ydoedd yr oerni yn dyfod yn ofnadwy yn ei angerddolder; a mawr oedd syndod pobl y pentref ar gyrhaeddiad y teithwyr yno. Ond, cawsant letty yn rhwydd, gan i Gossaciad gweddw, roddi haner ei dŷ iddynt.

### IV.—Y Mor Rhewedig.

Derbynid Ifan yn fuan i'r gymdeithas orau yn y lle. Yr oedd pawb yn falch o gael croesawi y masnachwr anturiaethus o Yakoutsk; a phan awgrymodd efe ei fod yn bwriadu rhoddi y nwyddau gwerthfawr oedd ganddo yn ei goffrau allan, er hurio cŵn, a cheir llûsg, cafodd ddigon o gynnygion o'r cyfryw bethau, er bod pawb o'r dechreu, yn gommedd eu dylyn fel gwarcheidwaid y cŵn. Ond nid oedd Sakalar, yr hwn a ragwelsai hyn, wedi llwfrhau mewn un modd; ond, gan erchi i Ifan ymddifyru oreu y gallai, efe a gymerodd arno ei hunan wneyd yr holl ddarpariadau. Ond yr oedd Ifan yn cael llawn cymaint o bleser wrth ddysgu yr ychydig a wyddai i Kolina, ag wrth fynychu y cylchoedd uchaf yn Kolimsk. Er hyny ni's gallai wrthod y gwahoddiadau moesgar a dderbyniai yn fynych i fyned i gynnulliadau hwyrol, a dawnsfeydd. Dywedais "cynnulliadau hwyrol," canys, er nad oedd dydd yno, eto cedwid rhaniad amser yn oriau ganddynt, yn rheolaidd, a dechreuai eu cynnulliadau am bump y prydnhawn, i derfynu am ddeg. Arferent ganu a dawnsio, a chwedleua ar dê, o'r hwn y cymerai pob un ddeg neu ddeuddeg o gwpaneidiau mawrion; mewn gair, er mor gynhwynol oedd cyflwr y preswylwyr, a'u cyfagosrwydd i'r Môr Pegynol, yr oedd llawer o debygolrwydd rhwng y cynnulliadau hyn â'r eiddo Paris, a Llundain. Yr oedd y gwisg-ddulliau, y neuaddau, a'r oriau, yn wahanol, tra yr oedd y moesweddau yn llai coethedig; ond y ffeithiau yr unrhyw.

Pan ddaeth adeg y loddest-wyl o flaen y Grawys, yr oedd Ifan, yr hwn a deimlai yn ofidus am fod Kolina yn cael ei chau allan o gymdeithas ddillynaidd y Rwssiaid, yn dra gofalus am iddi gael mwynhau y difyrwch arferol o ymlithro i waered ar iâ-fynydd, yr hyn a wnelai gyda llawer o foddhâd; a gofalai am gyssegru ei ddyddiau yn gyflawn i'w chymdeithas, tra yr elai Sakalar o fwthyn bwy gilydd, gan gasglu awgrymiadau a hysbysrwydd ar gyfer ei daith fwriadol y gauaf dyfodol. A hefyd, llogai y *nartas*, neu lusg-gerbydau, a'r cŵn oeddynt i'w llusgo, tri deg a naw, tri ar ddeg i bob un. Yna, efe a fargeiniodd am ystôr fawr o bysgod sychion a rhewedig i'r cŵn; ac arlwyon eraill iddynt eu hunain. Ond, yr hyn a barai fwyaf o benbleth i'r bobl, oedd ei ymdrechion parhaus i gael dyn i fyned i'w canlyn a harneisiai ugain o gŵn wrth gar llûsg ychwanegol. Ac er syndod i bawb, caed tri o wŷr

ieuainc i gynnyg eu gwasanaeth o'r diwedd, ac yna mynwyd tri char llûsg ychwanegol.

Daeth yr haf yn fuan, ac yna Ifan a'i gymdeithion a gychwynasant allan gyd a'r helwyr ar unwaith, gan wneyd eu gorau i fod yn ddefnyddiol. Ac fel yr oedd brodorion Kolimsk yn ystod eu tymhor hela, yn myned yn mhell yn nghyfeiryd Penrhyn *Sviatoi*, y llanerch lle yr oedd yr anturiaethwyr i adael y tir, ac anturio ar y Môr Rhewedig, buant ofalus yn man eithaf eu hynt helwriaethol, i adael ystorfa o arlwyon. Cyfodasant esgynlawr bychan, yr hwn a orchuddiasant â choed a gludasid gyd a'r tonau, a dodasant y pysgod sychion ar hyn, gan gyfodi ceryg trymion arnynt, ac arfer pob rhag-ocheliad i gadw yr *isatis*, (y llwynog pegynol,) a'r *glutton* draw. Yn ystod yr hâf hwn, chwanegodd Ifan lawer at ei wybodaeth helwriaethol.

O'r diwedd, daeth y gauaf o amgylch drachefn; a daeth yr adeg a ddymunasid ganddynt cyhyd. Yr oedd y ceir llûsg yn barod—chwech mewn rhifedi; ac wedi eu llwytho hyd y gallent ei ddwyn. Ond, yr oedd yn amlwg fod yn rhaid iddynt arfer y cynnildeb mwyaf er porthi cynnifer o gŵn, dros gynnifer o ddyddiau; tra yr oedd mor sicr oni ddygwyddai i eirth ddyfod yn eu ffordd ar y daith, y byddai raid iddynt newynu, oni ddarfyddai am danynt ryw ffordd arall, ar y Môr Rhewedig ofnadwy. Pob car llûsg, wedi ei lwytho âg wyth gan pwys o arlwyon, a'r Gyriedydd, a lûsgid gan chwe phâr o gŵn ag arweinydd. Ni chymerent ddim coed ganddynt, gan ymddiried yn Rhagluniaeth am y nwydd wir angenrheidiol yma. Bwriadent ddilyn glan y Môr Rhewedig hyd Benrhyn *Sviatoi*, am eu bod yn gobeithio cael, fel arfer ar fin y môr, gyflawnder o goed wedi eu nofiaw i'r lan yn ystod y tymhor byr tra yr oedd yr iâ wedi ymdori, a'r cefnfor mewn cydmariaeth yn agored. Yr oedd un o'r ceir llûsg wedi ei lwytho âg arlwyon yn ysgafnach na'r lleill, am ei fod i ddwyn pabell, a llafn haiarn i gynneu tân arno ar y rhew, a llusern, a rhyw ychydig o lestri coginiaw i'r fintai.

Un boreu yn mis Tachwedd,—tra yr oedd y nos hir-faith eto yn aros—cychwynai y chwe llusg-gerbyd. Yr oedd yr anturiaethwyr wedi bod yn ymarfer gyd a'r cŵn dros rai oriau bob dydd, fel yr oeddynt erbyn hyn yn lled hyfforddus. Sakalar a yrai y wedd gyntaf, Kolina yr ail, ac Ifan y drydedd; ac ar ol hyny, deuai gwŷr Kolimsk. Cyfeiriasant ar hyd yr iâ tua safn yr afon Tchouktcha. Taith y diwrnod cyntaf a'u dygai hyd derfyn eithaf llysieuaeth, wedi yr hyn y cychwynent ar wastadedd ehang o iâ, dros yr hwn y llithrai y ceir yn gyflym. Ond, brydnhawn yr ail ddiwrnod, fe'u goddiweddid gan ystorm. Disgynai yr eira yn gymylau trwchus, a chwythai y gwynt âg oerder oedd bron yn annyoddefol i ddyn; ac yr oedd hyd yn nod y cŵn, yn mron methu myned rhagddynt. Ond cyfeiriai Sakalar yn gymhwys tua bryncyn a ymddangosai yn y pellder, lle y dywedai yr arweinwyr fod bwthyn i'w gael yn lloches; ond, cyn myned o honynt nemawr o latheni yn mhellach, dymchwelid car Kolina, fel yr oedd yn rhaid iddynt sefyll. Ifan oedd y cyntaf i gyfodi ei gydymaith dêg oddiar y llawr; ac yna, gyda chryn radd o anhawsder, gan fod eu dwylaw wedi eu haner rhewi er eu holl wisgoedd, parottoisant y *nartas*, (ceir) i fyned rhagddynt unwaith drachefn. Ni arhosasai Sakalar, ond efe a welid yn y pellder yn diharneisio ei gar, ac yn dallgeibio mewn crug anferth o eira, gan chwilio am y bwthyn, yr hwn a gladdasid yn llwyr yn y lluwch. Yn mhen ychydig fynydau, yr oedd y chwech ar lawn waith er llymder yr awel, tra y crafai y cŵn dyllau iddynt eu hunain yn yr eira meddal, o fewn y rhai y gorweddent mewn clydwch yn fuan, heb fod dim ond eu trwynau allan o'r tyllau, tra y dodai y creaduriaid cyfrwys, flaenau blewog eu cynfonau dros eu ffroenau.

Wedi awr o lafur caled, yr oedd y bwthyn wedi ei ddadorchuddio, a thân wedi ei gynneu yn ei ganol; a'r holl fintai yn ysgwatio o'i amgylch, bron cael eu tagu gan y mwg tew, yr hwn er hyny oedd yn haws i'w ddyoddef na'r awel finiog oddiar y môr rhewedig, Gyd ag anhawsdra y gweithiai y mwg ei ffordd allan, gan fod nen y bwthyn yn orchuddiedig eto gan eira caled; ac nad oedd y drws yn ddim amgen na thwll, trwy yr hwn y gellid ymlusgo. Pa fodd bynag, cawsant y tân i gyflwr marwydos cochion o'r diwedd, a llwyddasant i gael cyflawnder o *dea* ac ymborth yn barod; ar ol yr hyn, gan fod eu haelodau wedi ystwytho rhyw gymaint, yr aethant i fwydo y cŵn.

Tra yr oeddynt yn gweini ar y cŵn, lliniarodd y dymhestl, ac fe'i dylynid yn y fan gan oleuni gogleddol ysplenydd. Cyfodai yn y gogledd, yn haner bwa o oleuni; ac yna, ergydiai ar draws y nefoedd, yn mhob cyfeiriad o'r bron. Yr oedd y goleuni mor llachar a'r eiddo y lloer pan fyddo yn llawn. Yr oedd picellau o oleuni tywyll-goch mewn manau, y rhai a ddiflanent, ac a ymddangosent eilwaith; a thra yr ydoedd tawelwch perffaith wedi yr ystorm, clywai yr anturiaethwyr fath o rugl-drwst yn y pellder, mor isel fel yr ydoedd yn lled aneglur; ac eto credid mai rhuthriad yr awyr yn maes yr olygfa a'i cynnyrchai. Yn mhen ychydig fynydau, yr oedd y cyfan wedi diflanu.

Wedi pryd helaeth, dechreuai y fintai ymddiddan ar y testunau a wnant i fynu gorph ymddiddanion yn gyffredin yn yr hinsoddau

hyn. Nid oedd Sakalar yn ymffrostiwr; ond y gwŷr ieuainc o *Nijnei-Kolimsk* oeddynt fedd-iannol ar nodweddion cyffredin helwyr a physg-odwyr. Rhoddent adroddiadau meithion am eu hanturiaethau, y rhan fwyaf o honynt yn orliwiedig, ac yn annhebygol, os nad yn anmhos-sibl—am eirth, wedi eu lladd mewn ymladdfa bersonol, am gannoedd o hyddod wedi eu lladd wrth groesi afon, am bentyrau mawrion o bŷsg wedi eu dal ar fwriad y rhwyd unwaith; ac yna wedi ymdroi yn eu gwisgoedd tewion, bob un a'i draed at y tân, yr oedd yr holl fintai wedi ymollwng i gwsg dawel yn fuan. Pa fodd bynag parhai Ifan a Kolina i ymddiddan yn sibrydawl ychydig yn hwy; ond gorchfygwyd hwythau yn fuan gan ludded.

Dranoeth aethant rhagddynt yn mhellach tu a'r pegwn; ac ar brydnhawn y trydydd dydd, gwersyllent o fewn ychydig latheni i'r Môr Rhewedig mawr. Dyna lle y gorweddai o'u blaen, heb fod yn hawdd ei wahaniaethu oddi-wrth y tir. Fel yr edrychent arno oddiar fryn lled uchel, yr oedd yn anhawdd credu mai môr oedd yr hyn a welent o'u blaen; canys yr oedd môr a thir yn orchuddiedig gan eira; yr oedd mynyddoedd a lluwchfeydd mawrion ar y naill a'r llall; ac yma a thraw, lanerchau meithion o iâ dyfrllyd, meddal, cyffelyb i lynau Siberia; yr holl olygfa yn oer, diffrwyth, ac annghyfan-neddol; fel yr oedd y rhagolwg ar daith dros y gwastadedd oeraidd yma, a drawsid yn mhob cyfeiriad, gan fynydd-resi o rew, yn llawn o agenau dyfnion, ac iâ halaidd meddal yma ac acw, yn ddigon gofidus; er hyny nid ymollyngai calon Ifan. Yr oedd yr hyn a geisiai, mewn golwg ganddo yn awr. Efe a wyddai fod tir tu hwnt i'r môr, lle y dysgwyliai enill cyfoeth ac enwogrwydd.

Cyfodwyd pabell, gan bentyru eira o gylch ei godreu, i'w chadw yn ddyogel: yr oedd yn ofynol ei gwneyd yn gadarn, am fod y corwyntoedd yn y parthau hyn yn fwy disymwth ac annys-gwyliadwy nag odid le adnabyddus yn y byd, gan ymruthro gyda nerth aruthrol dros y maesydd iâ, o ogofäau anolrheiniadwy y pegwn gogleddol.

O fewn y babell, yr hon a wnelsid o groen dyblyg carw Llychlyn, cynneuid tân, tra y gor-weddai y cŵn, o'r tu ol i graig fawr, oddi tan gysgod y ceir llûsg. Wedi cymeryd pryd dâ o ymborth, a thê poeth, aeth pawb i orphwyso. Tua chanol nôs, deffrowyd pawb gan ryw deim-lad mogedig, a gwres annyoddefol. Cyfodai Sakalar, ac wrth oleuni yr ychydig farwydos oeddynt yn aros, cyfeiriodd tu a'r drws; a chanfu ei fod wedi ei gau i fynu gan yr eira: dechreuodd yn y fan ei rawio ymaith o'r twll cyfyng trwy yr hwn yr elid i mewn ac allan o'r bwthyn, ac yna ymbalfalodd ei ffordd allan. Yr oedd yn ôdi mor drwm, fel yr oedd y babell deithiol wedi ei llwyr gladdu, a chan fod y gwynt yn gymhwys yn erbyn y drws, yr oedd yr eira wedi lluwchio, a llwyr gelu yr agorfa. Dechreuai y cŵn udo yn ofnadwy yn awr; yr hyn ydoedd yn rhybudd rhŷ ddifrifol i'w ddïystyru. Yr oeddynt yn ffroeni arth wancus y moroedd rhewlyd, yr hon ar ei thu hithau a ddenasid attynt drwy ei harogliad. Gyda bod y creaduriaid craffus wedi dechreu cyfarth, canfyddai Sakalar yn y gwyll, ryw gorff mawr, afrosgo, yn ymdreiglo yn nghyfeiriad y babell. Efe a annelodd ei ddryll ac a daniodd, ac yna ymaflodd mewn bwyall fawr oedd gerllaw, gan sefyll yn barod iddi. Safodd y bwystfil ar y cyntaf; ond, y fynyd nesaf, rhuthrai ymlaen, gan chwyrnu yn ffyrnig. Yna, taniai Ifan, a Kolina; a'r creadur a drodd, ac a redodd ymaith: ond, yr oedd y cŵn o'i gylch yn awr, a Sakalar ar eu hôl; ac âg un dyrnod ofnadwy â'i fwyall, efe a laddodd y bwystfil anferth, ac yno y gorweddai yn yr eira. Yna y cŵn a'i gadawsant; canys gwrthodant gig arth yn amrwd, er eu bod yn hoff o hono pan fyddo wedi rhewi.

Yna y fintai a aethant i geisio gorphwysdra drachefn, wedi goleuo llusern, yr hon yn ab-senoldeb tân, a wasgarai ychydig o wres trwy le bychan a gynnwysai chwech o bersonau. Ond ni allent gysgu; canys er fod un o'r eirth wedi ei lladd, gellid casglu fod yr ail yn agos, gan eu bod yn y cyffredin yn myned bob yn ddau: ac yr oedd y meddwl am gyfagosrwydd y cyfryw grëadur yn dra annymunol. Mynych y gwybuwyd i'r pedwar carnoliaid enfawr hyn fyned i fwthyn, a mogu yr holl breswylwyr. Gan hyny, ni chawsant nemmawr o adnewydd-iad trwy y nos; ac o'r herwydd cyfodasant yn foreuach na chyffredin; ac wedi ymborthi eu hunain, hwy a aethant i borthi y cŵn, gan roddi cyfran o'r arth, oedd wedi rhewi yn galed erbyn hyn, iddynt; a dodi y gweddill ar y ceir llûsg, wedi gwneyd yn sicr o'r croen, er gwneyd gor-chudd newydd y nôs.

Yr oedd taith y diwrnod hwn, y naill haner ar y tir, a'r haner arall ar y môr, fel y goddefai eu llwybr, yr hwn oedd yn gyffredin yn arw, ac ni's gellid tynu y ceir llusg yn gyflym. Yr oeddid hefyd wedi gorchuddio traed y cŵn, a phob rhan dyner o honynt, yr hyn a barai nad oeddynt mor gyflym eu cerddediad. Mewn amgylchiadau cyffredin, lle y byddo yr arwyneb yn llyfn, nid ydyw yn dra anhawdd tywys gwedd o gŵn, pan fyddo yr un blaenaf wedi ei ddysgu yn dda; ond y mae cael y cyfryw un i flaenori o'r pwys mwyaf, pe amgen, ni's gellir myned yn mlaen. Bob tro y tarawo y cŵn ar drywedd arth, neu lwynog, neu ryw anifail arall, tynir

allan eu tueddiadau helyddol: rhuthrant rhagddynt yn aflywodraethus, er holl ymdrechion y gyriedydd, gan ddechreu yr helyddiaeth. Ond, os bydd y ci blaenaf wedi ei addysgu yn dda, efe a ruthra ar yr ochr arall, mewn cyfeiriad hollol wahanol, gan ffroeni a chyfarth, fel pe wedi cael ardrywedd newydd; ac os llwydda ei ystryw, ymsaetha yr holl wedd ar ei ol, a chollant y sawyr yn fuan, yna ânt rhagddynt ar eu taith.

Fel yr oedd Sakalar, yr hwn a barhai i gadw y blaen ar y fintai, tra allan ar y môr tua chanol dydd, yn amgylchu godreu bryn serth, o iâ lled glogwynog, efe a ganfyddai ei gŵn yn ymgyflymu yn ddisymwth; ond yn yr iawn gyfeiriad. Nid oedd ganddo ddim gwrthwynebiad i hyn, er ei fod yn dra amheus pa beth oedd o'u blaen. Pa fodd bynag, rhuthrai y cŵn yn mlaen â chyflymdra arswydol, hyd oni chyrhaeddasant ben y bryn. Yr oedd yr iâ yma yn hynod o arw, a halaidd, yr hyn a attaliai y car llusg yn ei flaen; ond ymaith â'r cŵn, i waered llethrfa serth, gan dynu yn egnïol ar reffyn y llusgiedydd, nes eu myned ymaith â chyflymder melltenawg. Yr oedd y gêr wedi tori, a Sakalar wedi ei adael ei hunan ar grib y bryn. Efe a neidiodd oddiar y cerbyd, ac a safodd yn edrych ar yr olygfa mewn syndod, gan yr ymddangosai fod attalfa dreisiol wedi ei rhoddi ar yr hynt. Y fynyd nesaf, a'i ddryll yn ei law, efe a ddylynai y cŵn i lawr y bryn, gan brysuro ar eu hol fel gwallgofddyn, yn ei lithr-fotasau hirion. Ond, yr oedd y cŵn wedi diflanu o'r golwg, ac yn fuan iawn canfyddai Sakalar ei hun ger mur anferth o iâ. Efe a edrychai yn ôl; ond nid oedd ei gymdeithion yn y golwg; ac er gweled pa beth oedd yn mlaen, dringai i fynu yr iâ-fagwyr oreu y gallai; ac yna, edrychai i waered i fath o gwm lled fawr, lle yr ymddangosai yr iâ yn llyfn, a hyd yn nod yn ddyfrllyd. Fel yr oedd efe ar droi yn ôl, ei lygad craff a ganfyddai rywbeth yn ymsymmud, yr hyn a gyffrodd ei holl hoffder at helwriaeth yn ebrwydd. Deallai mai iâ-ogof arth anferth ydoedd. Yr oedd yr ogof wedi ei ffurfio drwy gwympiad dau ddernyn o rew, y rhai a orweddent yn erbyn eu gilydd fel pont; a mynedfa oddi tanynt. Y creadur cyfrwys a gauasai ddau ben y drwyfa âg eira, ac a dorasai dwll yn y rhew tenau oedd oddi tani, a gorweddai yn ei gynllwynfa, yn dysgwyl am ei ysglyfaeth. Fel yr oedd Sakalar yn ymgrymu i wylio ar ysgogiadau y bwystfil, efe a ganfyddai forlo yn dyfod i'r wyneb, ac yn ymorwedd yn erbyn ffau ei elyn i anadlu. Estynid pawen drom drwy y twll, a lladdwyd y morlo yn y fan; ond, fel yr oedd yr arth yn dyfod allan i gymeryd gafael ar ei ysglyfaeth, taniodd Sakalar arno, gan ei gwympo. Yna, trodd Sakalar ymaith i ymofyn am ei gymdeithion, cynnorthwy y rhai oedd yn angenrheidiol i ddyogelu ychwanegiad tra gwerthfawr at eu hystôr o ymborth; ac fel y gwnelai hyny, clywai udfa ddolefus yn y pellder. Efe a brysurai yn y cyfeiriad y deuai y sŵn, ac mewn yn nghylch chwarter awr, cyrhaeddai safn cyfyngle rhwng dau rewfryn. Yr oedd cwlbren yr harnais wedi bachu yn yr agen, ac attal y cŵn, y rhai a udent ac a gyfarthent yn ffyrnig-wyllt. Cydiai Sakalar yn awenau y ffrwyn a gipiasid o'i ddwylaw, ac a drodd y cŵn o amgylch, y rhai a gymerasant eu tywys ganddo yn rhwydd; ac wedi peth anhawsder, efe a lwyddodd i'w dwyn i'r lle y gorweddai yr arth a'r morlo lladdedig, y rhai oeddynt yn rhewedig eisoes; ac yn fuan ymunodd a'i gymdeithion.

Dros amryw ddyddiau, yr oedd yn rhaid iddynt ymdrechu yn erbyn y cyffelyb anhawsderau; ac o'r diwedd cyrhaeddasant y *sayba*, lle yr oedd yr arlwyon a ddodasent yn yr hâf. Math o goffr mawr, annghelfydd ydoedd, a ddodasid i fynu ar bilerau; a chafwyd yr holl ystôr ynddo yn ddyogel: a chan fod cyflawnder o goed yn y lle hwn, hwy a arhosasant yma dros amser, i roddi gorphwysfa i'r cŵn, ac i ail lwytho eu nwyddau a'u harlwyon. Cyfodent y babell, ac ymroddasant oll i geisio gorphwysdra. Yr oeddynt ar adael tir yn hollol, ac anturio ar y Mor Rhewedig, mewn cyfeiriad gogledd orllewinol.

V.—Ar yr ia.

Er y tân a gynneuasid ar y plâd haiarn yn nghanol y babell, teimlai ein teithwyr yr oerni yn dra llymdost yn y llanerch yma ar eu taith. Yr ydoedd oddeutu y Nadolig; ond, nid oedd a wnelai hyny nemawr a'r peth. Yr oedd y gwynt yn ogleddol ac yn llym; a gorfyddent gyfodi yn y nos yn aml, a chynnyrchu cylch-rediad y gwaed trwy redfa dda ar yr eira: ond yr oeddynt oll yn barod i ail gychwyn yn foreu y trydydd dydd. Gwelid yr haul y boreu hwnw, ar fin yr arwel, am yspaid byr, yr hyn a argoclai y caent ddyddiau yn fuan. O'u blaen yr oedd llinell o rewfryniau, y rhai a ymddangosent fel magwyr na's gellid myned drosti; ond, yr oedd yn rhaid ymdrechu. Yr oedd y cŵn wedi adfywio trwy yr ychydig ddyddiau o orphwysdra a gawsent, ac wedi dethol bryn llyfn o rew, hwy a lwyddasant i gyrhaedd ei grib, o'r lle y caent olygfa ar wastadedd diderfyn. Ar hyd hwn, rhedai y llûsgeiriau gyda chyflymder mawr; ac o fewn corph y dydd hwnw aethant tua deng milldir ar hugain oddiwrth y tir, a gwersyllasant ar y môr, mewn dyffryn o eira. Yr ydoedd yn llanerch dra hynod; brynniau anferth o iâ, mor hen a'r byd efallai, a ddyrchent eu cribau uchel hyd y cymmylau o bob tu,

tra yr oeddynt yn gorphwys yn ddiameu ar waelod y cefnfor. Yr oedd pob rhyw ffurf swynol yno; yn y pellder, ymddangosai dinasoedd a phalasau, mor wyned a sialc; pilerau, pigyrnau, pyramidau, a phob math o grugiau, dyffrynoedd, a llynoedd; ac o dan ddylanwad twyll-olygfeydd y lle, dychymygid fod maesydd gwyrddleision, gweirgloddiau teg, a moroedd tonog, yn ymddangos ar y ddrychfa. Gorphwysai yr holl fintai yn y fan hon, a thrannoeth, aethant rhagddynt gan chwilio am dir. Gwelid ôl traed llwynogod ac eirth yn fynych yn awr; ond ni chanfyddid un creadur. Ond, cyfnewidid y llwybr; ac yn awr ac eilwaith, cyfarfyddid â maesydd o rew newydd eu ffurfio, y rhai ychydig yn ôl a fuasent yn nofio; yr oedd pentyrau yn ymddyrchafu yn mhob cyfeiriad, yr hyn a wnelai y llwybr yn dra anhygyrch; yna cyrhaeddent lanerchau meithion o iâ meddal, lle yr oedd cyflwr llaith yr arwyneb yn profi nad oedd ond tenau, ac o ffurfiad diweddar. Gellid gyru ffon drwyddo; ond cymerai yr anturiaethwyr yr unig gwrs a adawsid iddynt;—dodent y cŵn yn gyfochrog, ac yna fe'u gyrid drosto gyd a'r cyflymder mwyaf, yr hyn oedd yn anhebgorol angenrheidiol, gan ei fod yn agenu yn mhob cyfeiriad o dan bwys y car llûsg, yr hwn a fyddai ymaith cyn ei llyncid i'r dwfr: a chan gynted ag y cyrhaeddasant y rhew caled, y fintai a orphwysasant, gan ddïolch i'r nefoedd am eu gwaredigaeth.

Ond, yr oedd yr hin wedi cyfnewid. Yr oedd yr hyn a elwir yma, "y gwynt cynes," wedi bod yn chwythu ar hyd y dydd; ac yn y nos, cyfododd tymhestl fawr. Fel yr oeddynt yn eistedd ac yn ysmygu ar ol swper, crynai yr iâ o dan eu traed; ac yna, ymdorrai trystiau taranawl ar eu clustiau, yr hyn a roddai ar ddeall iddynt fod y môr yn ymrwygo yn mhob cyfeiriad. Yr oeddynt wedi gwersyllu ar rew-fryn uchel, o faintioli enfawr, ac ar y pryd, yr oeddynt yn ddyogel; ond clywent drwst rhuthriad y dyfroedd o'u hamgylch. Yr oedd y Môr Rhewlyd mawr, yn un o'i gyffroadau arswydlawn. Nid ydyw byth yn rhewi yn galed yn y moroedd dyfnaf tu a'r gogledd; yn wir, y mae yno foroedd agored yn wastadol, a rhew-fryniau yn nofio ynddynt; a phan gyfodo tymhestl-wynt, bydd y llanerchau agored hyn yn cael eu cyffroi yn arswydlawn; ac yr oedd yn amlwg mai felly yr oedd y pryd hwn. Tua chanol nos, teimlai y teithwyr, meddyliau y rhai oeddynt yn yr ing mwyaf, fod y rhewfryn mawr yn nofio: ac yr oedd ei sigliadau yn ofnadwy. Sakalar oedd yr unig un a gadwai ei hunan-feddiant cyflawn. Yr oedd gwŷr Nijnei-Kolimsk yn ymwylltio, ac yn tynu gwallt eu penau, gan lefain, eu bod wedi cael eu dwyn i'w dinystr yn wirfoddol; yr oedd Kolina ar ei gliniau, yn ymgroesi ac yn gweddïo; tra yr oedd Ifan yn ei feiaw ei hun yn fawr, fel yr achos o arwain cynnifer o fodau dynol i'r fath berygl ofnadwy. Yr oedd sigliadau eu cludair rewlyd yn arswydus, ac fe'i hyrddid yn ol a blaen, gan gludeiriau mwy: ac o'r diwedd, trwy ymsigliad mwy grymus, fe'u teflid i lawr oll yn ddisymwth; a dylynid hyny â dystawrwydd mawr. Tawelodd y ddryghin, symmudodd y gwynt, dechreuodd yr eira ddisgyn, a dechreuai y gwastadedd ehang o rew rhydd, ymlonyddu drachefn; a'r rhew caled a gydiai ei ranau yn fuan unwaith eto, fel yr oedd y perygl drosodd. Yn awr, mynai gwŷr Nijnei-Kolimsk gael dychwelyd yn ddïoed; ond yr oedd Sakalar yn benderfynol, a mynodd gychwyn rhagddo yn fuan drachefn. Yr oedd y ffordd yn ddrwg dros ben, fel yr oedd yn dra anhawdd myned drosti, ac na's gallent fyned nemawr rhagddynt ar eu taith trwy yr holl ddiwrnod hwnw; ond cawsant orphwys mewn heddwch y noswaith hono, gan mor dawel oedd holl anian o'u deutu, fel y cysgasant hyd ddydd; ond yr oedd Sakalar ar ddi hun yn foreu, a chan gynted ag y berwodd efe grochanaid o eira, efe a wnaeth dea, ac a ddeffrodd ei bobl.

Yr oeddynt yn awr ar fyned i ddyrysfa o rew-fryniau, heb ddim gwastadedd yn y golwg; ond nid oedd ganddynt hamdden i gymeryd nemawr sylw o dramgwyddiadau. Yn mysg y rhew-fryniau hyn yr arferai yr eirth lochesu, tra y cynniweiriai bleiddiau oddeutu y gwersyll bob nôs, mewn dysgwyliad am y briwfwyd a weddillid ganddynt. Yr oedd pob llygad yn craffu am ysglyfaeth; ond yr oedd y ffordd mor arw, fel y gofynid y gofal mwyaf er attal dymchweliad y ceir llûsg. Tu a'r prydnhawn, yr oeddynt yn myned i ddyffryn cul o rew, yr hwn oedd wedi ei lenwi â lluwchfeydd eira, yn yr hwn y suddai y cŵn, fel mai prin y gallent symmud: ar y fynyd hon, ymddangosai dwy arth wen fawr, ar y rhai y ceisiai y cŵn ruthro, ond yr oedd yr eira yn rhŷ feddal iddynt; eithr yr oedd yr helwyr yn barod. Deuai yr eirth yn mlaen yn eofn, fel pe buasent yn newynog; ac nid oedd dim amser i'w golli. Gan hyny anelai Sakalar ac Ifan, bob un ei fwystfil, a'r ergyd a darawai bob un o'r ddau. Yr un a saethid gan Sakalar a drodd ymaith i ffoi; ond, yr un a saethasid gan Ifan, a ruthrai tuag atto yn ffrochwyllt. Safai Ifan i'w ddysgwyl, a'i fwyall yn ei law, a tharawai ddyrnod ofnadwy ar drwyn y crëadur; ond, fel yr oedd yn gwneuthur hyny, efe a gwympodd, ac yr oedd yr arth arno. Ysgrechai Kolina, ac yr oedd Sakalar yn ymlid ar ol y llall; ond rhuthrai gwŷr Kolimsk yn mlaen; taniai dau o honynt; a'r trydydd a wanai y bwystfil â phicell. Gadawai yr arth

Ifan, ac wynebai yr ymosodwyr newyddion hyn; ond cyn pen haner awr yr oedd y frwydr drosodd, a'u hystor hwythau o arlwy wedi ei chwanegu, cystal a moddion cynnesrwydd iddynt. Ychydig goed oedd ganddynt, a defnyddient hyny a feddent yn gynnil. Unwaith neu ddwy, cawsant bren yn y rhew, yr hyn a chwanegai at eu tanwydd; ond yr oeddynt i ymddibynu yn benaf ar olew. Gwnelent dân bychan y nôs, i goginiaw wrtho; ond fe'i gadewid i ddiffodd, ac wedi cau y babell i fynu yn ofalus, yr oedd gwres chwech o ddynion yn nghyda llusern fawr a adewid yn oleu yn y canol, yn gweini cynnesrwydd iddynt am y gweddill o'r nos.

Tu a'r chweched dydd, tarawsant ar dir; sef ynys fechan mewn beisfor, lle y cawsant helaethrwydd o goed. Yr oedd Sakalar wedi ei foddhau yn fawr; canys deallai wrth yr arwyddion hyn, eu bod ar yr iawn gyfeiriad. Gwersyllasant yma yn llawen, cynneuasant dân rhagorol, a chymerasant bôb un wydraid o *rum;* gwirod na chyfranogent o hono onid yn anfynych, am eu bod yn gwybod bod tuedd ynddo i chwanegu eu hoerni yn hytrach na'i leihau. Yna torasant dwll yn y rhew, fel y gallent wneyd cais i ddal morloi; ond âg un yn unig y gwobrwywyd eu hymdrechion; pa fodd bynag, yr oedd hyn, a'r coed a gawsant yma, yn chwanegiad gwerthfawr at eu harlwyon. Gwelid yn fuan fod lluaws o eirth ar yr ynys, a lladdwyd o honynt ddim llai na phump, ac un ar ddeg o lwynogod; ac yna, yr oedd yn rhaid iddynt gadw tanau mawrion i gynneu o'u hamgylch y nos, er cadw draw y cyfryw fwystfilod rheibus.

Wedi cael y fath ychwanegiad gwerthfawr at eu harlwyon, cychwynasant rhagddynt eto yn galonog; ond er eu bod yn myned rhyngddynt a'r pegwn, yr oeddynt hefyd yn dynesu tu a'r Dyfnfor; ac yr oedd peryglon yr iâ yn aneirif. Yr oedd agenau dyfnion, llynoedd, adwyau, a mynyddoedd yn eu ffordd; ac nid ymddangosai dim helwriaeth i'w hymchwil bryderus. O ddydd i ddydd ymdrechent i weithio eu ffordd yn mlaen—yma yn cymeryd cylchdeithiau meithion, acw yn cael eu gyru yn ôl, ac weithiau yn colli mewn un diwrnod gymaint ag a ennillasent yn y deuddeg awr flaenorol. Croesid rhai agenau ar bontydd o iâ, y rhai a gymerent oriau i'w gwneyd, tra yr ymddangosai fod yr oerni yn dyfod yn fwy llym-dost bob awr. Yr oedd yr haul yn weledig am oriau yn awr; ac fel y mae yn arferol yn y parthau hyn, yr oedd yr oerni yn llymach er pan wnelsai ei ymddangosiad.

O'r diwedd, wedi mwy nag ugain niwrnod o lafur blin, gwelid y tir addawedig yn ymddangos o bell yn aneglur; gyrent yn mlaen â phob egni; canys yr oeddynt yn tynu tua diwedd eu harlwyon,—ac ymgynnullai yr holl fintai o'r diwedd ar grib mynydd uchel o rew. O'u blaen, yr oedd bryniau Siberia Newydd; ar eu deheulaw, y môr agored aruthrol; islaw iddynt, can belled ag y canfyddai llygad, gyfyngfor o ddwfr rhedegog, trwy yr hwn y rhuthrai pentyrau anferth o iâ, heb gael hamdden i ymgydio yn gorph sylweddol. Safai yr anturiaethwyr, wedi eu brawychu gan yr olygfa; ond arweiniai Sakalar hwynt hyd at lan y cyfyngfor, a symmudai yn araf ger ei redfa, hyd oni chanfu yr hyn yr ymofynai am dano, sef dernyn o rew digon o faint i gludo yr holl fintai, ac eto bron ymollwng oddiwrth y maes cyffredinol. Dodid y ceir llûsg arno; ac yna, wedi tori â'u bwyill y tafod cul a'i daliai, ymsymmudai i'r mor tymhestlog. Cyfleid y ceir a'r cŵn ar ci ganol, tra y safai y dynion ar yr ymyl, i'w gyfeirio can belled ag y gallent a'u hêl-ysbêrion. Yn mhen ychydig fynydau, fe'i cludid rhagddo gan y cerhynt crŷf, ond fe'i hattelid yn awr ac eilwaith, pan ddelai i wrthdarawiad â chyrph trymach, a dyfnach. Safai dynion Kolimsk wedi eu dylenwi âg arswyd, wrth eu canfod eu hunain yn cael eu cludo tu a'r dyfnfor mawr hwnw sydd yn ymdreiglo yn barhaus o gylch y pegwn gogleddol; ond Sakalar, â llef awdurdodol a archai iddynt ddefnyddio eu hêl-ysbêrau. Gwthiasant rhagddynt yn egnïol, a gwthid eu cludair ryfedd ar draws y ffrwd, ac i waered ar hyd-ddi. O'r diwedd, dechreuai symmud yn arafach, a chafodd Sakalar ei hunan dan gysgod rhewfryn enfawr; ac yna, yn cael ei yru i fynu y ffrwd gan wrthlif. Yn mhen ychydig fynydau cyrhaeddid y lan a ddymunid mor fawr. Yr oedd eu ffordd yn hynod o arw fel y dynesent at y lan; ond gan eu bod oll yn gweled terfyn eu llafur am y gauaf gerllaw, ymdrechai pob un o honynt yn egnïol. Ymddangosai fod y cŵn yn arogli tir, neu o leiaf, ardrywedd rhyw helwriaeth, canys hwy a gyflyment yn mlaen yn egnïol. Ac oddeutu awr cyn yr amser arferol i wersyllu, yr oeddynt o dan glogwyn mawr, wedi amgylchynu pa un y cawsant eu hunain mewn dyffryn dwfn a chysgodol, ac afon yn ei waelod, wedi rhewi rhwng ei cheulanau uchel, ac yn orchuddiedig gan eira trwchus.

"Y mwnglawdd ifori!" medd Sakalar, mewn lleferydd dystaw wrth Ifan; yr hwn â'i olygon neillduol a ddïolchai iddo.

### VI.—Y Mwnglawdd Ifori.

Cyrhaeddid terfyn y daith ddyeithr a pheryglus hon, yr hon o angenrheidrwydd dan yr amgylchiadau mwyaf ffafrawl, a gynnyrchai fwy o anrhydedd nag o elw; ac eto, yr oedd llwydd-

iant yr anturiaeth yn amheus. Yr oedd y tymhor yn rhy oer eto i wneyd unrhyw ymchwiliad am ifori ffossylawg; a'r gorchwyl difrifol cyntaf i ymgymeryd âg ef, oedd adeiladu preswylfa auafaidd. Yn ffodus, yr oedd yno gyflawnder o foncyffion coed, rhai wedi haner pydru, a rhai yn îr, yn gorwedd dan yr eira ar lanau y beisfor i'r hwn yr arllwysai yr afon, a'r rhai a adawsid yno gan y llifogydd a'r tonau. Cafwyd crug rheolaidd hefyd, yr hwn a ddodasid i fynu gan ryw frodorion darbodus o Siberia Newydd, y rhai fel yr Esquimaux ydynt yn byw yn yr eira. O dan hwn, yr oedd arlwy fawr o bŷsg rhewedig, o'r rhai y cymerid meddiant yn ddi seremoni, gan fod y fintai ar fin newynu. Gwir, fod Sakalar ac Ifan, yn bwriadu rhoddi ystorfa gyffelyb yn eu lle yno, os byddai yn bossibl yn ystod yr haf byr.

Gwnelid seilwaith y bwthyn gauafol o goed; ond y rhan fwyaf o'r adeilad a ffurfid o rew ac eira. Ac mor galed a darddwys oedd y cyfan pan ei gorphenid, ac ei gwisgid oddi fewn â chrwyn eirth, a blew-grwyn eraill, fel y digonai llusern fawr er cynesrwydd ddydd a nos, a choginient eu hymborth mewn penty bychan wrth ei ystlys. Gadawid y cŵn weithiau i ymdaro drostynt eu hunain am loches; ac yn fuan fe'u gwelid wedi ymgladdu yn yr eira. Fe'u dodid ar lai o ymborth hefyd yn awr, gan nad oedd waith iddynt i'w wneuthur; canys ni wyddai neb eto, pa adnoddion ydoedd yn y lle gwyllt hwn.

Can gynted ag y cwblheid y dyledswyddau mwyaf uniongyrchol gyssylltiedig â gwersylliad, ymroddodd yr holl fintai ar y gorchwyl o barottoi croglathau i ddal llwynogod, a pharottoadau helyddol eraill. Torid twll yn y rhew yn y beisfor, a gwyliai gwŷr Kolimsk ar hwn gyda dyfalwch, am forloi; a'u hymdrechion a wobrwyid âg un neu ddau; ond ni ddaliasant ddim pysgod. Wedi rhai dyddiau o orphwys, cychwynai Sakalar ac Ifan gyda nifer o gŵn a ddetholasent yn ofalus, i chwilio am helwriaeth; a chanfuant yn fuan fod yr arth wen fawr yn arfer mynychu hyd yn nod y lledred gogleddol hwnw; a llwyddasant i ladd amryw o honynt, y rhai a lusgid adref gan y cŵn. Yn mhen tua deng niwrnod wedi eu dyfodiad i'r ynys fawr, Sakalar, yr hwn oedd y mwyaf effro o honynt, a ddihunodd ei gymdeithion o'i amgylch, fel yr ymddangosai dwsin o ddynion dyeithr ychydig bellder oddiwrthynt. Dynion byrion, cydnerth oeddynt, âg ysbêrau hirion yn eu dwylaw; ac yn tebygu yn fawr i'r Esquimaux yn eu gwisgoedd. Yr oedd yr olwg arnynt yn fygythiol i'r eithaf, ac yn ol cyngor Sakalar, tanid cawod o ergydion dros eu penau. Safai y goresgynwyr, ac edrychent o amgylch yn frawychus; yna, rhedasant ymaith. Gan hyny, yr oedd yn amlwg fod arfau tân yn frawychus iawn i'r anwariaid hyn. "Hwy a ddychwelant drachefn," medd Sakalar yn anfoddog; "hwy a wnaethant yr un modd pan oeddwn yma o'r blaen; ac yna a ddychwelasant ac a laddasant fy nghyfaill yn y nôs. Sakalar a ddïangodd."

Cynhelid cyngor yn awr, a phenderfynid wedi ystyriaeth bwyllog, i gadw gwyliadwriaeth fanol bob awr, tra yr oedd llawer, o angenrheidrwydd yn cael ei ymddiried i'r cŵn. Byddai un o'r fintai yn gwylio trwy y dydd, tra y bolltid y fynedfa i'r bwth yn ddyogel y nos. Pa fodd bynag, aeth amryw ddyddiau heibio fel hyn, heb gael o honynt eu molestu, ac yna, cymerth Sakalar wŷr Kolimsk allan i hela, gan adael Ifan a Kolina yn nghyd. Yr oedd y gŵr ieuanc wedi dyfod i adnabod teilyngdod Kolina, er nad oedd namyn wedi ei haner gwareiddio. Yr oedd ei serch at ei thâd, ac at yr holl gymdeithion, yn ddi derfyn. Ni rwgnachai o herwydd caledi na dyoddefiadau, a chynhaliai ysbryd Ifan i fynu trwy arliwio yn y modd mwyaf doniol, ei ddyfodol dysglaer. Ymddangosai fel pe y buasai wedi dodi ei theimladau personol o'r neilldu, gan ei olygu ef yn unig fel un a ymladdai â ffawd, yn y gobaith o allu drwy hyny ennill llaw y weddw gyfoethog o Yakoutsk. Ond yr oedd Ifan yn dra darostyngedig i bangfeydd o brudd-der: tybiai am dano ei hun ei fod yn annghofiedig a dïystyredig; ac edrychai ar amser ei brawf megys yn annherfynol. Tra yn yr ansawdd meddwl yma, un diwrnod, fe'i cymhellid gan Kolina i fyned i edrych a ddaethai y morloi ddim i fynu i anadlu yn y twll a dorid o newydd yn y rhew beunydd. Cydsyniodd Ifan; ac ymaith â hwy yn siriol tu a'r beisfor. Nid oedd yno forloi; ac wedi arhosiad byr, hwy a ddychwelasant tu a'r bwthyn, a'u camrau yn cael eu cyflymu gan udiadau pellenig y cŵn.

Ond fel y dynesent, ni's gallent weled unrhyw argoel o ddyn nac anifail, er fod y cŵn craffus yn parhau i gwyn-leisio dan gysgod eu tomenydd eira. Ifan, wedi ei synu gan hyn, a gyfodai len y drws, a'i ddryll yn ei law, gan ddysgwyl canfod rhyw fwystfil oddifewn. Yr oedd y llusern wedi ei diffoddi, a'r bwthyn yn hollol dywyll: ond cyn y gallai Ifan gyfodi ar ei draed, neidiai pedwar o wŷr arno, a chymerid ef yn garcharor ganddynt.

Ciliai Kolina yn ôl, a pharóttoai ei dryll; ond y brodorion yn foddlawn ar yr ysglyfaeth a gawsent, a ymffurfiasant yn gorph cyfrdo o amgylch Ifan, ac wedi rhwymo ei ddwylaw, a archasant iddo gerdded rhagddo. Yr oedd eu gwedd yn ddigon gwyllt a bygythiol i beri iddo fyned rhagddo; yn enwedig pan eu hadnabu fel rhai a berthynent i fintai ryfelgar o'r *Tchoukt-*

*chas*, llwyth o Siberiaid a dramwyant y Moroedd Pegynawl mewn ymchwil am helwriaeth, y rhai a groesant gyfyngfor Behring mewn badau crwyn; a'r rhai, ond odid ydynt yr unig bersonau y rhai trwy eu hymdeithiad tymhorol yn Siberia Newydd, a barodd i rai feddwl ei bod yn gyfanneddol. Safai Kolina, yn anmhenderfynol pa beth i'w wneyd; ond yn mhen ychydig fynydau, hi a gyfododd bedwar o'r eŵn, ac a'u dylynodd. Bloeddiai Ifan arni i ddychwelyd yn ôl; ond, ni thalai yr eneth un sylw i'w gais, gan ei bod yn benderfynol, debygid, i wybod pa beth a ddeuai o hono.

Yr anwariaid a hyrddient Ifan yn mlaen mor gyflym ag y gallent, ac yn fuan elent i gornant ddofn a chul, yr hon tu a'r canol a ymranai yn ddwy; dewisid y llwybr culaf; ac yn fuan cyrhaeddid preswylfa y brodorion. Ogof ydoedd, drwy enau cyfyng pa un yr ymgropient i fewn; dylynai Ifan yr arweinydd, ac yn fuan efe a'i cafodd ei hun mewn ogof fawr a rhyfedd, yr hon a ranasai natur yn amryw ystafelloedd; ac o fewn yr hon yr oedd mintai o tuag ugain o wŷr, ac oddeutu yr un nifer neu fwy o ferched; a lluaws o blant. Fe'i eynnesid mewn dwy ffordd, sef trwy dân coed a llusernau bloneg; a thrwy ffynhonau haner llosfeinawl a fwrlwmai i fynu trwy dwll cul, ac yna a ddisgynai i bydew dwfn o'r hwn y cludid ei ddyfroedd brwd i ymgymmysgu a'r môr rhewlyd. Dïangai y mwg egrawl trwy dyllau yn y nen. Bwrid Ifan, a'i freichiau a'i goesau yn rhwym, i ystafell wahanol, yr hon a gynnwysai lawer o flewgrwyn, ac a ffurfid gan ysgwyddiad o'r graig a'r badau erwyn, a ddefnyddid gan yr âl gynhwynol hon i groesi y moroedd mwyaf ystormus. Yr oedd efe bron wedi ei syfrdanu: efe a orweddai dros yspaid heb allu symud, na meddwl. Ymddadebrodd yn raddol; ac edrychodd o'i amgylch; yr ydoedd yn nos drwyadl oddieithr tuag i fynu, lle trwy agen fechan y canfyddai y mwg yn ymdroelli yn gymmylau oddeutu y nen, gan ddïanc. Ni ddysgwyliai namyn cael ei roddi i farwolaeth; canys efe a adwaenai yr âl anwar yr ydoedd yn eu mysg, y rhai a gashaent unrhyw ymyriad o'r eiddo neb a'u hêl-diroedd hwy; a phŷsg y rhai a ddaliasai ef a'i gymdeithion. Gan hyny, pa faint ydoedd ei syndod, pan o'r nen y clywai lais tyner yn sibrwd ei enw ef ei hunan mewn goslef serchog. Meddyliai mai rhaid oedd fod ei glustiau wedi ei dwyllo. Yr ydoedd y dadwrdd gerllaw yn ofnadwy; a gellid meddwl eu bod oll, yn wŷr, gwragedd, a phlant, yn ymdaeru yn nghylch rhywbeth, eto, efe a glywsai y gair "Ifan." Yntau efe a attebai, mewn goslef isel, ond eglur, "Kolina;" ac ar hyny ymdreiglai eyllell at ei draed; ond ni's gallai gyffwrdd a hi: ar hyny llenwid yr agen oedd tua dwsin o droedfeddi uwch ei ben, gan ryw ffurf dywell; ac ymsymmudai rhywbeth i waered yn mysg y eeryg ysgwyddawg; ac wele, Kolina a safai gerllaw iddo; ac mewn mynyd yr oedd Ifan yn rhydd, a bwyall yn ei law. Yr oedd y fynedfa allan yn gymhwys o'u blaen, grisiau wedi eu tori yn y graig, i esgyn at y porth uchaf, yn agos i'r hon y dodasent Ifan yn ddi ofn, am ei fod wedi ei rwymo. Ond clywid rhuthr; ac ni feddai y cyfeillion namyn prin amser i gilio yn ddyfnach i'r ogof, pan ruthrai pedwar o wŷr i fewn, wedi ymarfogi â chyllill, i offrymu y carcharor, yn ol y penderfyniad y daethent iddo wedi eu dadl. Yn ngolau eu lluscrn gwelent fod eu hysglyfaeth wedi dïanc. Crochwaedd wyllt a dynodd yr holl ddynion yn nghyd; yna hwy a frasgament i fynu ar hyd y clogwyni geirwon, gan ymlid eu hysglyfaeth yn ffrochwyllt. Ac ni chollai Ifan a Kolina ddim amser; ond neidient yn ëofn, a'r fwyall a'r gyllell yn eu dwylaw, i ganol y gwragedd brawychedig, gan ruthro ar draws eu llechfa arswydlawn; a chyn bod yr un o honynt wedi ymddadebru o'i braw, yr oeddynt yn yr awyr agored. Rhedent yn mlaen yn y tywyllwch dros beth amser, pan y clywent leisiau mwmialaidd. Ymgrymasant o'r tu ol i'r garcg fawr gyntaf, gan ymguddio oreu y gallent yn yr eira; ac ymsymmudai y fintai tuag attynt yn araf. "Gallaf ganfod ôl eu traed eto," medd Sakalar, mewn goslef isel. "Awn yn mlaen tra y maent yn fyw, neu o leiaf i'w dïal!"

"Gyfeillion!" gwaeddai Ifan ar hyn.

"Fy Nhad!" medd Kolina; ac mewn mynyd yr oedd yr holl fintai wedi ymuno. Yr oedd pum gair yn ddigon i beri i Sakalar ddyfod i benderfyniad. Rhuthrent oll yn ôl, aethant i fewn i'r ogof; a chawsant eu hunain yn feistri arni heb unrhyw ymdrechfa, gan na chynnygiodd y gwragedd a'r plant eu gwrthsefyll. Can gynted ag eu cyflewyd mewn congl, dan warchodaeth gwŷr Kolimsk, cynhelid ymgynghorfa; a Sakalar fel y mwyaf profiadol, a benderfynai pa beth oedd i'w wneuthur. Efe a wyddai pa beth oedd gwerth bygythion; felly, gollyngid un o'r gwragedd, ac erchid iddi fyned a mynegi i'r gwŷr pa beth a gymerasai le. Yr ydoedd hefyd i gynnyg cyfammod heddwch, â'r hwn os eyttunai y ddwy blaid, yr oedd y gwragedd ar un ochr i gael eu rhoddi i fynu; a'r bwthyn a'i gynnwys i gael ei roddi i fynu ar y llaw arall. Ond hysbysai y buddugoliaethwyr eu bod yn bwriadu cymeryd pedwar o'r bechgyn mwyaf golygus yn wystlon, i'w dychwelyd can gynted ag eu hargyhoeddid o gywirdeb a ffyddlondeb y Tchouktchas. Dychwelodd y genad yn fuan, gyd a'r hysbysrwydd o'u parodrwydd i gydsynio â'r holl ammodau. Nid oeddynt wedi myned

yn agos i'r bwthyn rhag ofn bod yno gynllwynwyr. Detholwyd y pedwar bachgen ar unwaith, a'r pleidiau ymladdgar a ymwahanasant. Parai Sakalar i'r bechgyn redeg o'u blaen, ac felly cyrhaeddid y bwthyn. Gwnaed caban tufewnol ar unwaith i'r carcharorion, a chyflewyd cŵn i wylio arnynt. Ond, gan fod y bechgyn wedi deall Sakalar, y byddai i'r cŵn eu bwytta os symmudent, arhosasant yn ddigon llonydd, heb gynnyg ffoi.

Weithian, coginiwyd pryd o fwyd yn frysiog, ac wedi gorphen ymborthi, adroddai Ifan helyntion y dydd, gan ganmol yn dra gwresog, ffyddlondeb a dewrder Kolina, yr hon gyda chraffder nodedig yr Yakoutiaid, a ddarganfuasai ei garchar trwy y mŵg, ac a'i canfuasai ef ar y llawr, er tywylled ydoedd y lle. Yna Sakalar a fynegodd y modd y brawychasid ef yn ddirfawr ar ei ddychweliad, ac y dylynasai eu hôl ar yr eira. Wedi llon-gyfarch eu gilydd ar y waredigaeth, hwy a aethant i orphwys.

Dranoeth yn foreu, deuai y mamau yn ostyngedig ag ymborth i'w plant. Rhoddid ychydig anrhegion iddynt, ac anfonid hwynt ymaith yn llawen. Tua chanol dydd, ymddangosai yr holl lwyth ger eu bron yn anarfog, o fewn ychydig bellder o'r bwthyn, gan gynnyg marchnadyddiaeth. Dygasent swm mawr o bysgod, y rhai y cynnygient eu cyfnewid am fyglys; a Sakalar, yr hwn a allai siarad eu hiaith yn rhwydd, a roddes iddynt syppyn o fyglys yn gyntaf, gan roddi ar ddeall iddynt mai yn daledigaeth am y pŷsg a gymerasent heb genad, ei bwriedid. Parodd hyn i bob teimlad gelynol ddiflanu ar unwaith, a sefydlwyd heddwch sylweddol: ac argyhoeddid Sakalar mor drylwyr o'u didwylledd, fel y rhyddhaodd efe y carcharorion ar unwaith. Ac o'r dydd hwnw allan, yr oedd y ddwy fintai megis un; a therfyn wedi ei roddi ar bob meddwl am ymladd. Fel hyn, trwy ychydig diriondeb o'r ddwy ochr, attaliwyd llawer o dywallt gwaed. Mae yn wir y gallasid cyrhaedd yr un amcan trwy ladd haner pob un o'r ddwy fintai fechan; ond y mae yn amheus a fuasai yr heddwch mor foddhäol i'r gorfuchedddwyr wedi hyny.

### VII.—Yr Haf, a'r Hydref.

Daeth yr haf o amgylch yn raddol tra yr oeddynt yn dilyn helwriaeth, yn cyfnewid nwyddau, ac yn cymdeithasu â'u cyfeillion newyddion. Dechreuai yr eira doddi; a gloywid llethrau y bryniau gan raiadrau, fel yr ymdreiglai y dyfroedd tu a'r môr: ond gan eu bod wedi dodi haen o bridd dros y bwthyn, parhai hwnw yn gryf, a diddos. Ymddangosai heidiau o hwyaid a gwyddau yn fuan; ac yr oedd ychydig lysieuaeth yn weledig, a'r môr mewn ysgogiad. Ond, y peth a dynai sylw pob llygad yn fwyaf, ydoedd y pentyrau enfawr o ifori ffosylawg a welid ar lenydd yr afon, ac a ddynoethid fwy fwy bob blwyddyn gan lifogydd y gwanwyn. Digonai ychydig ddyddiau i gynnull pentwr mwy nag a allasent hwy ei gludo ymaith ar yr ysledau mewn dwsin o deithiau. Syllai Ifan ar ei drysor mewn mudandod synedig. Pe buasai hyn oll yn Yakoutsk, efe a fuasai y masnachwr cyfoethocaf yn Siberia; ond ymddangosai ei bod yn anmhossibl ei ddwyn yno. Ar hyny, deuai y Tchouktchasiaid anturiaethus yn mlaen, ac a gynnygiasant drosglwyddo cyfran helaeth o'r ifori yn eu badau, i fan pennodol o Siberia; am swm y cyttunid arno, mewn myglys, a nwyddau eraill. Er fod Ifan wedi ei synu drachefn gan feiddgarwch y dynion gwylltion hyn, efe a dderbyniodd eu cynnygiad, gan ymrwymo i roddi ei holl ystôr o nwyddau iddynt am eu gwasanaeth. Felly, penderfynwyd ar hyn, a'n hanturiaethwyr a'u cyfeillion newyddion a ymwasgarasant i ddilyn eu galwedigaethau dros y tymhor hâf; yr hyn oedd yn gynnwysedig mewn pysgotta, hela, ac adgyweirio eu badau, a'u hysledau. Yr oedd badau y Tchouktchasiaid wedi eu gwneyd o grwyn ac esgyrn morfilod, yn nghyda darnau o goed: ond yr oeddynt yn fawrion, ac yn gymhwys i ddwyn pwysau trymion. Bwriadai eu perchenogion gychwyn can gynted ag y byddai y rhew wedi llwyr ymagor, gan feiddio holl beryglon y fath fordwyaeth ofnadwy.

Treulid mis i bysgotta, ac i sychu y pŷsg, neu eu dodi mewn tyllau lle yr oedd rhew tragywyddol; felly, dodid ystôr enfawr o gnawd morloi, olew, a brasder i'w gadw; ac yna, un boreu, a gwynt teg o'u hol, ymadawai y Tchouktchasiaid, ac arhosai y fintai fechan o anturiaethwyr ar ol, eu hunain: y rhai a ymroddasant i dori eu bwth i fynu, parottoi eu hysledau, cyfodi eu pabell, a gwneyd pob peth yn barod at eu hail daith. Yr oeddynt, nid yn unig wedi adgyweirio eu hysledau; ond hefyd wedi eu gwneyd yn fwy, fel ag i ddwyn y llwyth trymaf ag oedd yn ddichonadwy ar y cychwyn. Nid oeddynt yn gofalu cymaint am fod yn orlwythog dros rai dyddiau yn nechreu y daith, gan y lleihâi yr arlwyon yn fuan. Eto, ni allent gymeryd haner cymaint ag a fuasent yn ei ewyllysio, er fod gan Ifan yn agos i dunell o ifori; a deg tunell ar hugain oedd cynnyrch mwyaf holl Siberia mewn un flwyddyn. Ond yr oedd yr ysledau yn barod yn mhell cyn bod y môr yn barod; a'r yspaid yma a dreulid mewn helwriaeth, fel na threulient ddim o'u hystôr ar gyfer eu taith. Yr oeddynt oll wedi llwyr flino ar ddiwrnod agos cyhyd a dau fis Seis'nig, a

llon-gyfarchent ymddangosiad cyntaf llwynog gwyn. Yn fuan, dechreuai hwyaid a gwyddau ddiflanu, ymsuddai pŷsg i'r dyfnder, fel na's gwelid nemawr o honynt, deuai yr eirth o amgylch y gwersyll dan ruo, ac yna gorchuddid yr ychydig lysieuaeth, a'r creigiau crinllyd gan gaenen denau o eira. Daeth y gauaf i fewn ar unwaith yn dra oerlym, ni welid y môr yn ymgyfodi ac yn ymgynhyrfu mwyach, y rhewfryniau a'r rhew-faesydd a symudent yn fwyfwy araf; ac o'r diwedd yr oedd daear a môr yn ymddangos megys un,—yr oedd mis o nôs wedi dyfod, ac ni welid yr haul mwyach.

Cyffroid y cŵn yn awr, y rhai a borthasid yn dda trwy yr haf; a chan gynted ag yr oedd y môr wedi rhewi yn ddigon caled i'w cynnal, cychwynai y fintai. Amcan Sakalar oedd gwneyd ei orcu i gyflymu mewn llinell unionsyth; ac yn dra ffodus iddo i hyny, yr oedd y rhew yn annghyffredin o lym, a'r iâ yn dewach, a chaletach na'r flwyddyn o'r blaen. Ni ddygwyddodd un ddamwain iddynt dros rai dyddiau. Ar y cyntaf, nid oeddynt yn myned yn yr un cyfeiriad yn gymhwys ag y daethent, gan eu bod yn ymgadw yn fwy dwyreiniol; ond, yn fuan canfuant olion eu hymdaith y gauaf blaenorol, yr hyn a brofai fod yr holl wastadedd o rew wedi ei yru ymaith haner can milldir o leiaf yn ystod y dadmeriad. Dyma ydoedd eglurhad Sakalar; ond mynai dynion Kolimsk nad oeddynt yn myned mewn cyfeiriad cyfaddas; ac aeth yn ddadl rhyngddynt, a hyny mor bell ag i fygwth rhwygo y fintai. Ond dywedai Ifan yn benderfynol, na thalai ef i neb a adawai dywysiad Sakalar, a'r tri dyn a ufuddhasant.

Erbyn hyn yr oedd eu ffordd yn arw ac anhawdd eto, y tanwydd yn myned yn brin, y cŵn yn difa y pŷsg yn gyflym, a dim ond oddeutu haner eu taith dros y cefnfor wedi ei chwblhau eto. Ond, ymwthient yn mlaen âg egni angerddol, a phawb yn edrych am y craffaf am ryw helwriaeth; ond ni ddaeth dim ond un llwynog yn eu ffordd. Ni ddywedai neb air; ond gyrai pob un ei wedd mewn dystawrwydd pruddaidd, gan fod pawb yn gorfod byw ar brinder ymborth, ac yn teimlo yn newynog. Yr oeddynt yn eistedd ar yr hyn ydoedd iddynt hwy yn fwy ei werth nâg aur; ac eto, ni feddent angenrheidiau cynhaliaeth. Gyrid y cŵn bob dydd hyd eithaf eu nerth; ond yr oedd cymaint o le wedi ei gymeryd i fynu gan yr ifori, fel nad oedd nag ymborth na thanwydd wedi ei adael o'r diwedd. Ni wyddai neb pa mor bell oeddynt o'r lan, ac ymddangosai eu sefyllfa yn anobeithiol. Sibrydid hyd yn nod am ladd rhai o'r cŵn, ac yr oedd beiaw uchel ar Sakalar ac Ifan am eu trachwant, yr hyn a ddygasai y fintai i'r fath gyfyngderau.

"Gwelwch!" medd yr hen heliwr yn ddisymwth, a gwên foddhäol ar ei wyneb, gan estyn ei law tu a'r dehau.

Edrychai yr holl fintai yn awchus yn y cyfeiriad, a gwelent golofn o fwg yn ymddyrchafu, heb fod yn neppell; gan ymdroelli megys amdorchau duon yn yr awyr, ac yna ddiflanu yn niwl teneu yn y ffurfafen. Dyma ydoedd yr arwydd ar yr hwn y cyttunasid â'r Tchouktchasiaid, y rhai oeddynt i wersyllu lle yr oedd digonedd o danwydd, a'u harwain yn y cyfeiriad cywir trwy dân-arwydd parhaus.

Dyrchefid pob llaw, i annos y cŵn tu a'r pwynt hwnw; a'r creaduriaid yn flinedig a newynog, ni thynent yr ysledau ond yn anfoddawg. Pa fodd bynag, arferid pob moddion i'w cymhell rhagddynt; ac o'r diwedd, o ben bryn o iâ, canfyddent y lan, a gwelent fflamiad y tân. Yr oedd y gwynt tu ag attynt, a'r awyrgylch yn drymaidd; a'r cŵn a aroglent y gwersyll o draw, ac a ymegnïasant i dynu yn mlaen; a'r anturiaethwyr a ymgadwent yn barod i neidio oddiar eu cerbydau os y dygwyddai iddynt ddymchwelyd. Ond yr oedd ewyllys y cŵn, druain, yn fwy na'u gallu, a syrthient i lawr yn agos i fythod y Tchouktchasiaid, gan ddyheu yn lluddedig.

Yr oedd eu cyfeillion yn ffyddlawn i'w hymrwymiad, a dodasant ymborth o'u blaen, o'r hwn yr oedd dyn ac anifail yn sefyll yn yr angen mwyaf, ac o'r hwn y cyfranogai y cŵn a'r dynion yn awchus; ac yna aethant i orphwyso. Yr oedd y Tchouktchasiaid wedi dyfod trwy eu mordaith yn hynod o lwyddianus a chyflym; ac wedi cael hamdden i gasglu ystôr dda o bysgod. Rhanasant y rhai hyn yn ewyllysgar rhwng Ifan â'i fintai; a mawr eu boddhad pan y gadawodd Ifan ei holl ystôr o rum, a ffwgws iddynt hwy, yn nghyda rhan o'i *dea*. Treulid dau ddiwrnod mewn cyfnewid cymmwynasau, a gorphwysdra, ac er rhoddi i'r cwn adferiad o'u lludded: ond ni ellid hebgor ychwaneg o amser. Yr oedd llawer o ddyddiau o'u blaen eto, a rhy brin yn ddïau oedd yr arlwy ar gyfer yr amser. Yr ydoedd y Tchouktchasiaid hwythau wedi bod oddi cartref weithian bedair blynedd yn eu gwib-deithiau, ac yn awyddus am ddychwelyd i'w gwlad eu hunain ac at eu cyfeillion unwaith drachefn. Yr oeddynt y teithwyr mwyaf, efallai, o lwyth nodedig am ei allu ymsymmudol. Ac felly, wedi datganiadau gwresog o barch a chyfeillgarwch o bob tu, y ddwy fintai a ymwahanasant—gwŷr y dwyrain a gyfeiriasant ar draed tua Chyfyng-for Behring.

### VIII.—Y DAITH ADREF.

Dan anfanteision mawrion y parottoai Sakalar, Ifan, a'u cyfeillion, ar gyfer y rhan olaf o'u

taith. Yr oedd eu harlwyon yn dra phrin, a'u hunig obaith am allu chwanegu at eu hystôr, ydoedd ar lan yr afon Vchivaya, yr hon gan ei bod yn llifeirio yn dra chyflym mewn manau, a allasai fod heb rewi drosodd. Penderfynai Sakalar a'i gyfeillion gyfeirio mewn llinell uniawn. Yr oedd yn rhaid iddynt guddio rhan o'r ifori, a'i adael, i'w gyrchu ar adeg arall; ond, gan fod eu hystôr o arlwyon mor fach, yr oeddynt yn alluog i gymeryd y rhan fwyaf o hono. Wedi peth dadl, penderfynasant gyfeirio yn gymhwys at yr Afon Vchivaya; ac oddiyno i Nijuei-Kolimsk. Yr oedd y ffordd o'r fath anhawddaf, ac mewn rhan, yn anadnabyddus; ond yr oedd yn rhaid iddynt fyned rhagddynt mewn cyfeiriad mor uniawn ag yr oedd yn bossibl. Amser oedd y gelyn mawr oedd ganddynt i ymryson ag ef, am nad oedd ganddynt arlwyon namyn dros yspaid byr yn unig.

Yr oedd y wlad yn ddigon gwastad ar y cyntaf, a'r cŵn, wedi eu gorphwysfa, yn teithio yn gyflym. Erbyn y nos yr oeddynt wedi cyrhaedd cwr ardal fryniawg, tra y gallent weled mynyddoedd lled uchel yn y pellder. Yn ol cynllun ar yr hwn y penderfynasid ar y cyntaf, dodid y dynion o'r dechreu ar ddognau bychain o ymborth, tra y rhoddid cymaint o fwyd i'r cŵn ar a ellid yn rhesymol. Tynid y babell i lawr ar doriad y wawr; a gyrid y cŵn ger glan afon fechan oedd wedi rhewi drosti; yn wir, wedi myned ychydig ffordd; fe'i cymerid fel y llwybr esmwythaf. Ond yn mhen tua deuddeng milldir hwy a'u cawsant eu hunain mewn ceunant cyfyng, rhwng dau fryn, wrth droed yr hyn a fuasai unwaith yn rhaiadr ewynol, ond ydoedd wedi rhewi yn galed yn bresenol. Yr oedd yn angenrheidiol troi yn ol am rai milldiroedd, a chael i'r tir unwaith eto: a'r unig lwybr a ganfyddid yn ymarferol yn awr, ydoedd gyda godreu rhyw greigiau lled serth; ond yr oedd y llwybr yn myned yn gulach, gulach, hyd onid oedd y cŵn yn eu llusgo ar hyd ymyl diphwys ofnadwy, dim mwy na phedair troedfedd o led. Disgynai pob un, gan dywys y cŵn, gan y buasai un cam gwag yn angeuol yn y fan. Ond yn ffodus, ni ddaeth y llwybr yn gyfyngach, ac mewn un man ymledai allan, a ffurfiai fath o geule. Yma deuai awel gref arnynt, bron yn ddigon cref i'w chwythu oddiar eu traed, yr hon a'i hattaliai i fyned rhagddynt; ac ar y llanerch noeth-lom hono, dan gorph ysgwyddawg o graig, heb dân, y gwersyllent dros y nos hono. Ymwasgai y dynion a'r cŵn at eu gilydd er cynesrwydd, a chiniawsant oll ar bysgod amrwd a rhewedig. Pa fodd bynag cawsant ychydig oriau o gwsg dan yr amgylchiadau hyn; ac yna, wedi lliniaru o'r dymhestl, hwy a aethant rhagddynt i'w taith. Cyrhaeddid y disgyniad yn fuan, ac arweiniai i wastadedd eang heb na choeden na pherth arno. Yr oedd rhês o fryniau gorchuddiedig gan eira o'u blaen, a thrwy gornant gul rhwng dau fynydd y gorweddai yr unig lwybr tramwyadwy o'u blaen: ond llawenychid eu calonau oll gan yr olwg ar ychydig ddefaid Siberiaidd a elwir *argali*, ar lethr bryn. Y creaduriaid hyn yw yr unig helwriaeth auafaidd, heblaw eirth, a bleiddiau. Gadawid Kolina gyd a'r cŵn, ac elai y lleill allan am helwriaeth o'r defaid a grafent yn yr eira tenau am ychydig fwsogl, a llysiau haner rhewedig. Cymerid pob gocheliad i ddynesu attynt yn erbyn y gwynt; ac o'r diwedd, cawod o ergydion a'u gyrai i redeg tua phenau y mynyddoedd, gan adael tair ar ôl. Ond canfyddai Ifan bod un arall wedi ei harcholli, ac ymlidiai ar ei hôl. Esgynai y ddafad i ben y bryn, ac yna safai; ond, wrth weled dyn yn cyflymu ar ei hol, tröai i ffoi i waered ar yr ochr arall; a phrysurai Ifan ar ei hol. Yr ydoedd y ddisgynfa yn serth; ond ni's gwelai yr heliwr namyn yr *argali*, ac ymsaethai yn mlaen. Ymlithrai yn hytrach na rhedeg, gyda chyflymdra aruthrol, ac elai heibio i'r ddafad, gan geisio ymattal, yn rhŷ ddiweddar. Yr ydoedd agendor ofnadwy o'i flaen, a'i lygaid a gawsant gip-olwg ar ddyffryn dwfn yn mhell. Yna, ni chaufyddai ddim mwyach hyd oni chafodd ei hun yn gorwedd yn llonydd. Efe a ymsuddai i glawdd dwfn o eira, wedi ei ffurfio gan graig ysgwyddawg, ar fin diphwys; ac felly ei cedwid rhag marwolaeth ddisyfyd. Wedi ei lenwi â diolchgarwch dwfn, ymlusgai Ifan yn ochelgar i fynu llethr y bryn, er nad heb ei helwriaeth, ac ail ymunai â'i gymdeithion.

Yr oedd anhawsderau mawrion ar y ffordd, yr hon oedd yn arw ac anwastad,—weithiau yn galed, a thrachefn yn feddal. Annyben y teithient dros y tri diwrnod nesaf, ac ar yr un pryd yr oedd eu harlwyon yn tynu tu a'r pen; a chanddynt hwy ddeuddeng niwrnod o leiaf o'u blaen eto. Cyttunent oll eu bod yn awr mewn cyflwr mwy cyfyng nag y buant ynddo eto. Y prydnhawn y ciniawent ar eu pryd olaf o gig dafad, a physgod, yr oeddynt wrth droed bryn uchel, yr hwn y penderfynasant ei ddringo tra yr oedd eu nerth yn aros; cymhellid y cŵn i fynu yr esgynfa serth, ac wedi dwy awr o lafur caled, cyrhaeddasant ei grib. Gwastattir uchel ydoedd, noethlwm a thruenus, ac yr oedd y gwynt yn rhŷ lymdost i wersyllu o honynt arno; felly hwy a ymdrechasant i fyned rhagddynt, ac a wersyllasant i waered ychydig ar ei lethrau.

Boreu dranoeth, nid oedd ganddynt ddim ymborth i'r cŵn, tra nad oedd gan y dynion ddim ychwaith ond traflynciadau o *dea* poeth. Ond, yr oedd yn anmhossibl aros, a phrysurasant yn mlaen, wedi dyfod i'r penderfyniad oni thröai rhywbeth allan erbyn boreu dranoeth, y

byddai yn rhaid iddynt ladd dau neu dri o'r cŵn, er achub y lleill. Ychydig o dir yr aethant drosto, gyd a'r cŵn a'r dynion yn newynog; ac yr oedd yn dda gan y naill a'r llall gael gorphwys yn agos i ychydig larwydd sychion. Edrychai y cŵn a'r dynion yn ddrwg dybus y naill ar y llall. Buasai y bwystfilod, o ba rai yr oedd pedwar a thriugain, yn terfynu yr helynt yn fuan, oni buasai eu bod wedi eu dysgu i ofni dŷn;—ond dyna lle y gorweddent, yn lluddedig a newynog,—i gyfodi yn ddisymwth gyda rhyw udiad ofnadwy; canys wele arth ar eu gwarthaf. Taniai Sakalar; ac yna rhuthrai y cŵn yn mlaen yn wancus a ffyrnig; a gwaeth nag ofer,—peryglus a fuasai i'r rhan ddynol o'r fintai geisio rhan o'r ffawd dda hon; digon oedd, bod y cŵn wedi cael rhywbeth i liniaru eu newyn.

Er hyny gwyddai Sakalar na allasai ei gymdeithion lluddedig a newynog symud cam yn mlaen dranoeth, oni chaent ryw beth heblaw *tea* y noswaith hono at eu cynnaliaeth. Gan hyny efe a dorodd rai o'r llarwydd (*larches*) ieuangaf, ac a gymerodd ymaith y rhisgl allanol garw: yna piliodd bob mymryn o'r rhisgl meddal oddiar y pren; ac wedi ei dori yn ddarnau mân efe a'u bwriodd i'r crochan, oedd eisoes yn llawn o ddwfr berwedig. Yr ydoedd y swm yn fawr; a gwnelai ryw sylwedd lled dewychus. Ymgrynhoai yr holl fintai o amgylch hwn, yn awchus am y fynyd i gael cyfranogi o hono. Ond, yr oedd Sakalar yn bwyllog a threfnus hyd yn nod yn yr awr ofnadwy hono; ac efe a gymerth lwy, gan ysgumio wyneb y crochan yn ofalus, er hel ymaith yr ystôr a gyfodai i'r wyneb; yna yn raddol, y rhisgl a doddai ymaith, ac yr oedd y crochan yn llawn o fath o glud tew. Bwyttasant o hono oll yn llawen, a chawsant ei fod yn flasus, ac yn faethlawn. Teimlent eu bod wedi eu digoni yn gysurus, a dâ oedd ganddynt ganfod bod y cŵn hefyd yn dychwelyd i'r gwersyll wedi eu digoni, yr hyn ydoedd yn wir ddymunol iddynt dan yr amgylchiadau.

Yn y boreu, wedi prŷd arall o'r cawl rhisgl llarwydd, ac ychydig o *dea*, aeth yr anturiaethwyr yn mlaen ar eu taith drachefn. Yr oeddynt weithian mewn anialwch noethlwm, sŷch, ac ofnadwy, lle nad oedd pren na phrysgwydden yn weledig, nac unrhyw fryn yn dyrchu ei ben, ond gwastadedd annherfynol yn ymledu ar bob llaw. Y noswaith hono, yswatiai yr holl fintai yn eu pabell heb ddim tân, a dim ond newyn eto yn ymmythu yn eu hwynebau, heb neb yn gwybod pa bryd y deuai terfyn ar y cyflwr poenus hwn. Coleddid meddyliau difrifol yn bresenol am adael eu cyfoeth yn y fro anial hon: ond, gan na wasgai neb y peth yn galed, dodent y cŵn yn y tresi o flaen yr ysledau y boreu dranoeth eto; a gyrasant hwy yn mlaen drachefn. Ond yr oedd dyn ac anifail bron a cholli eu hanadl, fel na theithiwyd oddiar ddeng milldir y diwrnod hwnw; ar derfyn yr hwn y daethant at afon, ar lenydd yr hon yr ydoedd ychydig o goed. Gan ei bod yn llydan, a'i rhediad yn chwyrn, nid oedd wedi rhewi, ac yr oedd gobaith ganddynt eto. Tynwyd y rhwyd bysgotta o'r yslêd, ac fe'i cymerwyd i'r dwfr; a rhwymid hi o lan i lan mewn lle cûl, lle ei gadawyd, gan nad oedd o un defnydd edrych iddi hyd y boreu, am mai yn y nôs yn unig y bydd y pŷsg yn dyfod allan.

Nid oedd yr un dyn o'r fintai yn meddu cyflawn lywodraeth ar ei synwyrau, tra y gorweddai y cŵn ar yr eira, gan ddyheu, a'u tafodau allan, a'u llygaid yn dysglaerio gan ffrochwylltedd ffyrnig. Yr oedd y coed ar y glenydd yn fawrion a sychion; ac nid oedd yr un mymryn o risgl meddal arnynt. Yr unig beth a allent wneyd, oedd yfed traflynciadau mawrion o *dea;* ac ymdrechu i gael cwsg. Rhoddai Sakalar yr esampl iddynt; ac yna gwŷr Kolimsk, i'r rhai nid oedd y cyfryw ddrychfeydd yn newydd, a wnaethant yn ol ei gynghor: ond Ifan a gerddai yn ol a blaen o flaen y babell. Gwnelsid tân mawr, yr hwn a borthid yn helaeth â choed glan yr afon, a ffaglai yn uchel, gan wneyd yr holl ddrychfa yn amlwg. Edrychai Ifan yn syn ar bob peth o amgylch; ond ni's gwelai yr afon dywell a llifeiriol,—ni's gwelai y gwastadedd noethlwm o eira,—ni thremiai ei lygaid ar y babell a'r gwersyll-dân; un peth oedd yn llenwi ei holl feddwl. Efe a'u dygasai hwynt i'r cyfyngder hwnw, ac ar ei ben ef y gorweddai yr holl drueni a ddyoddefid gan ddyn ac anifail; a gwaeth na'r cwbl, gan y ffyddlon Kolina.

Dyna lle yr eisteddai hithau hefyd, wedi goblygu ei dillad cynes am dani, a'i llygaid yn sefydlog ar y boncyffion cynneuedig. Am ba beth yr oedd hi yn meddwl? Pa beth bynag a lanwai ei meddwl fe'i gyrid ymaith yn fuan trwy gyfarchiad disymwth Ifan. "Kolina," eb efe, mewn goslef a wnelid yn ddwysach na chyffredin trwy yr ansawdd meddwl i'r hyn eu dygasid oll trwy newyn;—"a elli di byth faddeu i mi?"

"Pa beth?" medd yr eneth ieuanc, yn dyner.

"Fy mod i wedi dy ddwyn yma i farw, yn mhell o fryniau dy wlad enedigol."

"Nid yw Kolina yn gofalu nemawr am dani ei hunan," medd y wyryf o Yakouta, gan gyfodi, a siarad ychydig yn wyllt, efallai; "cafled ei thad ddianc, ac y mae hi yn foddlawn i orwedd yn agos i feddrodau yr hen bobl ar ffiniau y môr rhewlyd."

"Ond yr oedd Ifan yn gobeithio cael gweled llawer diwrnod claer a dedwydd i Kolina; canys mynasai Ifan wneyd ei thâd yn gyfoethog, a

buasai Kolina y fenyw ddi brïod gyfoethoccaf yn holl wastadedd Miouré!"

"A allasai cyfoeth wneyd Kolina yn ddedwydd?" ebe hi yn bruddaidd.

"Eneth ieuanc o Yakouta, gwrando arnaf! Bydded Ifan fyw neu farw yr awr hon; ynfyd yw Ifan. Efe a adawodd gartref a chysur i geisio golud, i enill dedwyddwch; ond pe buasai ganddo lygaid, efe a arhosasai yn Miouré. Yno, efe a welodd eneth, fywiog fel y nef-dân yn y gogledd, dda, garedig, a thyner; ac yr oedd hi yn hen gyfeilles, a gallai ei bod yn caru Ifan; ond yr oedd y gŵr o Yakotsk yn ddall; ac efe a'i hysbysodd ei fod wedi ei rwydo gan weddw hunanol, a'r canlyniad fu, na feddyliodd y wyryf o Yakouta am Ifan mwyach, ond megys brawd!"

"Pa beth yw meddwl Ifan?" medd Kolina, yn grynedig gan deimlad.

"Y mae Ifan wedi hir feddwl, pan y daeth i annedd Sakalar, am roddi ei gyfoeth wrth ei draed; ac attolygu ar ei hen gyfaill i roddi ei eneth iddo ef; ond y mae Ifan yn ofni yn awr y gall efe farw, a dymunai wybod pa beth a fuasai atteb Kolina?"

"Ond Marïa Vorotinska," medd yr eneth, yr hon a ymddangosai fel un yn breuddwydio.

"Y mae wedi ei hannghofio er ys talm. Pa fodd y gallwn beidio caru fy hen gyd chwareuyddes a'm cyfeilles! Kolina—Kolina, gwrandaw ar Ifan! Annghofia iddo garu y weddw o Yakoutsk, ac erys Ifan yn ngwastadedd Vchivaya i farw."

"Y mae Kolina yn falch iawn," sisialai yr eneth, gan eistedd ar foncyff yn agos i'r tân, a siarad mewn tôn isel, "ac y mae Kolina yn meddwl eto fod cyfaill ei thad wedi ei annghofio ei hun. Ond, onid ydyw yn orphwyllog, os nad ydyw dyoddefiadau y daith wedi peri iddo ddywedyd yr hyn nad yw, byddai Kolina yn dra hapus."

"Bydd yn ddiammwys, eneth o Miouré,—wyryf o lwyth Yakouta! ac na fydded i ti gellwair â chalon dyn. A all Kolina gymeryd Ifan yn ŵr prïod iddi?"

Attebiad rhydd a chadarnhaol, a roddes gyflawn foddlonrwydd i'r masnachwr Yakoutskasaidd; ac yna dylynodd amryw oriau o'r ymddiddanion a'r eglurhadau hyfryd hyny nad oes diwedd iddynt rhwng cariadon ieuainc, pan fyddont newydd wneyd yr addefiad cyntaf o'u cydserch i'w gilydd. Yr oeddynt wedi celu cymaint hyd yma, fel yr oedd llawer i'w ddywedyd; ac yr oedd gan Ifan a Kolina, y rhai a fuasent yn cyd fyw am yn agos i dair blynedd, ac attalfa rhwng eu serchawgrwydd dwfn ond celedig, lawer iawn i'w ddywedyd ar hyn wedi tori yr argae unwaith. Dechreuasai Ifan ganfod cyfnewidiad yn ei deimladau o'r awr hono pan ymroddasai merch Sakalar ei ddilyn o'i gwirfodd; ond yn Ogof Siberia Newydd, y llwyr enillasid ei galon ef.

Mor fyr a dedwydd ydoedd yr amser, fel y treulid adeg gorphwys heb un meddwl am gwsg. Pa fodd bynag, cyffrowyd hwynt yn ddisymwth i ystyriaeth o'u sefyllfa, a chan adael eu cymdeithion lluddedig yn cysgu eto, hwy a aethant at fin y dwfr, yn amheus ac ofnus. Yr oedd bywyd weithian yn ddwywaith mwy gwerthfawr i bob un o honynt, a'u dychymyg a ddarluniai rwyd wag yn dyfod i'r lan, fel terfyniad pob gobaith iddynt. Ond, yn drom, ac yn araf, y deuai y rhwyd i'r lan. Yr ydoedd yn llawn o bysgod. Yr oeddynt ar lan yr Vchivaya gyfoethog. Tynid mwy na thri chant o bysgod, bychain a mawrion, i'r lan; ac yna hwy a fwriasant y rhwyd eilwaith.

"I fynu, ddyn ac anifail!" llefai Ifan, wedi dethol rhyw ddau ddwsin o'r rhai goreu, a bwrw y gweddill i'r cŵn.

Y cŵn druain, yn flinedig a newynog, a ruthrasant yn awchus ar yr ymborth a roddid iddynt, tra yr oedd Sakalar, a dynion Kolimsk, bron yn methu credu eu synhwyrau eu hunain. Yr oedd gofyn dioed ar y marwydos, ac yn fuan iawn yr oedd yr holl fintai yn gwledda ar bryd ysplenydd o *dea*, a physg briwliedig. Prin y credid fi pe dywedwn pa faint a fwyttawyd: ac yn mhen yr awr yr oedd cyfnewidiad amlwg ar bob un o honynt, yn enwedig y cariadon, y rhai a ymddangosent yn fwy bywiog a siriol na neb yn y fintai, er nad oeddynt wedi cael cwsg i'w llygaid trwy gydol y nôs. Penderfynwyd gwersyllu pedair awr ar hugain o leiaf yn hwy yn y llanerch hono; a dywedai dynion Kolimsk, gan mai yr Vchivaya raid fod yr afon hono, y gallent dynu y rhwyd ar hyd y dydd, gan fod yr afon yn ddofn, ei dyfroedd yn gynesach nag eraill, a lluosowgrwydd ei physgod bron yn annghredadwy. Gan hyny hwy a aethant i waered at lan yr afon; ac yna y ddedwydd Kolina a roddai rydd arllwysiad i lawenydd ei chalon, gan ddatganu un o ganeuon ei gwlad enedigol, a rhoddi amlygiadau eraill o'i llawenydd a'i hyfrydwch, yn ol ei haddysg foreuol, nes peri syndod i'w thâd Sakalar. Ond, pan glybu ef ei fod yntau wedi cael mab yn ystod y nos ofnadwy hono, bu agos iddo yntau golli ei synhwyrau. Yr oedd yr hen ŵr yn caru Ifan bron cymaint a'i blentyn ei hun, a phan welsai y gŵr ieuanc yn ei annedd ar ei hyntiau helwriaethol, efe a ddychymygasai am ryw beth cyffelyb i'r hyn oedd yn awr wedi cymeryd lle; ond, yr oedd cyffesiadau Ifan ar ei ymweliad diweddaf â'r Miouré, wedi ymlid pob meddyliau o'r fath ymaith.

"A wyt ti yn ddifrifol Ifan?" medd efe wedi peth yspeidiad.

"Yn ddifrifol!" llefai Ifan, gan chwerthin; yr ydwyf yn coelio y caiff gwyr ieuainc Mioure weled fy mod yn ddifrifol, os y ceisiant gwestiyno fy hawl i Kolina."

Gwenai Kolina, ac ymddangosai yn ddedwydd; a'r hen heliwr a fendithiai ei blant yn galonawg, gan chwanegu fod dymuniadau penaf ac anwylaf ei galon yn debyg i fod ar gael eu cwblhau yn awr.

Cyflawnwyd daroganau gwyr Kolimsk; canys rhoddai yr afon iddynt gynifer o bysgod ag oeddynt yn angenrheidiol er eu cynnaliaeth ar eu taith adref; a chan fod Sakalar yn adwaen ei ffordd yn awr, nid oedd llawer o ofn am y dyfodol. Pentyrwyd ystôr ddigonol ar yr yslêdau, porthid y cŵn yn ddi brinder am ddau ddiwrnod; ac yna prysurasant tua rhan uwch o'r afon, lle, gan ei bod yn lledan, ac yn fâs, y dysgwylient ei chael wedi rhewi drosti; ac felly y cawsant ei bod, a hwy a acthant yn mlaen; ac wedi llawer o ludded, ac ymdroi peth, cyrhaeddasant Kolimsk, er syndod mawr i'r holl drigolion, y rhai a benderfynasent er's talm eu bod wedi darfod am danynt. A mawr fu y llawenydd ar yr achlysur. Cyfeillion y tri wŷr o Kolimsk a wnaethant wleddoedd mawrion, yn y rhai yr oedd y *rum*, y ffwgws, a'r *tea*, y rhai a adawsid yn y lle hwnw fel taledigaeth am eu siwrnai, yn cael arbenigrwydd nodedig. Yna, gan fod yn angenrheidiol aros yma dros ryw yspaid, tra y cyrchid yr ifori a ystôrasid yn agos i'r môr, yma, prïodwyd Ifan a Kolina. Nid ymddangosai bod yr un o honynt yn sylweddoli yr amgylchiad, hyd yn nod pan wedi eu cyssylltu yn ddyogel gan yr eglwys Rwssiaidd, gan mor ddisymwth ac annysgwyliadwy i bob un o'r ddau y daethai ar eu gwarthaf. Ond fe'u prïodwyd mewn gwirionedd; ac yr oedd Kolina yn wraig lawen a hapus. Y corph enfawr o ifori a ddygid i Kolimsk a dynodd sylw boneddwr urddasol oedd yn alltud yno, yr hwn a dynodd i fynu adroddiad yn enw Ifan, ac a'i parottodd i'w anfon i'r *Czar Gwyn*, fel y gelwir yr amherawdr yn y wlad hon.

Pan ddaeth yr haf, y pâr ieuanc, yn nghyda Sakalar, a theithlu (*caravan*) o fasnachwyr, a gychwynasant am Yakoutsk, o ba rai, Ifan ydoedd y mwyaf pwysig a chyfoethog o lawer. Wedi ymdroi un diwrnod yn Mioure, hwy a aethant yn mlaen i'r dref, gan wneyd eu mynediad gorfoleddus i fewn yn mis Medi. Cafodd Ifan fod Marïa Vorotinska yn wraig, ac yn fam; ac ni archollid nemawr ar ei feddwl gan ei ffalsder. Synid y weddw gynt gan ddychweliad Ifan, ac yn enwedig gan ei gyfoeth mawr o ifori; ond, derbyniai ei wraig ef gyda moesgarwch, wedi ei dymheru i fesur gan yr ymsynied o'i rhagoriaeth ei hunan ar un a ystyriai yn anwaraidd, fel y darluniai hi Kolina wrth ei chyfeillion yn gyfrinachol. Ond yr oedd Kolina mor llednais, mor ddillyn, mor dda, mor siriol, mor ddedwydd, fel y cafodd ei chylchynu gan gyfeillesau yn y fan, a daeth y ddwy foneddiges yn arweinyddesau pleidiau gwrthymgeisiol dullweddau.

Parhaodd felly hyd y flwyddyn ganlynol, pan ddygai llys-genadwr o'r brif ddinas, lythyr i Ifan oddiwrth yr amherawdr ei hunan, yn dïolch iddo am ei adroddiad, ac yn dwyn anrheg werthfawr iddo, a'i bennodiad i'r swydd o brif ynad dinas Yakoutsk. Tröai hyn y glorian o'r naill du yn llwyr; ac ymgrymai Marïa ger bron Kolina. Ond yr oedd Kolina yn mhell o fod yn goegfalch; a pharhaodd yn boblogaidd yn wastadol. Derbyniodd Ifan ffafr ei bennadur yn ddïolchgar, a thrwy ymroddiad diwyd, dysgodd yn fuan i fod yn ynad defnyddiol. Parhaodd yn ŵr tirion, yn dâd caredig, ac yn fab hawddgar, gan beri i galon yr hen Sakalar lawenychu. Ni fu byth yn edifar ganddo ymgymeryd â'r daith: eithr cydnabyddai yn wastadol mai iddi yr oedd efe yn ddyledus am gyfoeth, dedwyddwch, sefyllfa uchel mewn cymdeithas, a gwraig ragorol. Yn mhen amryw flyneddoedd ar ol hyn, bu llawenydd mawr yn Yakoutsk, ar brïodas mab Marïa, â merch Ifan, ac o'r dechreu i'r diwedd, ni bu achos i'r un o'r pleidiau i ymofidio o herwydd yr hynt beryglus i chwilio am y MWNGLAWDD IFORI.

Er hysbysrwydd i'r darllenydd anwyddonawl, dichon fod yn angenrheidiol sylwi, fod yr ifori y crybwyllir am dano uchod i'w gael o ysgithrddaint y mammoth, neu gawrfil ffossylyddol y daiaregwyr. Y mae gweddillion y pedwar carnol hwn i'w canfod dros yr holl arddrych ogleddol, o radd 40 i radd 75 o ledred; ond yn helaethaf yn y rhandir sydd yn gorwedd rhwng mynyddoedd Canol-barth Asia, â glenydd ac ynysoedd y Môr Rhewlyd. Y maent mor helaeth yn y wlad hon, fel y mae yr ysgithr-ddannedd yn gwneyd i fyny nwydd bwysig mewn masnach er's mwy na chan mlynedd, gan gyflenwi y cerfiwr a'r chwelwr, (*turner,*) â'r rhan fwyaf o'r ifori angenrheidiol arnynt yn eu galwedigaethau. Y mae y gweddillion yn gorwedd yn gladdedig yn y clai a'r marian trydeddol uchaf; a golchir y rhai hyn ymaith trwy lifeiriaint yr afonydd, a churiad tonau y môr, yn nghyd ag achosion difäol eraill, yn ystod meirioliad yr hâf yn fynych, gan adael yr esgyrn a'r ysgithrddaint, ac weithiau esgyrnegau cyfain, yn noethion, ond mewn cyflwr o gadwraeth rhagorol. Yr enghraifft fwyaf perffaith a ddarganfuwyd hyd yma, ac oddiwrth efrydu pa un y galluogwyd y milofydd i gyrhaedd adnabyddiaeth gywir o ffurfiad ac arferion y mammoth,

ydyw yr un a ddarganfuwyd gan bysgodwr Tungusiaidd, yn agos i safn yr afon Lena, yn hâf y flwyddyn 1799. Fel yr oedd efe yn arfer casglu ysgithr-ddannedd yn mysg malurion y clogwyni marianaidd, (canys yn lled uchel yn ysgythredd y clogwyni, a glenydd yr afon, y canfyddir y gweddillion), efe a sylwai ar ryw grynswth dyeithr, afluniaidd, yn ysgwyddo allan o dorlan rewlyd, tua haner cant, neu dri ugain troedfedd goruwch yr afon; yn ystod meirioliad yr haf canlynol efe a ganfyddai yr un gwrthddrych, megys pe y buasai wedi ymryddhau mwy allan o'r rhew; ac yn y flwyddyn 1801, efe a allai ganfod yn eglur, ysgithr-ddant, a thenewyn rhyw filyn enfawr; ond, yn y flwyddyn 1803, drwy i feirioliad cynnarach a chryfach gymeryd lle, daeth yr ysgerbwd anferth yn hollol rydd, a chwympodd ar y draethell oedd goris iddo. Yn ngwanwyn y flwyddyn ganlynol, y pysgodwr a dorodd ymaith yr ysgithr-ddaint, y rhai a werthodd ef am 50 *ruble*, (7*p*. 10*s*.); ac yn mhen dwy flynedd wedi hyny ymwelwyd a'r llanerch gan ein cydwladwr, Mr. Adams, yr hwn a roddai yr adroddiad canlynol am yr olygfa ryfeddol:—"Y pryd hwn gwelais y mammoth, yn yr un fan eto; ond wedi ei anafu yn fawr. Boddlonasid y darganfyddwr â'r elw a wnelsai ar yr ysgithr-ddannedd; ac Yakoutskiaid y gymmydogaeth a dorasent ymaith y cnawd, â'r hwn y porthent eu cŵn; ac yn ystod y prinder, bwystfilod gwylltion, megys yr eirth gwynion, y bleiddiau, a'r llwynogod, a ymborthent arno hefyd; a gwelid ôl eu traed o'i amgylch. Yr oedd yr esgyrneg, (*skeleton*,) bron wedi ei lwyr ddynoethi o'r cnawd, yn aros yn gyfan, oddieithr un aelod blaen. Gorchuddid y pen â chroen sŷch; ac yr oedd swp o flew ar un o'r clustiau, yr hon oedd mewn cadwraeth ddâ. Cafodd yr holl ranau hyn eu niweidio o angenrheidrwydd, trwy eu trosglwyddiad y pellder o 7330 milldir, i'r amgueddfa amherodrol yn St. Petersburg, ond cafodd y llygaid eu cadw heb eu niweidio; a gellir canfod canwyll un o honynt eto. Gwrryw ydoedd y mammoth, a mwng hir ar y gwddf. Ni chadwyd y gynffon na'r duryn. Y croen, o'r hwn yr ydwyf yn meddu tair rhan o bedair, sydd o liw llwyd dywyll, ac wedi ei orchuddio â math o wlan cochliw, a blew, neu rawn du; ond, yr oedd lleithder y fan lle y buasai yn gorwedd cyhyd, wedi dystrywio y blew i ryw fesur. Yr oedd yr holl ysgerbwd, yr hwn y cynnullais ei esgyrn ar y llanerch, yn naw troedfedd a phedair modfedd o uchder, ac un droedfedd ar bymtheg a phedair modfedd o hŷd, heb gyfrif yr ysgithr-ddaint, y rhai a fesurent naw troedfedd a chwe modfedd ar hyd y camedd. Y pellder o wreiddyn yr ysgithr-ddaint hyd y blaen, ydyw tair troedfedd a saith modfedd. Pwysai y ddau ysgithr-ddant yn nghyd, dri chant a thriugain pwys Seis'nig; a'r pen yn unig, bedwar cant a phedwar pwys ar ddeg. Yr oedd y croen mor drwm, fel y gofynai ddeg o ddynion i'w gludo i'r lan; ac wedi ei symud oddiar y llanerch, casglwyd dros dri deg a chwech o bwysi o flew, a fathrasid gan yr eirth gwynion tra yn difa y cnawd." Wedi hyny, darganfyddwyd ysgerbydiau cawrfilod, (elephantiaid,) mewn cadwraeth, i raddau mwy neu lai; a gweddillion y trwyngornfil, (*rhinoceros*), y bronddeintfil, (*mastodon*), a milod croendew cyfathrachol eraill—y mammoth yn fwyaf helaeth yn yr hen fŷd, a'r bronddeintfil yn y newydd. Yn mhob ennghraifft, y mae y milod hyn yn gwahaniaethu oddiwrth y rhywogaethau sydd mewn bod yn awr; o faintioli mwy, ac a barnu oddiwrth eu gwisgoedd naturiol o wlan tew, sych-fodrwyol, a rhawn cryf, dros droedfedd o hyd, yr oeddynt yn gyfaddasedig i fyw, os nad mewn cymmydogaeth ogleddol, mewn un o dymheredd oernaws. Yn wir y mae genym brofion diamheuol o hinsawdd dynerach yr ardaloedd hyn yn yr amser gynt, yn narganfyddiad boncyffion o binwydd a bedw, lle nid oes lysieuaeth i'w ganfod weithian; ac yn mhellach, yn y ffaith, bod darnau o ddail pinwydd, brigau bedw, a phlanwydd gogleddol eraill, rhwng dannedd, ac o fewn cylla y creäduriaid hyn. Fel hyn meddwn brawf fod yr arddrych ogleddol yn meddu hinsawdd fwy tymherus tua diwedd y cyfnod trydeddol, a dechreu y cyfnod presenol; ei fod yn drigle creaduriaid croendew enfawr, y rhai ydynt wedi darfod weithian; bod dosraniad gwahanol mewn bod y pryd hyny ar fôr a thir; a bod y creaduriaid hyn wedi darfod am danynt ar ddosbarthiad newydd môr a thir, yn cael ei ddilyn hefyd gan lyfel berthynasol wahanol, gan adael eu gweddillion yn gladdedig yn y clai, a'r marian, a adawsid, lle dan ddylanwad gwrth-fraenol rhew tragywyddol o'r bron, y mae llaweroedd o honynt wedi eu cadw mor ddi lwgr a'r fynyd y cwympasant dan orlymder amgylchiadau allanol, nad oeddynt gymhwys mwyach i'w bodolaeth. Ceisiodd rhai brofi cyfaddasrwydd y creaduriaid hyn i ansoddau presenol yr arddrych ogleddol; ond y mae y fath dybiaeth mor ddi sail yn mhob golwg arni, fel mai gwastraff ar amser a gofod, a fyddai ceisio ei gwrthbrofi. Eu bod yn arfer ymfudo, yn ogleddol a deheuol, sydd fwy na thebyg, er yr haerwyd fod y gweddillion yn myned yn llai pa bellaf i'r gogledd eu canfyddir: ond y mae tybied fod dïadelloedd lluosog o'r cyfryw greaduriaid mawrion yn bod o gwbl yn yr ardaloedd hyn, a hyny am filoedd o flynedd-oedd, yn cynnwys rhag-dybiaeth o lysieuaeth wyddianol gordyfol; a'r radd o hinsawdd ang-

enrheidiol er ei gynnyrchu a'i feithrin. Crybwyllwyd fod y bronddeintfil a'r mammoth, yn ol ymddangosiad, wedi cyrhaedd eu hanterth tua diwedd y cyfnod trydeddol, ac y gallai fod rhai o honynt wedi byw hyd yn nod i'r cyfnod presenol; ond, yr hyn sydd yn fwyaf tebyg yw, mai dechreuad y cyflwr presenol ar bethau, oedd yr achos digyfrwng o'u difodiad, ac na fu cymaint ag un o honynt fyw i gyfoesi â dyn.

---

## BREUDDWYD ANARAWD HAEL.

Wrth droed mynydd uchel a chribog yn Ngogledd Cymru, safai gynt fwthyn prydferth yn gwynebu tua'r gorllewin. Treiglai ffrwd risialaidd heibio iddo, dan furmur a dawnsio ar ei thaith tua'r môr. O'i flaen ymledai gwastadedd eang a brâs, ar ba un y porai yr ychain a'r gwartheg, ac y chwareuai yr ŵyn yn mysg y deadelloedd. I'r deau gorweddai gardd ddestlus, a pherllan ehelaeth, yn llawn o bob amrywiaeth o flodau a ffrwythydd a ddichon ein hinsawdd ni dyfu ac aeddfedu; tra o'r tu cefn ymddyrchai y mynyddau tragwyddol tua'r nef fel cofgolofnau aruthrol o anfeidrol allu yr Hwn a'u gosododd ar eu sylfeini. Ni thywynodd yr haul erioed ar fangre hyfrytach, ac ni wasgarodd y lloer ei phelydrau euraidd dros olygfa fwy gogoneddus. Parchai hyd yn nod ystormydd y gauaf ei ddiddosrwydd; a charai tyner awelon yr haf oedi ar eu hynt i chwareu yn mysg dail y coed oedd o'i amgylch, a suo plygeingan i dawelwch paradwysaidd y lle.

Y bwthyn hwn oedd cartref Anarawd Hael. Efe a'i hadeiladodd, ei ddwylaw ef a'i haddurnodd; ac yma am fwy na deugain mlynedd y treuliasai ei ddyddiau, yn foddlon ei feddwl, yn ddedwydd ei galon, ac yn llwyddiannus ei amgylchiadau. Yn ystod yr holl amser hwn ni phallodd y tymmorau ddilyn eu gilydd mewn ufudd-dod i osodiad, ac yn unol ag addewid eu Trefnydd mawr; ni fethodd y cynhauaf; ni ymwelwyd ag ef gan haint, ac ni sychodd y ffrwd risialaidd gymaint ag unwaith. Parhäai gwraig ei ieuenctyd i'w sirioli a'i fendithio; ac ni chaed drwy yr holl fro hawddgarach llanc na'i fab ef, na llances fwy prydferth na'i ferch rinweddol.

Ond pwy all ddyogelu dedwyddwch daearol? Mewn un wythnos amddifadwyd Anarawd o'i holl gysuron.

Aeth ei briod un diwrnod i ymweled â chymydog a drigai tua milldir oddiwrthynt yn y cwm. Ar y ffordd adref cafodd anwyd, a dilynwyd hyn gan glefyd; ac oddiwrth natur ac arwyddion ei saldra gwelai Anarawd fod yn rhaid iddi farw. Cyn pen tridiau safai yr hen ŵr uwchben ei bedd agored, ar ba un yn ei ddirfawr ofid y syllai gyda llygaid lleithion, a chalon wrthryfelgar. "Cleddwch hi! cleddwch hi!" ebai ef—"cleddwch yr unig wraig a gerais erioed."

Dychwelodd ei fab a'i ferch o gladdedigaeth eu mam, yn lluddedig a chlaf. Anfonwyd am y meddyg, yr hwn, mewn amryfusedd, wrth barotoi y feddyginiaeth a fwriadai iddynt, a roddodd wenwyn yn y cymysgedd. Ni chanfuwyd hyn hyd nes yr oedd yn rhy ddiweddar, a gwelai Anarawd fod yn rhaid iddynt hwythau hefyd farw, canys y mae deddfau natur yn sefydlog, a gwenwyn yn farwol yn ei effeithiau. Claddodd hwynt mewn bedd llydan dwfn; ac yn ei drallod, ymddangosai fel pe bai wedi claddu ei reswm a'i grefydd yn yr un bedd. Tynai ei wallt gwŷn, melldithiai y dydd, a dymunai i'r lleuad droi yn waed. Uwchlaw y cwbl, cablai ei Dduw, a haerai fod y deddfau a osodasai, eu gyd o chwith, ac yn gwbl ddiamcan. Ewyllysiai fod y byd dan lywodraeth damwain; ond gan mai dymuniad ofer ydoedd hwn, ewyllysiai ar ol marw, fyned i fyd lle nad oedd deddfau sefydlog a digyfnewid. Dirmygai ddoethineb Duw yn llywodraethiad y byd hwn, gan ddatgan fod ei gynlluniau eu gyd yn weiniaid, ac yn waeth na diles, ac mai gwell o lawer fuasai bod heb yr un Duw.

Yr ail brydnawn ar ol cau y bedd ar ei ddau blentyn, eisteddai Anarawd yn ei barlwr bach clyd yn nghilfach grom-ffenestr a wynebai tua'r ardd. Ei fab a wnaethai y gadair freichiau ar ba un yr eisteddai, a dwylaw ei ferch a weithiasai y glustog esmwyth y gorphwysai arni. O'i flaen ymestynai gwlad brydferth wedi ei gorchuddio â gwyrddlesni, a'i britho yma a thraw ag amaethdai cysurus, a thros yr holl olygfa taflai y mynyddoedd mawrion yn awr eu cysgod. Yn y dwyrain ymwthiai gwyneb llednais y lloer i'r golwg, a rhoddai tês melyndeg y dydd ffordd yn raddol i ddystawrwydd ariannaidd y nos. Tra yr edrychai Anarawd ar yr holl bethau hyn, chwyddai ei fynwes gan ofid, a threiglai y dagrau yn ffrydiau dros ei ruddiau. Yr oedd ei galon yn llawn o feddyliau celyd am Dduw, a'r rhai hyny bron a thori allan yn gabledd.

Fel y dyfnhäai y nos syrthiodd i drwmgwsg. Pan ddeffrodd, fel y tybiai ef, yr oedd mewn lle newydd. Diflanasai y mynyddoedd, yr olygfa, a'r cartref yn mha un y treuliasai gynnifer o flynyddau dedwydd. Yr oedd mewn gwlad hollol ddyeithr.

Fel y safai yn rhyfeddu, gwelai greadur yn nesu tuag ato, yr hwn ar y cyntaf a edrychai yn

debyg iawn i epa; ond ar ei ddyfodiad yn agosachach, gwelai mai creadur ydoedd rywbeth ar lun dyn, ond wedi ei gamffurfio yn mhob modd, ac yn afluniaidd i'r eithaf.

Bob yn dipyn daeth i fyny at Anarawd, ac ar ol edrych arno yn fanwl, a rhodio o'i amgylch fel pe buasai fôd uwchraddol, gwaeddodd yn ei edmygedd, "Wel, dyma greadur hardd! dyma ddyn ardderchog!"

"Rhag dy gywilydd!" ebai Anarawd, "ai gyda'r fath sarhâd a hyn y cyfarchi di ddyeithrddyn? Gad ymaith dy gellwair, a dywed i mi pa le yr wyf, a sut y daethum yma."

"Ni wn i pa sut y daethost yma, ond dyma lle 'rwyt yn '*myd damwain.*' Yn ddamweiniol y daethost yma, mae'n debyg. Trwy ddamwain y mae pob peth yn dygwydd yma."

"Aie yn wir?" Rhaid mai lle hyfryd a gogoneddus yw hwn! Dyma'r byd i mi! O na threuliaswn fy mywyd yma, yna ni buasai farw fy anwyliaid o dan ddeddf ffol ac anesboniadwy! Tyred, dangos i mi ychwaneg o hono, canys yr wyf yn hiraethu am ei weled. Ond, mewn gwirionedd, ai nid oes genych yma yr un Duw i osod deddfau arnoch, ac i'ch llywodraethu fel y gwel yn dda?"

"Yr wyf yn methu deall beth a feddyli wrth Dduw. Nid oes genym yma ddim o'r fath beth—dim ond damwain, fel y dywedais o'r blaen. Ond os deui gyda mi, ti a gei wybod y cwbl yn ei gylch."

Fel yr elent yn eu blaen, dechreuodd Anarawd sylwi fod golwg go ryfedd a chwithig ar bob peth o'u hamgylch. Yr oedd peth o'r glaswellt yn wyrdd, peth yn goch, peth yn wŷn, peth yn îr, peth wedi gwywo, peth yn tyfu a'i wraidd i fyny, a phob math, lliw, a llun, blith-draphlith yn gymysg a'u gilydd. Ar y cyfan yr oedd yr olygfa yn un bur boenus.

Safasant am funyd i sylwi ar berllan lle yr oedd damwain wedi bod yn gweithio. Ar bren afalau talfrig a changhenog, yr unig ffrwyth a dyfai oedd wynwyn mawrion. Tyfai rhai o'r coed a'u brigau i lawr, a'u gwraidd yn esgyn i'r awyr; ac yma a thraw gwelid tyllau tua degtroedfedd-ar-hugain o ddyfnder, y rhai a wnaed i'r dyben o ddyfod o hyd i'r ffrwyth. Hysbyswyd Anarawd gan ei arweinydd na osodid nemawr ymddiried yn y coed hyn, ac na ellid byth ragddywedyd pa ffrwyth a ddeuai arnynt nesaf. Os afalau a dyfai ar bren un flwyddyn, efallai mai pytatws a dyfai arno y flwyddyn wedyn, a byddai yn angenrheidiol weithiau gloddio ugain neu ddeg-troedfedd-ar-hugain i gael gafael ar y tatws.

Cyfarfuasant yn fuan â dyn a ffurfiesid trwy ddamwain; a thybiai Anarawd y gellid yn dra phriodol ddyweyd am dano mai yn "rhyfedd ac ofnadwy" iawn y gwnaed ef. Yr oedd ei goesau yn annghyfartal o ran hyd a maint, un yn amddifad o lin, a'r llall o figwrn. Gorweddai ei glustiau ar ei ysgwyddau, a gorchuddid ei ben â mwgwd du. Dynesodd dan gropian, a gofynodd Anarawd iddo er's pa bryd y collasai ei olwg.

"Chollais i mo'ngolwg," ebai ef, "ond pan anwyd fi dygwyddodd i fy llygaid gael eu troi i *mewn* yn lle allan; a chan fod y rhanau cefn tua'r goleuni, y maent mor boenus fel yr wyf dan orfodaeth i wisgo gorchudd."

"Ond ti elli weled ychydig, ysywaeth? neu o leiaf, y mae'n rhaid dy fod yn gweled pethau rhyfedd iawn oddifewn?"

"Eitha' gwir; ond yr anhawsder ydyw cael goleuni *i'r* corff, ac y mae pob dyfais ac ymgais wedi syrthio yn fyr o'r amcan hwnw. Ond, wedi'r cwbl, y mae fy sefyllfa i gystal a'r eiddo eraill. Mae gan fy mrawd un llygad dâ ar ei goryn, eto ni fedr edrych ond yn unig yn syth i fyny tua'r cymylau; ac y mae'r haul ar brydiau agos a'i ddallu. Y mae yn gwneyd ei oreu i'w gadw yn nghau y rhan fwyaf o'r dydd, ond un o'r llygaid hyny ydyw, nad erys felly am bum' munyd gyda'u gilydd. Dyna fy chwaer, wedyn: y mae ganddi hi bedwar-ar-bymtheg o lygaid yn ei phen; eto i gyd y maent yn boen ac yn rhwystr nid bychan iddi. Y mae yn gweled deunaw o bethau yn ormod. Hyd yn nod yn awr, nid yw yn sicr nad oes ganddi bedwar-arbymtheg o dadau, a'r un nifer o famau. Pan yn myned i'r gwely, y tebygolrwydd yw y syrth ar lawr bedwar-ar-bymtheg o weithiau cyn yr êl iddo; a thrachefn, pan fydd arni eisieu yfed, gan ei bod yn gweled cynifer a phedwar-arbymtheg o gwpanau, y mae mewn penbleth ofnadwy o barth i ba un yw y cwpan gwirioneddol. Ond felly y dygwyddodd; ac y mae hi mor ffodus a'r rhan fwyaf o honom yn y byd hwn o ddamwain—a byd gogoneddus ydyw, o ran hyny, er fod ambell i beth yn dygwydd yn awr ac yn y man sydd yn groes iawn i'n teimladau."

"Rhyfedd iawn!" ebai Anarawd.

Aethant yn eu blaen ychydig yn mhellach, a chyfarfuasant ag un o'r "rhyw deg."

"Y foneddiges ieuanc yna," sylwai yr arweinydd, "yw y brydferthaf yn yr holl barthau hyn. Y mae holl lanciau y wlad yn dotio arni, ac nid oes dim llai na deunaw o honynt eisoes wedi bod yn ymladd yn ei chylch âg arfau tân. Mor berffaith ydyw, fel y'th synir pan y deui i'w gweled."

Pan ddaeth yn agosach, syllodd Anarawd arni, yn fwy, efallai, nag a ystyrir yn foneddigaidd. Nid oedd ei gwyneb yn annhebyg i'r wyneb dynol, oddigerth bod ei cheg o dan ei

gên, a'i llygaid yn edrych i wahanol ffyrdd. Anhawdd fyddai desgrifio lliw ei gwallt, canys yr oedd yn gymysgedd o goch, glas-gwan, gwyn, a melyn. Yr oedd sawdl un o'i thraed yn mlaen, ac ni feddai ond un fraich.

"Rhyfedd iawn, yn wir," ebai Anarawd. "Deunaw wedi bod yn ymladd yn ei chylch, aie? Gobeithio na laddwyd neb o'r ffyliaid?"

"Lladd!" meddai yr arweinydd, "Y mae'n amlwg ddigon na wyddost ti ond ychydig iawn am ein byd ni. Fe ymgyfarfu y pleidiau i'r dyben o ymladd; ond gan mai wrth ddamwain y mae pob peth yn myned yn mlaen yma, anfynych y gellir cael gan y pylor danio. Felly y bu ar yr amgylchiad dan sylw: nid aeth ond un ergyd allan; ac ni ddygwyddodd hyny hyd y nos, pan yr oedd y llanc yn myned i'r gwely. Y canlyniad fu iddo archolli ei law yn dost, ac y mae hòno wedi bod yn gwaedu byth er hyny."

"Byth er hyny! Faint o amser sydd er's pan ddigwyddodd yr anffawd?"

"O! tua dwy flynedd."

"Dwy flynedd! a phaham, yn enw pob rheswm, na buasech yn gwneyd rhywbeth i attal y bachgen, druan, rhag gwaedu i farwolaeth?"

"Ah! nid wyt yn deall, mi welaf. Yn ddamweiniol y mae pob peth yn dygwydd yma. Damwain, wrth gwrs, yw fod dyn yn cwrdd ag anhap—damwain hefyd, ydyw, os dygwydd iddo wella; y tebygolrwydd gan hyny yw, na wellheir y llanc hwn byth. Fedri di ddeall yn awr?"

"Na fedraf, yn wir; ac ni wiw i mi geisio, ychwaith," atebai Anarawd.

Arosasant am enyd i edrych ar "wartheg damweiniol" a safent mewn buarth yn ymyl y ffordd. Nid oedd gan rai ond tair coes, tra yr oedd eraill a'u penau ar y rhan chwith o'u cyrff. Gorchuddid rhai gan wlân, dan ba un y chwysent fel mewn gwres trofäol. Gwelent un oedd a'i rhanau ol ar lun ceffyl, a'i rhanau blaen ar lun anner. Dilynid un fuwch gan fochyn bach, yr hwn a'i hawliai fel ei fam. Chwareuai llwynogod yn mysg y diadelloedd defaid. Yr oedd y ceffylau yn ewin-fforchog, a rhedai y gwyddau o gwmpas â phawenau crafangog. Gwaith damwain oedd y cwbl.

"Casgliad detholedig o anifeiliaid ydyw hwn," ebai yr arweinydd, "a diamheu genyf na welaist ei gyffelyb erioed o'r blaen."

"Eitha' gwir, eitha' gwir," atebai Anarawd.

"Ie, ond fe gafodd y perchenog drafferth annghyffredin i'w dwyn at eu gilydd; ac nid ychydig fu'r gost ychwaith. Nid wyf yn meddwl fod y fath gasgliad â hwn i'w gael yn un man, o leiaf yn ein byd ni."

"Gobeithio nad oes," ebai Anarawd yn sychlyd.

Yr oeddent ar fin ymadael, pan y daeth y perchenog allan i edmygu, a dangos ac ymddyddan am ei holl drysorau, ond yn fwy neillduol i gael golwg ar Anarawd. Dygwyddai, fodd bynag, fod ei ben rhwng ei goesau, yn lled agos i'r ddaear, a thrwy hyny gorfodid ef i fyned i ben mur cyfagos i'r dyben o gael golwg iawn ar y dyeithrddyn.

"Paid a meddwl, ŵr dyeithr," ebai ef wrth Anarawd, "fy mod i yn ddyn dedwydd am fod genyf y fath gasgliad perffaith o anifeiliaid ag yw hwn. Ah! y mae rhywbeth neu gilydd yn dygwydd yn barhaus i aflonyddu ar ein hapusrwydd, hyd yn nod yn y byd dedwydd yma. Nid yw y fuwch hardd acw yn rhoi dim ond dŵr cynhes yn lle llaeth, ac fe drengodd ei llo, druan, cyn bod yn wythnos oed. Y mae gan rai o'r anifeiliaid lygaid da, gellid meddwl, ond o herwydd rhyw ddiffyg, y maent mor ddall ag ystlumod. Ni fedr rhai o honynt ddyoddef y goleuni, ac ychydig o honynt sydd yn medru clywed. Nid oes odid i ddau yn eu mysg yn bwyta yr un ymborth a'u gilydd; a thrafferth mwy nag y meddyliet yw cymeryd gofal o honynt. Yr wyf yn teimlo ar brydiau na fuasai waeth i mi fod yn ddyn tlawd nag ymofalu yn eu cylch fel hyn o ddydd i ddydd—a dyna'r gwir i ti."

"Buasai yn well genyf fi o lawer," ebai Anarawd.

Tra yr oedd yn siarad, wele hwynt mewn eiliad yn nghanol tywyllwch hanner nos. Ciliasai yr haul yn sydyn, ac ni allai Anarawd am enyd weled ei arweinydd.

"Be' ddygwyddodd?" gofynai yn gyffrous.

"O! dim annghyffredin," atebai yr arweinydd yn ddiofal. "Yr haul a ddygwyddodd fachlud, dyna'r cwbl. Nid oes unrhyw amser penodol iddo dywynu. Y mae yn myned ac yn dyfod, yn ol fel y dygwydd, ac yn ein gadael yn sydyn weithiau, fel y gwelaist."

"'*Dydw' i ddim yn gweled!*" ebai Anarawd; "ond yr wyf yn gobeithio y dychwel yr haul yn ol yn ei amser *penodedig*, beth bynag."

"Fel y dygwydd, y bydd hyny. Weithiau fe'i collir am fisoedd, ac weithiau am wythnosau—weithiau fe ddaw yn ei ol yn mhen ychydig funydau. Yn union fel y dygwydd! Efallai na chawn ei weled am fisoedd, a hwyrach y daw yn lled fuan."

"Ond sut y medrwch chwi siarad am fisoedd a dyddiau, pan mewn gwirionedd, nad oes genych y fath dymhorau?"

"Fel yma—mesur amser wrth y *llath* y byddwn ni."

"Wrth y *llath!*"

"Ie. Yr amser a gymer i'r dyn perffeithiaf yn ein mysg rodio llathen, dyna a gyfrifir yn

driugeinfed ran o awr. Gwneir y dyddiau i fyny o'r oriau hyn, y blynyddoedd o'r dyddiau, ac felly yn y blaen. Nid ydym yn fanwl iawn, bid siwr, oblegid y mae rhai dynion yn cerdded yn gyflymach o lawer nag eraill—y mae hyny yn ymddibynu yn hollol ar hyd eu coesau."

Fel yr elai yr arweinydd rhagddo yn ei eglurhâd, er llawenydd i bawb, torodd yr haul allan drachefn yn ei nerth, ond gyda'r fath sydynrwydd, fel y tybiodd Anarawd ar y cyntaf ei fod wedi cael ei daro gan fellten. Cyfododd ei ddwylaw at ei lygaid, i deimlo os oeddynt yn ddyogel, a daliodd hwynt drostynt nes y daeth yn raddol i fedru dyoddef y goleuni. Yr oedd gogoniant o amgylch yr haul na welsai ei gyffelyb erioed o'r blaen, er ei fod yn annyoddefol o boeth. Ymddangosai yr awyr fel ffwrn.

"Ow! gwae fi!" ebai perchenog yr anifeiliaid; "fe grasir y rhai gwlanog, druain, yn eu crwyn yn awr. Y mae'r haul wedi dychwelyd yn nes o lawer nag ydoedd o'r blaen. Ond efallai gyda lwc yr â ymaith yn fuan, ac y daw yn ei ol yn mhellach oddiwrthym y tro nesaf."

Tywalltai yr haul ei belydrau arnynt yn awr gyda'r fath danbeidrwydd fel yr oedd yn dda ganddynt fyned i'r tŷ. A lle gresynus ydoedd. Ni allai Anarawd lai na'i gydmaru â'i fwthyn prydferth a chysurus ei hun. Yr oedd rhai o'r trawstiau wedi llwyr bydru, oblegid nad oedd y coed o ba rai yr adeiladesid y tŷ yn dygwydd fod o'r un defnydd yn eu rhanau, oll. Nid oedd rhai o'r ystyllod yn ddim gwell na phapyr, a chan na feddai yr hoelion unrhyw afael arnynt, syrthient yn rhyddion wrth eu pwysau eu hunain. Gorfodid i'r teulu gogino eu hymborth yn ngwres yr haul, oherwydd os unwaith yr elai mwg i'r tŷ, nid oedd modd cael gwared o hono drachefn, os na ddygwyddai iddo fyned yn ddamweiniol, ac anfynych iawn y dygwyddai hyny.

Gwahoddwyd Anarawd i fwyta; a thra yn eistedd wrth y bwrdd, sylwodd fod gan bawb o honynt wahanol fathau o fwyd, ac nad allai odid i ddau yn eu mysg ymgymeryd o'r un ddysgl. Hysbyswyd ef y dygwyddai fod yr hyn oedd yn lluniaeth i un, fod yn wenwyn i un arall, a bod yr ymborth a gytunai â'r naill yn wrthwynebus i'r llall. Dewisodd Anarawd o fysg y dysglau a barotoasid, un a ddygymai â'i archwaeth, a hwyliodd yn ebrwydd i fwyta; ond i'w ddirfawr syndod, cafodd nad oedd ei law yn dygwydd bod o dan reolaeth ei ewyllys, ac yn lle cario y bwyd i'w safn, arllwysodd yr aelod aflywodraethus holl gynnwysiad y llwy i'w glust ddeau! Wrth sylwi yn mhellach, gwelai fod y gweddill o'r cwmni yn llafurio dan yr un anfantais ag ef ei hun; ond wrth eu dynwared hwy, a throi ei ben dros ei ysgwydd dde, a dodi ei enau lle yr oedd ei glust, llwyddodd gyda chryn drafferth i ddiwallu ei angen. Yn ei ryfeddod, holodd beth oedd yr achos o hyn.

"Ah!" atebent hwythau, gan chwerthin am ben ei anwybodaeth o'r byd, "nid oes genym ni ddeddfau sefydlog. Damwain yw pob peth. Y mae pawb fel eu gilydd yma yn ddarostyngedig i'r annghyfleusderau hyn—fe erys rhyw aelod neu gilydd am amser maith yn anufudd i ddylanwad yr ewyllys. Yn gymhwys fel y dygwydd. Felly, pan yr yfom, fe gadarnheir yr hyn a ddywed un o'n beirdd—

'Mae'r naill yn tywallt ar ei ben;  
Un arall, yn ddifwriad,  
Wrth gludo'r ddiod tua'i gêg,  
Yn taflu'r oll i'w lygad.'"

"Ai *coffi* yw hwna?" ebai Anarawd, gan edrych tua llestr yn llawn o ryw fath o wlybwr. "Os felly, bydd yn dda genyf gael cwpanaid o hono."

Estynwyd ef iddo, ond ar ol llenwi ei enau, cafodd mai iâ ydoedd, yn dameidiau bychain fel *shots;* a chan y dyoddefasai yn dost oddiwrth y ddannodd dros rai oriau, anfonwyd y fath iasau drwy holl esgyrn ei ben, fel y gwaeddodd allan yn ddigofus, a phwys ei law ar y foch lle yr oedd y dant dolurus—

"Ai *coffi* yr ydych chwi'n galw y dwfr iâ yma?"

"Bron fel y dygwydd," oedd yr ateb tawel. "Yr ydym yn rhoi'r dwfr ar y tân, ac weithiau y mae y tân yn ei boethi, dro arall yn ei rewi. Sut y gall fod yn wahanol pan nad oes genym ddeddfau sefydlog o unrhyw fath? Onid gwaith damwain yw y cwbl?"

Cyfododd Anarawd oddiwrth y bwrdd a'i ysbryd yn drist o'i fewn. Dygwyd i'w gôf y byd yn mha un y buasai gynt yn byw, a'r cwbl a aethai heibio. Deisyfasai breswylio mewn byd lle nad oedd yr un Duw, a lle 'roedd pob peth yn ddarostyngedig i ddamwain. Caniatawyd ei ddymuniad—dyma lle yr oedd, ac yma y rhaid iddo dreulio y gweddill o'i oes. Yr oedd y meddwl yn ormod iddo ddyoddef. Taflodd ei hun ar wely, a daeth holl ddygwyddiadau ei fywyd blaenorol—yr aneirif wrthddrychau a garai gynt—y llanerchi hyfryd, a'r cartref cysurus lle treuliasai gynnifer o flynyddau dedwydd—ie, daeth ei anniolchgarwch hefyd, ei rwgnachrwydd, a'i gabledd yn erbyn doethineb a daioni Duw—daeth y cwbl i'w gof yn awr gyda newydd-deb tor-calonus. Wylai fel plentyn. Ewyllysiai weddio, ac yr oedd ar fedr dechreu gweddio pan y cofiodd nad oedd yno yr un Duw—neb i wrando erfyniadau y digymhorth, nac i gyfarwyddo amgylchiadau dynion—dim ond damwain. Yn nghanol ei ofid, ei edifeirwch a'i ddagrau, syrthiodd o'r diwedd i drwmgwsg.

Pan ddeffrodd Anarawd, cafodd ei hun yn

eistedd yn ei gadair freichiau yn mharlwr clyd ei fwthyn prydferth. Yr oedd y wawr ar dori; ac ar y foment appwyntiedig, cyfododd yr haul gogoneddus yn y dwyrain, gan euro bryn, dyffryn, a dôl, â'i lewyrch melynaidd. Deffrodd holl anian o dan ei wên. Gorchuddid y meusydd â llawrlen o wyrddlesni yn perlio â gwlith adfywhaol. Ysgubai awel dyner dros frigau y coed, gan gynnysgaeddu eu dail â bywyd, a'u goglais i fiwsig cyfareddus. Pynciai yr adar eu cerddi boreuol, murmurai y ffrwd risialog ar ei gwely o raian, ymbranciai yr ŵyn ar y gwastadedd irwedd a blodeuog, a hedai y gwenyn o flodyn i flodyn dan lawen suo ar eu hynt brysur. Yr oedd gwyneb natur mor ddengar, mor brydferth, ac mor berffaith ag ydoedd pan y daeth o law ei Chrewr yn moreu y greadigaeth.

Cyfododd Anarawd o'i eisteddle. Galwodd i gof ei freuddwyd hyll, ac yna wylodd o lawenydd calon. Diolchai ei fod eto mewn byd lle nad oedd damwain yn teyrnasu. Edrychodd i fyny, a throdd at Dduw y nefoedd a'r ddaear—Duw deddf a threfn. Rhoddodd ogoniant iddo, a chyffesodd fod ei ffyrdd, er i ni yn anolrheinadwy, yn llawn doethineb. Yr oedd yn awr yn ddyn newydd. Ac er iddo dan deimlad o'i amddifadrwydd, wylo yn hidl uwch ben beddrod ei deulu, unig amcan ei fywyd yn y dyfodol, oedd lleshau ac ychwanegu dedwyddwch ei gyd-ddynion. Galwodd bâr o berthynasau ieuainc i lanw ei dŷ. Gwenodd ei gartref drachefn, ac adferwyd heddwch a boddlonrwydd i'w fynwes glwyfedig.

Ni anturiodd Anarawd ddychymygu pa un ai breuddwyd ynte sylwedd oedd yr hyn a welsai y noson hòno. Ar y cyfan tueddid ef i gredu mai sylwedd ydoedd, a bod yn rhywle y fath fyd a "byd damwain;" ond mor bell ydoedd erbyn hyn oddiwrth ddymuno byw yno fel nad oedd dim yn fwy o achos diolch iddo pan yn ymgrymu o flaen gorsedd gras, na'r ffaith ei fod yn byw mewn byd lle yr oedd Duw yn llywodraethu, ac yn llywodraethu trwy ddeddfau sefydlog, doeth, a thrugarog.

—Eilonydd.

---

## Y PARCH. WILLIAM WILLIAMS (Caledfryn).

Y Parch. William Williams ydoedd weinidog perthynol i enwad yr Annibynwyr, yn y Groeswen, swydd Forganwg, yn y Deheubarth. Yr oedd yn un o'r Beirdd mwyaf cyhoeddus, y traddodwyr mwyaf hyawdl, a'r llenorion disgleiriaf, a feddai yr holl Dywysogaeth. Brodor ydoedd o Ddinbych; ganwyd ef, Chwefror 6, 1801. Derbyniwyd ef yn aelod gyda yr Annibynwyr yn ei dref enedigol, gan y Parch. D. Roberts. Yr oedd o deulu crefyddol, canys yr oedd ei rieni yn aelodau gyda y Trefnyddion Calfinaidd. O blegid ei dalentau naturiol, a'i gymeriad crefyddol, anogwyd ef i bregethu yn gynar yn nhymor ei oes, ac anfonwyd ef i Goleg Rotherham i dderbyn ei addysg, dan hyfforddiad yr enwog Dr. Bennett. Ni bu yno dros ysdod y tymor arferol o efrydiaeth, ond dychwelodd yn fuan i Gymru, a derbyniodd alwad i'r weinidogaeth yn Llanerchymedd, Mon, lle yr urddwyd ef yn weinidog, mewn cysylltiad â Hebron, Maenaddfwyn, Mehefin 2, 1829. Bu yn cadw ysgol ddyddiol am beth amser yn y lle olaf. Gwedi bod yn llafurio yma gyda chryn lwyddiant, symudodd i Gaernarfon, i gymeryd gofal eglwys Gynulleidfaol Pen dref, lle y bu yn llafurio yn effeithiol a chymeradwy iawn am tu ag un flynedd ar bymtheg. Helaethwyd y Capel yn ysdod y tymor hwn, a chynhyddodd yr eglwys a'r gynulleidfa i raddau mawr. Yr oedd gofal y Bont-newydd arno yr un pryd, a byddai yn fynych iawn yn estyn cylch ei lafur i'r Waen fawr. Gadawodd Gaernarfon, ac ymsefydlodd yn Llundain yn 1848, i gymeryd gofal y gynulleidfa Gymreig oedd yn addoli yn Aldersgate. Symudodd oddiyno cyn hir i Lanrwst, yn sir Ddinbych, a bu yn gweinyddu yno, gyda Trefriw, a Nant-y-rhiw, am tua saith mlynedd. Ymadawodd oddiyno, a bu yn cyfaneddu am ychydig amser yn Bangor. Derbyniodd alwad i'r Groeswen, gyda Nant-garw, a Chwm yr Aber, yn sir Forganwg, lle y parhaodd i lafurio, gyda chymeradwyaeth mawr hyd ddiwedd ei oes. Derbyniodd dros 250 o aelodau yn y lle blaenorol, a nifer cymhariaethol yn y lleill. Ail adeiladwyd y Capeli yn y ddau le olaf yn y cyfamser. Helaethwyd mynwent y Groeswen, a chodwyd Ysgoldy Brytanaidd ar y tir, ac yr oedd holl amgylchiadau yr achos crefyddol wedi ymgodi i raddau mawr dan ei weinidogaeth nerthol. Yr oedd poblogrwydd Mr. Williams wedi codi yn uchel yn y weinidogaeth, drwy ei gyhoeddusrwydd fel awdwr, a bardd, a beirniad. Fel llenor, bu yn weithgar iawn drwy y wasg ar hyd ei oes. Bu yn olygydd i luaws o gyhoeddiadau misol, megis y Sylwedydd, Tywysog Cymru, y Seren Ogleddol, a rhai eraill. Bu hefyd yn olygydd i rai o'r Newyddiaduron wythnosol, megis y "Papur Newydd Cymraeg," "Baner Gwynedd," "yr Adolygydd," y "Gwron Cymreig," yr "Amaethydd," y "Gwladgarwr;" a chymerodd ran, mewn cydweithrediad âg eraill, yn ngolygiaeth y Dysgedydd, &c. Cyhoeddodd amryw gyfrolau o wahanol faintioli, o bryd i bryd,

megis Grawn Awen, Caniadau, Darlith ar Draddodiadau yr Hynafiaid, Cribddeiliaeth, Deddfau yr Yd, Pregeth Angladdol Williams o'r Wern, &c. Bu yn golygu gweithiau Robert ab Gwilym Ddu, John Thomas, Pentrefoelas, ac eraill; ac y mae ei Ddrych Barddonol, a'i Ramadeg, yn hysbys iawn, yn gystal a'i Gasgliad o Emynau; a nifer o fân weithiau eraill, rhy luosog i'w henwi yma. Yr oedd ganddo hoffder neillduol yn y mesurau cynghaneddol, ac yr oedd wedi cael meistrolaeth ddieilfydd arnynt. Dywedir iddo fod wedi eu hastudio yn drwyadl pan nad oedd ond tair ar ddeg mlwydd oed. Yr oedd pob math o gynghanedd yn barod at ei alwad, ar bob amser, a hyny mor drwsiadus a gwisg rhyddiaith esmwyth. Yr oedd ei holl gyfansoddiadau yn rhwydd, eglur, a naturiol; mynai wneud ei hun yn ddealladwy, serch dyblu ei frawddegau, er mwyn eu gwneud yn argraphiadol i bob gradd o ddarllenwyr. Yr oedd yn gyfoethiog iawn yn ei eiriau detholedig at bob achos, a gallai fathu rhai newyddion cyfansawdd gyda phrydferthwch boddhaol ar bob pryd, ac at bob amgylchiad.

Yr oedd gwrthddrych ein nodiadau, trwy gydnabyddiad y cyhoedd, wedi ymgodi i safle uchel iawn fel Bardd a Thraithiadur. Yr oedd yn gadeirdraw, awdurdod, ac arweinydd, mewn llenoriaeth Gymreig. Enillodd y Gadair Farddol yn Eisteddfod Beaumaris, yn y flwyddyn 1832, am ei Awdl benigamp ar "Ddrylliad y Rothesay Castle," yr hon a roddir yn gyflawn yn y gwaith hwn; ac arwisgwyd ef a'r Tlws, gan y Frenhines, y pryd hwnw, y Dywysoges Victoria. Derbyniodd wobr ychwanegol o law ei Huchelder Brenhinol, Duges Caint, mam y Frenhines. Yn mhen ychydig flynyddau wedi hyny, pan yr ymwelodd y Frenhines a'r Tywysog Albert â Chaernarfon, anerchodd hwy mewn Awdl, yr hon a anfonodd iddynt, gyda chyfieithiad Saesonaeg, a derbyniodd ddiolchgarwch gwresog ei Mawrhydi, trwy law ei Hysgrifenydd, dan sel ac arfbeisiau y goron. Yr oedd ef yn nghanolddydd ei ddyrchafiad erbyn hyn. Enillodd amryw o obrwyon o'r dosparth cyntaf. Cymerodd ei enw barddonol trwy benodiad Dafydd Ddu Eryri, oddiwrth enw gwreiddiol ei dref enedigol, sef Caledfryn yn Rhos; ac y mae yr enw yn air yr aelwyd yn mhob gwlad a thref lle y mae Cymry yn cyfaneddu. Yr oedd Mr. Williams hefyd wedi ei hynodi ei hun yn fawr fel pregethwr a darlithiwr; yr oedd yn hollol feistr ar bob cynulleidfa, o'r pwlpud, ac oddiar y fanllor. Yr oedd wedi cymeryd rhan helaeth yn holl bynciau cyhoeddus ei oes. Bu mewn nifer o frwydrau llenyddol, ond ni ellid byth ei roddi i lawr; safai mor anhyblyg a'r dur dros ei bwnc, a hyny weithiau efallai i raddau eithafol. Safodd yn wrol dros egwyddorion Heddwch, a Chyflafaredd, i derfynu dadleuon rhwng teyrnasoedd. Ysgrifenodd ac areithiodd lawer yn erbyn Deddfau yr yd, a gorfaeliaeth masnachol. Cyfieithodd Draethodau Chambers i'r Wasg, ac ysgrifenodd lawer ar "Fferylliaeth Amaethyddol," i'r Amaethwr, a gyhoeddid yn Nghaernarfon. Ysgrifenodd amryw Draethodau ar "Ryddhad y Caethion," o bryd i bryd. Yr oedd yn ofnadwy o finiog yn erbyn y swydd Filwraidd. Fel beirniad barddonol, yr oedd yn sefyll ar ei ben ei hun yn hollol; ac yn uwch o'i ysgwyddau, na'i frodyr. Dichon iddo redeg yn rhy bell weithiau gyda ei fflangell ysgorpionog, a digaloni rhai beirdd ieuaingc; eto y mae yn rhaid addef, er ei fod wedi creu nifer o elynion iddo ei hun drwy ei wir onestrwydd, ei fod wedi magu mwy o lenorion na neb. Gormod o hyfrdra oedd i neb ddywedyd am dano, "nid ymddengys ddarfod iddo erioed efrydu deddfau beirniadaeth, os darfu iddo erioed ystyried fod gan feirniadaeth y fath beth a deddfau." Bu farw Mawrth 23, 1869. Ychydig o amser a fu ysdod ei gystudd. Pregethai y bore Sabbath blaenorol i'w farwolaeth, oddiwrth 2 Cron. xxxiii. 12, 13. Ysgrifenai ei ohebiaeth arferol fore dydd ei farwolaeth, ond teimlai raddau o wendid yn dyfod drosto, ac enciliodd i orphwys; ond yr oedd fel pe buasai yn ymwybodol o neshad 'awr ei ymddatodiad,' ac felly yr ymbarotodd ar gyfer y daith. Claddwyd ef yn mynwent y Groeswen, a dangosodd y cyhoedd eu serch ato, drwy godi Beddadail gorwych ar ei lwch. Cynhygiodd eglwys y Groeswen Ugain gini am yr Awdl Goffadwriaethol oreu am dano, a chyhoeddwyd yr un fuddygol. Yr ydym yn gorfod ymatal rhag rhedeg yn rhy bell ar y llwybr bywgraphiadol, gan mai byrgofion am dano yn unig a fwriadid yma, fel rhagarweiniad at ddyfyniadau o'i waith.

Y mae yr Awdl a enillodd iddo ei brif enwogrwydd, o gymeriad mor odidog, fel nad allwn lai na'i dodi ger bron, yn nghyflawnder ei chynhwysiad; sef—

## DRYLLIAD YR AGERLONG "ROTHESAY CASTLE,"

GERLLAW BEAUMARIS, AWST 17, 1831.

(TESTYN EISTEDDFOD FRENINOL BEAUMARIS YN Y FLWYDDYN 1832.)

Wyllt wenwr hallt ei waneg
Llawn o dwyll yw ei wên deg;
Llyfn iawn ydyw heddyw, heb
Arw don ar hyd ei wyneb;
Y don flin, erwin, orwyllt,
Effro'i naws, gyffro ai'n wyllt,
Nes ydoedd yn arswydaw
Pob bron, llenwi pawb â braw,
Sy heddyw mewn naws addien,
Yn lle cyffro'n gwisgo gwên:—
Och! ffalsder, digter y don,
A'i dinystr ar feib dynion.

O! 'r waedd oedd ddoe, a'r weddi—o ganol
Y gwynwawr groch weilgi;
Wyn fôr, rhoes i niferi

Wely llaith yn mol y lli'!
Llon oeddynt tybiynt gael taith,
A mwyniant teg am unwaith;
A gwel'd y llestri yn gwau
Hyd wyneb gwyrddion donau,
Heb ofni gwynt, heb ofn gwg,
Na gwaelod môr na'i gilwg;
Cael iach daith, gwibdaith, deg wedd,
Drwy ganol rhandir Gwynedd,
I ganfod teg wynfyd hon,
A'i glwyswawr fryniau gleision:
Tynu anadl, tan wenu,
Heb flinder, neu doster du,
Mewn iachus, haelionus le;
Awyr bur hwyr a bore;
A chael cyn eu dychweliad,
Wel'd ceinion glwysion ein gwlad.

A byw'n llawen ar ben bwrdd;
Mordeithio neu rodio'r ardd;
Taith ddestl, heb dymestl. heb dwrdd,
I fynu hyd Fenai hardd.

Neu gerdded drwy'r coed gwyrddion,
Lwyni heirdd, ar lanau hon,
I wrando ar gywrcindeg
Gerdd lon y cantorion teg,
Sy'n plethawl, doniawl gyd wau,
Yn nghanol y canghenau;
A rhodio llawer adeg,
Drwy'r Morfa, rodianfa deg.

Lle i dawel ymneillduo,—o bocn
Twrf y byd a'i gyffro;
Yr harddaf, hyfrydaf fro,
Is haulwen i'w phreswylio.

Niferi fyrdd o fawrion,
Yn llu, yn tynu at hon.

Pigion enwog, goludog y gwledydd,
Erioed, a lanwant yr ardal lonydd;
Yno cyd-wleddant,—yfant yn ufudd
Awyr ei Menai o'r mor a'r mynydd;
Ymlwybrant, rhodiant yn rhydd—drwy'r wlad dda,
Yn iach cu gwala, yn mreichiau'u gilydd.
Llawer gwr fu'n llwyr gurio—yn ei bryd,
Nes oedd bron diffygio,
Ddaeth i hon, hyfrydlon fro,
A rhodd iachâd llwyr iddo.

Rhydd ei thiroedd, lleocdd llon,
Deg olwg gwyd ei galon;
Hyd drumau hon, ceir tremyn
Ar siriol wawr SEIRIOL Wyn,
A GOGARTH fawr, freinfawr frig,
Graig o adail grogedig;
Y cydiol greig fel cadwyn
Gan y wlad o Gonwy'i Leyn.

Eu banawg uchel benau—yn saethu,
Yn syth i'r cymylau:—
Y mae yn werth i gael mwynhau—gwibdaith,
I lwybro unwaith hyd ael ei bryniau.

Er gweled harddfawr golofn
Dra destl, ein gwladwr di ofn;
Drych rydd edrych ar hon,
A golwg draidd y galon.

Darluniad o'r elyniaeth—trywel oedd
Yn Waterloo ddiffaeth;
A'r distryw, ddistryw na ddaeth
Un o'i ail ar ddynoliaeth.

Cofir trwm loesau, rhwygiadau ergydion,
Mwg a niwl tramawr magnelau trymion;
Mawrwych garlamiad y meirch gorlymion;
Y drylliad ar fagad o arfogion;—
Ac aberth mawr, mawr lew Mon,—cael dyrnod
Nes tori'i aelod yn nistryw'i alon.

Cestyll rhyfedd Gwynedd gain,
A'i chaerydd sy dra chywrain:—

A'r gadarn Bont grogedig,—i fyned
Dros Fenai chwyddedig;
Heb ofyn dim,—heb ofn dig
Rhuadwy'r mor berwedig.

Uchelgamp i'r croch weilgi—yw syflyd
Ei satlawr na'i meini;
Deil tra bo mawr, lasfawr li
Uthr don yn rhuthro dani.

Yn lle'r cychod, oedd yn bod, a'r badau,
Y rhai, gan ddyrnod, a rwygai'n ddarnau,
Wele drosglwyddiad rhad, wrth bob rheidiau,
O gyrhaedd dinystr y garw-wedd donau,
A bloeddiog groch gableddau—porthweision,
A gwaedd con eu dietlig weddiau!

A dynion a'u meirch danynt
Ar garlam, garlam drwy'r gwynt;
Nid ofnant y deifr dyfnion;
Llonant, pan y teithiant hon;
Degau o gerbydau'r bôn
Uwch agwrdd ddyfngyrch eigion.

Yn rhedeg yn rhuadwy,—a chroesi
Echrysawl ryferthwy;
O olwg! a fu olwg fwy
Nodedig a chlodadwy?

Mae twrf olwynion chwyrnion a charnau,
Y meirch nerthawl, trinawl fel taranau;
Cywirlym ydynt y carlamiadau,
Geir goruwch danedd yr egr groch donau;
Danynt, yn y gwynt yn gwau,—drwy ei phyrth,
Wele lu engyrth, yn hwyliaw o longau,—

Bawb un ddull, myn'd bob yn ddau
Hyd lenydd pysgod lynau;
A sylwi ar risialwawr
Gloew ddwfr glan, wiwlan wawr;
Dwr o'i yfed, yr afiach,
Gwan ei wedd, a ddwg yn iach;—
Lle mae'r pysg yn cymysg wau,
Mor lon, mewn amryw luniau.

A gweled gyda'u gilydd,—ugeiniau
O agenawg greigydd;
A'r rheiadr, ar reiadr rydd,
Dwrw gwyllt drwy y gelltydd.
Bistylla, ffrystia'n dra ffrom,
Chwyrna wrth edrych arnom;—
Cael rhoi gwib hyd grib y graig,
Iach aelgref yr uchelgraig;—
Chwilio'i chau fwngloddiau glan,
A'i chelloedd yn wych allan;
Dringo'r Wyddfa gopa gwyn,
A chwareu ar ei choryn;
Lle'r nifwl gwmwl teg yw,
Cam i wlad cwmwl ydyw;
Ceir yma olygfa lon
Ar ddirfawr froydd Arfon.

Gwelir o'r cwr bwygilydd—i lawer
O luoedd o wledydd;
A'r haul mad, ar doriad dydd,
Yn agoryd ei gaerydd.

Ei der wynebpryd eirian,
Aur liw, wrth ddringo i'r lan,
A'i wrid yn ymlid y nos,
O'i ddorau yn ddiaros.

Ceir yno deimlo'r gwyn darth,
Sydd heibiaw'n nofiaw mewn nerth;
Chwalu bydd, drwy'r uchel barth,
Uwch creigiau, uwch cymau certh.—

Rhai ereill oedd am forwrio—o Loegr
I'w hen wlad i rodio,
Yr oeddynt drwyddynt am dro,—ar frig
ton,
Yn llawn o galon, hawdd gallwn goelio;

Cysuron hen gofion gynt
Yn ddiau'n mlaen a ddeuynt.

Oeddynt yn ymawyddu,—am weled
Moelydd hawddgar Cymru;
Gwel'd rhiaint, gwel'd ceraint cu,
A gwyneb pawb yn gwenu.

Cofio'r gwyn ddyffryn a'r ddol,
Y llenyrch heirdd meillionol,
Y fron wech, y glasfryn hardd,
Lle tyf blodau fathau fyrdd;
Y doreithiog enwog ardd,
Lad ei gwawr, y deildy gwyrdd.

A'r dyddan le roed iddynt,
Ochrawg wedd, i chwareu gynt,
Yn rhyddion cyn cyrhaeddyd
Tan bwys helyntion y byd;
Oeddynt yn cofio addysg,
Tad a mam, dinam eu dysg.

A hallt alar yr holl deulu,—y dydd
Y deddynt o Gymru,
A'r trymion ofidion fu,
Trwy'u henaid yn trywanu.

Cyn rhoi'n olau, amlygiadau,
O'u bwriadau'i fyn'd o'u brodir,
A throi, weithion, ar daith eon,
Trwy y wendon, i estrondir.
Anhawdd iawn oedd yn ddinam
Dweud am hyn wrth dad a mam.

Troi draw, ag wylaw o galon,—yn rhwydd,
Yr oeddynt ddeigr heilltion;
A'u gruddiau teg, lliwdeg llon,
Un ffunud a dwy ffynon.

Fel yr hwyliynt, colli tremynt,
Yno'r oeddynt, arni'n raddol;
A chaddug llwyd gorchuddiol--ar drumau,
Aeliau ei bryniau, a niwl wybrenol.

O'u golwg, hi a giliodd
Y niwl tew â'i law a'i todd.

Disgwylient, tybient gael taith,—a dychwel
I'w gwlad iachus eilwaith;—
Heb baid, eu llygaid yn llaith,
Am eu hardal, drwy'u mordaith.

Rhoddi eu hyder yn bur ddioedi,
Yn yr agerddlong, y nofiai'r gwyrddli',
Ac yna meddwl, meddwl am iddi,
Rwygo'i wyn gesig, a'u brigau'n gwysi,
A'u dwyn i'r lan ar hyd anwar li,—heb
Orn trychineb na mor yn trochioni.

Nid oedid, rhoddid yn rhydd,
Olew ar ei hechelydd;
Ffrystio gwneud corph o eiriasdan,
A pharotoi'i hoffer tân.

Yr agerdd yn dyrwygo, yn bybyr
Drwy'i bibell, dan ruo,
Poeri'n wyllt o'r pair wnai o
A chyffrowyllt groch ffrio.

Gwedi, yn nghanol godwrdd,
I bawb ddyfod ar ei bwrdd,
Acw chwanog gychwynynt,
Fawr lu hardd i'r farwol hynt,
O Lynlleifiad i'r wlad lon
Diriondeg drwy y wendon.—
Llwyth gwerthfawr o drysawr drud
Anhefelydd,—prif olud;
Heb feddwl, heb feddwl fawr
Am y drom ystorm dramawr,
A'r greulon, annhirion nos,
Erwin, oedd yn eu haros.

Yn ddir ydoedd ei rhodau,—drwy agerdd
Yn dyrwygaw'r tonau,
Dyrchodd ei mwg yn dorchau
Hyd y nen, yn dew dan wau.

Hwythau y peroriaethwyr,
Drwy ainc, roddent gainc i'r gwyr,
Tybient y meiddient a'u mawl,
Yn ei chastell gorchestawl,
Herio'r mor a'i rym mawrwyllt,
Ac eigion y wendon wyllt;
Ond Och! y garw siom du
Ddeuai arnynt i ddyrnu;
Eu holl obaith ymaith a'i,
Fel ia unnos diflanai
Y môr ffrochwyllt orwyllt wedd,
A'i ddwr yn llawn cynddaredd;
Twrw a dinystr ei donau
A'u trem hyll yn cyd-drymhau.

Crychferwai, ymrwygai y mawr eigion,
Ewynai'i aflonydd donau'n flinion;
Unwedd a' muriawl fynyddau mawrion,
Och! oedd ei grothawg, fawr chwydd, hagr, weithion;
Ymluchiai, taflai pob ton—hyd y ser
Yn eu gorwyllter, eu dagrau heilltion.

E ddeuai eilwaith y nerthol ddyli,
O entrych hoewnef, gan wyllt drochioni,
Nes rhwygo'r safngerth, aelgerth weilgi
Anferthawl, a'i ddreigiawl gynddeiriogi;
Y llong yn mherfedd y lli'—ymsiglodd,
A tharanodd pob peth ei thrueni.

Duw, arwr y gorddyfnderoedd,
A'i enwog lais, yn galw oedd
Ei filoedd i ryfela;
Ni welid pelydr heulwen,
Y nen ddu, bygddu uwch ben;
Twrf corwynt, drowynt o draw,
Yn yr awyr yn rhuaw.

Dan chwiban da'i allan o'i 'stafellau,
A heriai fydoedd, drwy'i gynyrfiadau;
A Duw a roddodd, lacad i raddau,
I ffrwyn gadwynawg y ffyrnig donau,
Rhuthrodd, fe ddyrnodd y ddau—'sglyfaethgar,
Drwy'u bar anwar nes duo'r wybrenau!

A'r Rothesay, hithau ar hynt,
I dir angau'n myn'd rhyngynt.

Weithiau i frig dig y don—y dringai,
Drwy angawl ymdrechion,
Wedyn lluchid, hyrddid hon
I'r gwgus ferwawg eigion.

Ymroliodd drwy'r mor heli,—ac eilchwyl,
Golchai yntau drosti;
Ail ydoedd yn ei ch'ledi,
I flewyn llesg o flaen lli'.

Gwibiai'r dyfnfor, gefnfor gwyn,
Anfoddog fel hurt feddwyn;
E lynai ei holwynion
Eu tro'n chwai, a dagai'r don;
Cryfder yr ager a'i waith
A'i hoffer yn ddieffaith;
Hi dro'i o'i phwynt yn dra phell,
Dan ysgwyd ei hun asgell;
Yna'n ol i hwn eilwaith,
Yn erbyn y moryn maith,
Nes syrthiai'r llif, genllif gwyn
Erch aruthr, ar ei choryn;
Ysigwyd hi nes agor,
Ochrau ei muriau i'r mor.

Ac e lanwyd calonau—y dynion,
Ag ofn dinystr angau;
Gwel'd ei safn anferth, gerth, gau,
Yn agor drwy'r gwanegau.

A'r llong ar y garwfor llaith,
Myn'd waelach, waelach eilwaith.

Tra anhawdd dweud trueni,—neu helynt,
Yr olwg oedd arni;
Llu'n ubain, llefain uwch lli'
Rhyfeddol, bron ar foddi.

Ac eraill yno'n gorwedd—yn gleifion,
Mewn gwylofus dromwedd,
A'u henaid mewn anhunedd,
Yn wael eu gwawr,—gwelw'u gwedd.

Er i wŷr amryw eiriol,
Yn daer, yn awr am droi'n ol;
Er gweled drwy argoelion
Mai'u lle fyddai dyfnlle'r dòn;
Yn mlaen ae'r llyw mileinig,
Drwy dòrau'r dyfnderau dig.

Treiddio yr oedd bloedd ei gableddau—'r aig,
Wrth regu'r elfenau;
Creulon oedd ei galon gau,
At enwog lyw y tonau!

Ei forwyr, yn llafurio—yn eon,
Mewn awydd cael glanio,
A'r mor a'r gwynt, trymwynt tro,
Annhiriawn yn eu herio.

Baeddent, ymdrechent yn drwm,
A mawr rwysg y mor a'i rym;
Toddi, mewn cyni, bob cam,
A phoen dost, heb ffynu dim:

Y ddryghin flin aflonydd,
Wedi dal ar hyd y dydd,
Nes oedd yr haul yn soddi,
I'w wely llaith,—bol y lli',
A hwythau druain, weithion,
A llef hallt yn mhell o Fon,

Ac eirf dinystr cryf dônau,
Wyneb certh yn bywiocâu,
A llawer uwch dyfnder du,
Yn llegach, bron llewygu;
Y ser, rhag trymder y tro,
O'u gwydd, yn llwyr ymguddio;
Nid ellent, 'nawr deallwn,
Edrych yn yr hagrddrych hwn;
Gwel'd grym angau llym gerllaw,
Mor aethus yn ymrithiaw.—

Dan ysboncio, neidio'n wyllt,
Yn hir, ar y dôn orwyllt,

Hwy gyrhaeddent yn wlybion eu gruddiau;
I le eu dinystr, drwy lu o donau;
Ymagorodd, gor-ruthrodd dwfn grothau
Y dyfroedd yn ganoedd o agenau;
Gwelid, yn ddigon golau,—ofn bedd llaith,
Drwy anobaith yn duo'r wynebau.

Ac ar hyn, twrf gerwinawl—a glywid,
Nes oedd glewion nerthawl
Yn syn, mewn dychryn di dawl,
"*Yn y man annymunawl.*"

Y llong ar draethell angau,—yn gerwin
Guro'i hun yn ddrylliau;
Ydoedd ei thrwm ddyrnodiau
Gerwin, fel daeargrynfaau.

Gan ubain, mewn gwan obaith—yn eu ffrwst,
Deffroes pawb ar unwaith,
Ond uwch eu llef, fonllef faith,
Tair mil, oedd y storm eilwaith.

Bwriai y cefnllif berwwyn,—tra uchel,
Eu heillt drochion gorwyn;
Ysgubai, rheibiai'r gwyr hyn,
I anneddau'r anoddyn.

Drymed oedd eu caledi!—O'r wylo,
O! 'r olwg oedd arni;
Pwy wna ddrych i edrych i
Haner y mawr drueni?

Rhai'n och'neidio, rhai'n gweddio,
Ac yn wylo'n drwm eu galar;
Rhai'n gwallgofi, rhai'n ymroddi
I'w trueni, ddistryw anwar.

Ereill wŷr, mewn rhyw hyll wedd,
Tynu'u gwallt, yn eu gwylltwedd;

Rhedent mewn cyffroadau,—i geisio
Osgoi ias oer angau,
A'i eirf hŷll; ail ymgryfhau
Yn ei antur wna'i yntau.

Yn ei wŷn, gwelai'n honaid,
Y paith blwng,—pob peth o'i blaid.

Y nos wedi gorchuddio'r nen,—caddug
Yn cuddio pob seren,
A'r rholfawr anwar elfen,
A'i bar yn ffyrnig dros ben.

Anal y llong yn nghanol lli'—hyllig
Yn hollol ddiffoddi,
Llifeiriant yn hyll ferwi,
Rhwng ei chandryll estyll hi.

O le tost! wele y tân,
Wedi hollol fyn'd allan;
A'i holwynion yn glynu
Ar draethfan y *Dutchman* du;
Ac er i'r gwyr oer eu garm,
Chwilio am y gloch alarm,

Er fod ei swn hynod hi,
Garw son, yn llawn gresyni,
Eto, er rhoddi ateb
Iddyn' nhw, ni chlywodd neb;
O'r diwedd, uwch deifr duon,
Pallodd dyrnod tafod hon.

Yn awr y gwelir pob argoelion
Gyda'u gilydd, y gwaeda y galon;
O! pa deimladau, aethau, weithion,
A feddianai'r fath dorf o ddynion;
Rhai nad yn't, uwch gerwin dôn,—yn gweled,
Un ymwared, mwy nag i'r meirwon!

Dychryn enaid, sy'n dechreu enynu
Yn ei wylltineb, gan erchyll felltenu,
Drymach, drymach, mae angau'n hylldremu
Yn eu hwyneb,—a'r mor yn ewynu,
A dannedd hallt y dôn ddu—'n awr ydynt,
Oll am danynt yn erchyll ymdynu.

Y tadau tirion, trymion yn tremu
Ar eu haneisor ddinystr yn nesu;
Ymwylltient, a cheisient ymlochesu,
Ow anhap hyllig!—pob peth yn pallu;
Y ne'n ddwl, pob man yn ddu,—a'r halltfor
Garw yn agor dan ysgyrnygu.

Y Fam druan, a'i bychan yn beichio,
Yn ei alaeth, a hithau yn wylo,
Heb wybod, ar yr hynod awr hono,
O annedwyddwch, beth i'w wneud iddo;
Er i eglur ddeigr dreiglo—ar ei grudd,
I angau diludd aeth rhwng ei dwylo.

O fôr cuchiog, gwrando gri,
Nodda un, newydd eni,
Rho wiwfad estyniad dydd
I'r hwn sydd bron a soddi.

Eu llwyr annedwydd, erchyll oernadau
A dreiddient, ac a rwygent y creigiau;
Ond swn y ddryghin erwin am oriau,
Och! yno, weithion, oedd uwch na hwythau;

Er eu llafur a'u llefau,—eu gwatwar
A wnai'r du, anwar, ddwfn for a'i dònau.

Wele rai gan alar hallt
Yn ymrwygo'n wallgo' wyllt,
Eu llygaid yn danbaid oll,
Troent, ymwibient fel mellt.

Ereill yn gallu ymdyru'n dirion
I alw ar enw eu Duw, lywiwr union;
Yn Ior gafaelant, gan fwrw'u gofalon,
Ar eu Ner agwrdd sy'n ffrwyno'r eigion;
Ereill yn suddo'n oerion—mewn trymder,
A hallt flinder, i wyllt fol y wendon.

Rhai oedd yn serchog, galonog lynu
Yn eu gilydd, er ymddiogelu,
Hyn ni chollent, er i'r mor erchyllu,
Yn y tywyllwch, tra meddent allu;
Ond y groch don, ddigllon ddu,—yn ddibaid,
A wasga'u henaid nes eu gwahanu.

Golchai'r tonau Rothesay, 'n ddrylliau,
A'u hergydiau trwm rhwygiadol,
Cipio degau, gyda'r darnau,
Wnai y tonau anghytunol.

Gwel fabanod mewn dychryndod,
Hwnt i'r gwaelod an't o'r golwg;
Er yn wyneb môr a'i wg—rhag eu lladd,
Iddynt hir ymladd, ni dd'ont i'r amlwg.

Wele fenyw'n ceisio dal i fynu,
Yn eigion gwyn drochion, gan ymdrechu,
A nerth anwar y don ar ei thynu,
I'w choluddion,—Ow, dacw hi'n ei chladdu,
Ni chaiff ei cheraint tra chu—roi'i hon fedd
Wely oerwedd, nag arno alaru.

Lluoedd ar luoedd â i lawr,
I'r eigionau tra gwynwawr,
Er ceisio neidio'n nwydwyllt,
I frig y dòn, wendon wyllt,
O'u gofid, er cael gafael
Yn narnau'r llong, wiblong wael,
Er hyn, y môr gerwinol
A'i lawn nerth, a'u taflai'n ol;
Ond rhai, yn eu hanffawd trwm,
O un galon yn gwlwm.

Yno daliasant, yn eu du loesion,
A'u hynod ddychryndod, uwch oer wendon,
A Rhagluniaeth a'u heurog olwynion,
A'u noddai, a'u dygai'n waredigion,
Rhown fawl, yn hyfawl, i'n Hion—am ei rad,
Orwiw gariad, a'i amryw ragorion.

Gair mawr a haeddai gwyr Mon—ereswiw
A Syr Risiart dirion,
Am eu nawdd—ys hawdd fydd son,
Am danynt tra trem dynion.

## Y GENHADAETH.

Y mae y dyfyniad canlynol, allan o'i Farwnad ar y diweddar Barch. Joseph Harris (Gomer), Golygydd "Seren Gomer," a'i fab Ieuan Ddu o Lan Tawy, yn deilwng o le yma.

Ei egni ydoedd o du'r Genhadaeth,
A gyru diwygwyr, drwy'r greadigaeth,
Gyda glân darian yr iachawdwriaeth,
I luon o ddalwyr eilun-addoliaeth;
I ddeol pob gau-dduwiaeth—oddiar
Wyneb y ddaear a rhaib Iuddewaeth;
Tynu Mahometaniaeth—yn ddrylliau,
A darnio delwau cedyrn hudoliaeth;
Baeddu twyll Pabyddiaeth;—dim gorphwys heb
Rwbio o'i gwyneb ol pwdr baganiaeth.

Carai anfon dros y crwnfyd,
I rai beius air y bywyd,
I'w hadferyd o feirw.
Chwythu'r fflam ddwyfol, ysol yn Asia,
Nes bai'i heirias yn tanio Siberia,
Gwareiddio, a chynyg garddu China,
Dychwel ardaloedd, tiroedd Tartaria,
Ysbeilwyr rheibus, epil Arabia,
Horeb, Senir, a thir Abyssinia;
Anfon cynhygiad o gariad gora;
Eto i dywyll gynblant Judea;
Rhoi mwy o lewyrch ar Hymalayia;
Goleu i feirwon ffoi i Galfaria;
A chael wi! lawen iach haleluia,
O begwn i begwn, swn hosana,
Am waed a lwyr gymoda—ddu elyn;
Yr hen bentewyn, fa'i 'n dewyn dua!

---

## YR AWENYDD.

Tynodd ei Englynion ar "Yr Awenydd," sylw y cyhoedd i'r fath raddau, fel nad ellir amgeu na'u cyfleu ger bron, yn mhlith y detholion hyn o'i waith:—

Awenydd a adwaenir—wrth ei gwedd,
Ac wrth y gwaith wnelir;
Nid yw pob peth a blethir,
O'r un waed a'r awen wir.

Nid rhydd awenydd anian—ydyw swn
Cydseiniaid yn clecian;
O dinc i dinc yn rhincian
Mae oer gerdd rhigymwr gwan.

Llwyd wau rhimynau meinion—dienaid,
Dyna wna ynfydion;
Awen uchel annichon
I'r dyn hurt wir adwaen hon.

E ddyrydd ansoddeiriau,—heb ochel,
Nes beichio brawddegau;
Swn a gwynt, yw'r cwbl sy'n gwau
Yn ei hyllion linellau.

Gwehilion beirdd, gwaelion byd,—ni wydd-
 ant
 Rinweddau'r gelfyddyd,
 Ond llarpiant, hacrant o hyd,
 Wyneb awen a'i bywyd.

Toraeth ar doraeth dyrant—o eiriau,
 Twrw mawr a gadwant;
 Dwyn nerth ein hiaith, dan warth wnant;
 Beirdd o awen, bardduant.

Os gallant ddyfeisio gwallau—gofrestr
 Neu gyfrif mân feiau,
 Rhodreswyr, rhigymwyr gau,
 Ni ddaliant ar feddyliau.

Plisgyn yr englyn a rydd—ddifyrol
 Wledd fawr i goeg brydydd;
 Ni wiw sôn, nad hyny sydd
 Wrth hwn, yn nerth awenydd.

Rhoi meddwl a grym iddo,—yn ei waith,
 Ni wyr ddim am dano;
 Byw ar waeledd a brolio,
 Efo thwyll bydd ei fath o.

Dwl a dyrus dlawd eiriau—ag arnynt
 Glogyrnawg gymalau,
 Dyna geir i gyd yn gwau
 Yn marddoniaeth myrddiynau.

Mae eraill am ymyraeth—a'r awen
 Heb reol na mydraeth,
 Ac am rwygo Cymreigiaeth,
 A blin droi y cwbl yn draeth.

Heddyw'n mysg prydyddion mân—y
 bryddest
 A'r breuddwyd yw'r cyfan;
 Caniad, heb deimlad, heb dan,—
 Rimynir heb rym anian.

Ceir geiriau, ddegau ddigon,—yn wallus
 A llinellau lleicion,
 Yn dynwared yn wirion
 Waith y Sais—mae'n aethus sôn.

Dynwarediad dianrhydedd—yw oll
 O'i waith, heb ei fawredd;
 Harddwch ia—pruddach ei wedd
 Anghenus na'r gynghanedd.

Yn nwylaw meddwon halog,—bu'r awen
 Dan ei briw'n flinderog;
 Gan wyr llaith, oganwyr llog,
 A ganent am y geiniog.

Difyrwch uwch dyferyn—o ddiod,
 Oedd awen bolerddyn;
 A chas aeth o achos hyn
 I deilwng fardd ei dilyn.

Awenyddion rhinweddol—yw rhif fawr
 O feirdd sy'n bresenol;
 Bolerwyr, glerwyr y glol,
 I daw sy'n cael eu deol.

## PRYF Y BEDD.

Yr oedd gan yr awdwr dalent neillduol at ddarllen ac adrodd. Yr oedd ei hyawdledd naturiol, a'i hunan-addysgiant at y gangen hon, yn ei wneud yn darawiadol iawn. Darllenodd a thraddododd y dernyn hwn o'r areithfa, droion, gydag effeithioldeb mawr.

Pryf y beddrod wyf sy'n llechu
 O dan orchudd daiar werdd;
Dyma 'nghartref, lle distawa
 Holl beroriaeth merched cerdd;
I mi rhoddwyd agoriadau
 Llygredigaeth y fro lawn;
Rhag do'd ataf, plygai'r balchaf
 Ar ei liniau'n isel iawn;
Hawlio'r wyf bob un ddaw'n agos
 I'nherfynau ar fy nhaith;
Byw yr wyf fel ymerawdwr,
 Ar fy ngorsedd oer a llaith.

Trigo'r wyf mewn rhwysg unigol
 Yn y distaw feddrod du;
Nid oes eisiau un deyrnwialen,
 Llwng ddur, na chostfawr blu;
Galarwisgoedd mewn angladdau,
 Addurniadau ty y bedd,
Sydd i mi fel blodau beunydd,
 Yn parhau heb newid gwedd:
Tegwch ieuainc a ddaeth yma
 Ataf fi, er oesau maith;
Byw yr wyf fel ymerawdwr
 Ar fy ngorsedd oer a llaith.

Y tywysog a'r cardotyn
 Sydd i mi yn ddau'r un fath;
Rhyddhau'r caethwas o'i gadwyni
 Wnaf pan ddel i'w dŷ dwy lath;
Nid wy'n prisio yn mha leoedd
 Ar y môr ai ar y tir,
Ai o wely ai esmwythfainc
 Yr â dynion i'r daith hir;
Cydnabyddir fy nheyrn wialen
 Ddu, gan feirwon o bob iaith;
Byw yr wyf fel ymerawdwr
 Ar fy ngorsedd oer a llaith.

Fy nghusanau oer a wesgir
 Ar deg rudd y wyryf lon;
A fy mhen a rof i orphwys
 Ar ei hesmwyth glaerwen fron;
Dygant hi mewn priodaswisg
 Wen, fel eira ataf fi;
Bloddest wnaf yn ddidosturi
 Hyd nes blinaf arni hi;
Gan na ddengys oerfelgarwch
 I 'nghynygion a fy ngwaith
Yn y man lle'r wyf yn frenin
 Ar fy ngorsedd oer a llaith.

Gwledda wnaf ar y gwefusau
 A lefarent gynt mor rydd;

Yfed wnaf yr oer wlith hwnw
Adawodd angau ar ei grudd;
Mae yr hyf, y gwan, a'r gwrol,
I fy ngallu'n plygu'n awr;
Nid oes yn y pentwr tywyll
Neb yn fach, na neb yn fawr;
I fy mhalas arwain angau,
Holl deuluoedd daiar faith;
Byw yr ydwyf fi fel brenin
Ar fy ngorsedd oer a llaith.

Gwrando bryfyn, sy'n ymffrostio
Yn dy rwysg ac yn dy waith,
Gelli fod yn rhy hyderus
Ar dy orsedd oer a llaith;
Mae rhyw ddiwrnod bron a gwawrio,
Pan agorir pyrth y bedd,
Dyna'r pryd, mewn goruchafiaeth,
Bwrir dithau lawr o'th sedd;
Dadsylfaenir dy lywodraeth,
Chwelir d'ymerodraeth fawr,
Iesu'n unig fydd yn frenin
Drwy y Nef a'r ddaiar lawr.

---

## Y MUD A'R BYDDAR.

Ni ystyriai yr awdwr hwn yn ddernyn gwreiddiol, ond mewn rhan; math o efelychiad ydyw ar y cyfan: pa fodd bynag, y mae mor boblogaidd, fel nad allwn lai na'i gyfleu yma.

Pa galon na theimla dros fyddar a mud,
Sy'n nghanol perseiniau heb glywed dim byd,
Yn ofer y sua'r afonydd i'r rhai'n;
Y dyfnder, er rhuo, ni chlywant ei sain.

Y daran a rwyga yn erchyll uwch ben,
Pan wisgir â phrudd-der wynebpryd y nen
All drystio nes taro'r gre'digaeth â braw,
Y byddar ni wybydd—mae'n dawel gerllaw.

Peroriaeth yr adar a leisiant o'r llwyn,
Wrth oglais y dymer, sy'n meddu'r fath swyn;
Mae ef yn ei chanol, heb gael rhan o'r wledd,
Yn byw mewn dystawrwydd, mor ddystaw a'r bedd.

Y delyn a'r dympan—ni wyr beth yw'r rhai'n,
Yn mro'i amgyffredion—ni fu math o sain;
Ynfydrwydd i Handel, pen cerddor y byd,
Oedd meddwl effeithio ar fyddar a mud.

Ni chlywodd lais tyner ei fam wrth ei drin,
Na'i chânau diniwaid pan oedd ar ei glin,
Y *lullaby* swynol, ni wyddai am hyn;—
Pan fo pawb yn siriol edrycha fe'n syn.

Llais trist a swn llawen sy'r un iddo ef;
Ni wyr fod llew'n rhuo, na'r oen yn rhoi bref;
Llais ceiliog ben bore, llef gwyliwr yr hwyr,
A rhybudd yr awrlais o'i gyrhaedd sy'n llwyr.

Cael clywed hyawdledd pen campwyr yr oes,
I'r mud ac i'r byddar, un gobaith nid oes,
O'r traeth rhag y llanw nid all llais ei droi,
Na chyd-floedd miliynau ei ddychryn i ffoi.

Ni chafodd y fantais o glywed gair Duw,
Na sain y llefcrydd sy'n dwyn meirw'n fyw;
Ni chlywodd am Nefoedd, nac uffern a'i gwae,
Yn ymyl digonedd mewn eisiau y mae.

Mae'r enaid yn berffaith, a'r teimlad yn fyw,
Ond ar y galluoedd ni weithir drwy'r clyw;
Am ddefnydd y tafod a'r clustiau ni's gwyr,
Rhaid agor y meddwl drwy'r llygaid yn llwyr.

Aeth miloedd o'r Cymry oedd fyddar a mud,
Heb weled un cynyg at addysg, o'r byd;
Darpariaeth sy'n ymyl cin gwladwyr, yn awr,
Pwy beidiai roi cymorth mewn gorchwyl mor fawr?

Mae diwrnod yn dyfod y clyw ef Fab Duw,
Pan gyfyd y meirw o'u beddau yn fyw,
Ni fydd mud a byddar na dall yn y farn,
Gwybyddir y ddedryd gyhoeddir bob darn.

—GWALCHMAI.

---

## AERES MAESYFELIN A BLODEUYN LLANYMDDYFRI.

Y mae tros ddau can' mlynedd wedi myned heibio bellach, er pan yr ennynodd *Canwyll y Cymry* fflam yn y Dywysogaeth na ddiffydd tra pery y Gymraeg. Nid gormod ysywaeth fyddai hòni na chafodd unrhyw lyfr, oddigerth y Beibl ei hun, y fath ddylanwad moesol ar feddyliau y Cymry ag a gafodd llyfr yr hen Ficer Pritchard. Mor syml a diymhongar yw yr iaith, mor gartrefol yw yr arddull, mor bur yw y syniadau, ac mor ddealladwy a dengar yw yr aneirif wersi sydd yn britho ei dudalenau, fel nad yw yn rhyfedd iddo ar ei ymddangosiad cyntaf gymeryd ei safle fel llyfr teuluol, a dyfod yn anwyl gan bawb, o bob oedran a gradd. Diamheu genym y gŵyr y darllenydd fod y llu o gyfarwyddiadau tyner, y cynghorion dwys, a'r annogaethau taerion i fuchedd santaidd a geir yn *Nghanwyll y Cymry* wedi eu bwriadu gan yr awdwr, pan yn eu cyfansoddi, i'w fab Samuel, yr hwn o'i ieuenctyd a roddai arwyddion amlwg o athrylith uchel, ac yn yr hwn yr ymganolai holl serchiadau a gobeithion ei dad. Ond ychydig, efallai,

a ŵyr am ddiwedd galarus a thrychinebus y gwr ieuanc gobeithiol hwn; a'n bwriad yn yr hanesyn canlynol, ydyw adrodd yn eu manyledd y ffeithiau cysylltiedig a'r anfadwaith ofnadwy a lanwodd y wlad ar y pryd, â syndod a dychryn.

Tuag wyth o'r gloch ar foregwaith hyfryd yn nechreu Hydref, y flwyddyn 1638, ymgyfarfu dau ymdeithydd wrth eu boreu-bryd yn mharlwr tafarndy bychan a chyfrifol, yn hen dref Llanbedr. Gŵr tàl, hardd ei lun, hywedd ei wyneb, a boneddigaidd ei ddull, ydoedd yr henaf o'r ddau, er nad allai ef fod dros ddeg-ar-hugain oed, ac oddiwrth liw a ffasiwn ei gôb ddu, a phurdeb y cadach gwyn a amgylchai ei wddf, nid anhawdd oedd casglu mai clerigwr ydoedd. Llencyn tua deunaw oed oedd y llall, gwledig ei wisg, ac anniwylliedig ei osgo; er hyny yr oedd yr ëondra a eisteddai ar ei ruddiau graenus a gwridog, a'r brwdfrydedd a danbeidiai yn ei lygaid duon, yn ddigon ynddynt eu hunain i ddenu cyfeillgarwch a hyder y sawl a ddelent i gyffyrddiad âg ef. Yn ei ymyl yn agored ar y bwrdd, gorweddai cyfrol fechan ysgrifenedig, ar yr hon y craffai yn fanwl o bryd i bryd; dro arall yn ymddangos fel pe bai yn trosglwyddo ei chynnwysiad i'w gof. Syllai ei gyd lettywr arno ar draws y bwrdd, gyda chryn raddau o ddyddordeb, ac yr oedd yn amlwg ddigon oddiwrth ei ddull, a'r edrychiad a daflai yn awr ac yn y man ar lyfr y llall, ei fod yn chwilio am ryw fath o esgus i gychwyn ymddyddan.

"Maddeu i mi, ŵr ifanc," ebai ef o'r diwedd, "am aflonyddu ar dy astudiaeth—a fedri di fy hysbysu pa sawl milldir yw Llanymddyfri oddiyma?"

"Y mae y rhan hon o'r wlad yn ddyeithr hollol i mi," atebai y llanc, "er fy mod yn awr yn teithio tua Llanymddyfri; ac y mae'n ymddangos fod gŵr y tŷ yr un mor anwybodus a minnau yn nghylch yr iawn bellder. Yr unig hysbysrwydd y medr ef roddi, yw fod yn bosibl i mi gerdded yno, a chychwyn yn lled brydlawn, erbyn tua thri o'r gloch y prydnawn."

"Ffordd go hen ffasiwn ac annyben o gyfrif pellder y naill fan oddiwrth y llall ydyw honyna," ebai y clerigwr, "ac un hefyd, na ellir ymddibynu nemawr arni am gywirdeb. Fe'm hysbyswyd i y gallwn farchogaeth yno yn hawdd mewn teirawr; ac os gwir hyny, nid yw yr hyn a glywaist ti yn mhell iawn o'i le. Ond boed y pellder y byddo gan ein bod ein dau yn myned yn yr un cyfeiriad, bydd yn dda genyf gael dy gwmni. Gelli farchogaeth bob yn ail a mi ychydig filldiroedd o leiaf. Y mae'n rhaid i mi fod yn Llandingad rhwng un a dau o'r gloch, i gyfarfod y Parch. Rhys Pritchard; a chan na chaniatâ amser i mi gael dy gwmni yr holl ffordd, efallai y cymeri fi yn esgusodol am dy adael yn mhen awr neu ddwy."

"Hyfrydwch o'r mwyaf i mi fydd y ffafr o'ch cwmnïaeth, os na phery hyny anghyfleusdra i chwi," ebai y gŵr ieuanc. "Fy neges innau yn Llanymddyfri, ydyw bod yn bresennol yn yr ŵyl o ddiolchgarwch am y cynhauaf a gynnelir yno heddyw. Mi glywais gymaint yn nghylch hyawdledd ac athrylith y Ficer Pritchard fel y'm tueddwyd o'r diwedd i fyned ar fath o bererindod i'w wrandaw, ac i farnu drosof fy hun. Y mae ei gyfansoddiadau barddonol ar dafodau pawb, a gresyn o'r mwyaf yn fy nhŷb i, na f'ai y Ficer yn eu hargraffu. Fel y gwelwch, y mae lluaws o honynt genyf mewn ysgrifen, wedi eu casglu yma a thraw o eneuau y werin bobl; ac yr wyf yn eu gwerthfawrogi yn fawr iawn."

Gyda dywedyd hyn estynodd y gyfrol y crybwyllasom am dani eisoes i'r clerigwr, yr hwn ar ol edrych drwyddi yn lled fanwl, a sylwodd, "Y mae yn hynod dda genyf ddeall dy fod wedi ymgymeryd â'r fath orchwyl canmoladwy. Mi gaf gyfleusdra i ymddyddan â'r Ficer heno, a gwn o'r goreu y bydd yn wiw ganddo glywed fod ei bennillion mor boblogaidd; a chan dy fod yn cymeryd cymaint o ddyddordeb ynddo ef a'i weithiau, nid annifyr genyt efallai fydd clywed adrodd amgylchiad a ddygwyddodd dro yn ol sydd wedi effeithio yn ddwys ar feddwl ac iechyd y Ficer hybarch; ac er ei fod yn ymddangosiadol mor lawn o yni a gweithgarwch ag y bu erioed, eto fe ddywedir fod yr adgof o'r dygwyddiad anffodus y cyfeiriais ato, fel cwmwl du, ar brydiau, yn taflu cysgod dros fachludiad ei oes."

Ar ol gorphen eu boreu-bryd, a thalu y westy-wraig yr hyn oedd yn ddyledus, cychwynasant ar eu taith tua Llanymddyfri. Er wedi eu taflu fel hyn megys yn ddamweiniol i gyfeillach eu gilydd, gan eu bod ill dau o gyffelyb chwaeth, nid oedd prinder o bynciau ymddyddan, na diffyg ysbryd na gwybodaeth yn y naill na'r llall, i ddwyn yn mlaen yr ymddyddan yn y fath fodd ag i'w wneyd nid yn unig yn ddyddorol, ond yn fuddiol hefyd. Ond nid ein bwriad yma ydyw ymhelaethu ar natur a thestynau eu hymgom; digon fydd dywedyd fod y ddau wedi eu llyncu i fyny mor llwyr yn y gwahanol faterion y siaradent yn eu cylch, fel y bu agos i'r ieuangaf ollwng ar gof addewid y clerigwr o barth i'r amgylchiad a effeithiasai mor ddwys ar feddwl Ficer Llanymddyfri.

Yr oeddent erbyn hyn agos a chyraedd coppa mynydd Penygarreg, dros yr hwn y mae yn arwain y ffordd o Lanbedr i Lanymddyfri, tra taflai haul y boreu ei lewyrch melynaidd ar yr olygfa dlos o'u cwmpas, pan y trodd y clerigwr at ei

gydymdeithydd gan ei annerch fel hyn. "Yr ydym yn awr yn sefyll ar lecyn gaiff ei anfarwoli gan yr awen, efallai, mewn amser i ddyfod, yn ei gysylltiad â gweithred ysgeler a gyflawnwyd yma yn ein dyddiau ni, pan y gwnaed glanau y Teifi yn ddrychlen o alanasdra ofnadwy. Y tyrau acw yn y pellder, ydyw y cwbl sydd yn awr yn aros yn ngweddill o faenordy Maesyfelin, hardd drigfan hen deulu y Fychaniaid gynt, yn enwog ac yn glodus yn y rhan hon o'r wlad. Tua deng mlynedd yn ol, preswylid y lle gan foneddiges ieuanc a'i phedwar brawd, hiliogaeth olaf y teulu hwnw. Yr oedd yr eneth, yr hon a elwid Elin, yn brydferth annghyffredin, a cherid hi gan fab yr hybarch Rhys Pritchard, Ficer presennol Llanymddyfri. Efallai y dymunit glywed holl fanylion yr hanes galarus hwn; os felly, gan fy mod wedi defnyddio cyfran o'm horiau hamddenol i'w troi i fath o chwedl, mi a'i darllenaf iti." Amlygodd y gŵr ieuanc ei barodrwydd i'w chlywed, ac eisteddodd y ddau i lawr ar ochr y mynydd. Tynodd y clerigwr ysgrif o'i logell, a darllenodd yr hanesyn a ganlyn:—

"Ar lanau tlws a rhamantus y Teifi, amryw flynyddau yn ol, ar y llanerch lle mae'n sefyll yn awr yr adfeilion a welir draw, safai hen faenordy Maesyfelin; ac yno y trigai teulu urddasol y Fychaniaid. I'r teulu hwn, ar yr adeg am yr hon yr ydym yn ysgrifenu, yr oedd unig ferch, tua dwy-ar-bymtheg oed—balchder ei rhieni, a hoffder yr holl wlad oddiamgylch. Cyfarfod ynddi wnai pob tegwch a rhagoriaeth sydd yn gosod neillduolrwydd ar ei rhyw. Hi ydoedd gwrthddrych addoliad holl lanciau y siroedd cymydogaethol, a thestyn caniadau holl feirdd serchglwyfus y fro. Ymgartrefai Gwyleidd-dra yn y gwrid a fantellai ei gruddiau, ac adlewyrchid hawddgarwch Diniweidrwydd yn nyfnderoedd gleision ei llygaid tyner. Dylifai ffrwd o wallt hirllaes megys rhaiadr euraidd dros ei hysgwyddau; a phan yn llefaru, disgynai ei llais fel miwsig seraph oddiar ei gwefusau cwrel. Yr oedd purdeb ei buchedd, a thynerwch ei chalon hefyd, yr un mor nodedig a'i phrydferthwch corfforol. I'r tlawd a'r oedranus yr oedd yn gymwynas-ferch cyson, ac i'r claf a'r methedig yn angel gweinidogaethol. Nid rhyfedd gan hyny, ei bod yn anwyl i'w chydnabod, ac yn wrthddrych edmygedd a chlod cyffredinol. Nid rhyfedd ychwaith fod llu o ymgeiswyr am law un yn meddu ar ei swynion â'i rhagoriaethau hi, er mai'r glust fyddar a dröid i'w proffesiadau oll. Yr oedd ei llaw eisoes wedi ei haddaw, a'i serch wedi ei ymddiried i gadwraeth un oedd yn mhob ystyr yn deilwng o'i dewisiad.

Nid anfynych y mae y gydnabyddiaeth grefaf a hwyaf ei pharhad, yn tarddu yn ymddangosiadol oddiar ddamwain bur, er efallai ei bod o drefniad rhagluniaethol. Y fath oedd poblogrwydd y Ficer Pritchard ar y pryd, fel yr ymgyrchai y wlad o bell ac agos i eglwys Llandingad i'w glywed. Yn mhlith eraill, byddai teulu Maesyfelin yn bresennol yn lled fynych, er gwaethaf hyd y siwrnai. Ar un o'r achlysuron hyn, daeth unig fab y Ficer, a merch brydweddol Maesyfelin, i gyffyrddiad â'u gilydd am y tro cyntaf erioed. Y mae edrychiad weithiau yn fwy hyawdl na geiriau, ac er i ymgyfarfyddiad y ddau hyn gael ei gyfyngu y tro hwn i edrychiad yn unig, dan ddylanwad y ddeddf anamgyffredadwy hòno sydd yn gweithredu mor nerthol ar y serchiadau, darllenodd y naill deimladau calon y llall, yn yr un edrychiad hwnw.

Yr oedd Samuel, mab yr hybarch Rhys Pritchard, yn un o eithriadau gogoneddusaf natur. Mewn pryd, agwedd, ac ystum, dynesai mor agos at berffeithrwydd yn ngolwg y rhyw deg ag y mae'n bosibl i ddyn fod. Yn ddeunaw oed, ac o daldra uwch na'r cyffredin; yn esmwyth ei symudiadau, yn foesgar a boneddigaidd ei ddull, gyda llygaid duon tyner, ac ystyrgar, a gwallt du modrwyawg yn estyn y'mron hyd at ei ysgwyddau, un ydoedd nad allai odid i ferch lai nag edrych yn garuaidd arno. Pan, yn ychwanegol at hawddgarwch ei berson, y dyweder ei fod yn meddu ar alluoedd meddyliol o radd uchel; amgyffrediaeth barod, araith ddengar, a thafod ffraeth; gyda holl ddysg, medr, a thalent ei dad wrth ei gefn, i'w dywys a'i gyfarwyddo, fe wêl y darllenydd mai nid yn anmhriodol y gelwid ef yn "Flodeuyn Llanymddyfri," ac nad oedd fawr ryfedd fod serchiadau a gobeithion yr hen Ficer yn ymganoli ynddo.

Po ddyfnaf y bydd y serch, mwyaf oll yw awydd y rhai f'o dan ei ddylanwad i'w gadw yn ddirgelwch. Ac felly yr oedd gyda'r ddau hyn. Er nad oes unrhyw le i gredu y buasai rhieni y foneddiges ieuanc,—pe dygasid y mater ger eu bron,—yn debyg o daflu y rhwystr lleiaf ar ffordd ymgyfeillach eu merch â mab y Ficer, y mae y dull lladradaidd yn mha un yr arferai y ddau gyfarfod, yn ddigon i arwain i'r dybiaeth nad ymddiriedasai y naill na'r llall y dirgelwch o'u serch i'w rhieni. Yn y penrhyddid dall ac aflywodraethus sydd yn nodweddu addolwyr "y duw bach," can gynted ag y gorphenai y llanc ifanc ei efrydiaethau boreuol, ymgyrchai o ddydd i ddydd i uwchder Penygarreg. Cylymai ei gadach ar ben gwialen, yr hon a ddaliai yn ei law fel lluman-bren; a phan na byddai perygl i neb oddeutu'r tŷ ei gweled, atebid yr arwydd hwn o serch, gan yr eneth hithau, drwy chwifio ei chadach o un o ffenestri uwchaf y Plas, neu oddiar ben deildy bychan a adeiladesid iddi

gan ei thad, ar fryncyn yn ymyl y tŷ. Yna prysurai y ddau i lawr i'r dyffryn i gwrdd eu gilydd, nes sefyll wyneb yn wyneb un ar bob tu i'r Teifi, ac os byddai yr afon yn anhyryd, fel y dygwyddai yn fynych, nofiai y gŵr ieuanc drosodd, yn ddiystyr hollol o ganlyniadau y fath ymddygiad annoeth.

Llwybr caregog yw llwybr cariad cywir. Gweled yn ddamweiniol, a charu yn sydyn, cyfarfod dan anhawsderau, a gwahanu mewn poen, yw tynged arw aml gwpl a ddynoethant eu bronau i saethau Ciwpid; ac i'r dyben o egluro y dirfawr anffodion oedd yn aros mewn stôr i'r ddau hyn, bydd yn ofynol i ni ddychwelyd am dro at ein hanes o deulu Maesyfelin.

Heblaw yr eneth, yr oedd i'r teulu hefyd bedwar mab—bechgyn afradlon, gwamal, drwg eu moes, a'u bryd yn unig ar wneyd drygioni. Dilynent arferion gwaethaf a llygredicaf yr oes y trigent ynddi, heb hidio cyngor, rhybudd, gwawd na sèn, a drygsawr oeddynt yn ffroenau y wlad. Dan yr amgylchiadau gofidus hyn, naturiol ydyw meddwl fod y rhieni trist yn eu henaint, yn edrych gyda phryder ar ddyfodol eu plant. Gwelai y tad nad oedd yr amser yn mhell pan y rhoddid ef i orphwys yn nystawrwydd pridd y llan, o gyrhaedd y byd a'i bethau, heb fodd i weini cysur nac ymgeledd i'w ferch, na gallu ychwaith i attal rhuthr chwyrn ei feibion ofer tua distryw. Anmhosibl oedd iddo gau ei lygaid i'r ffaith, os gadewid yr hen faenordy, a'r tiriogaethau eang perthynol iddo, i'w feibion, y treulid y cwbl mewn afradlonedd. Felly, dan deimlad dwys o'r sicrwydd hwn, dirymodd yr ewyllys a wnaethai flyneddau yn ôl; a chan na allai yn gyfreithlawn adael ei feddiannau i'w ferch, arwystlodd yr ystâd i'r fath raddau, neu, mewn geiriau eraill, cododd gymaint o arian arni, fel na byddai o unrhyw les i'r meibion hyd nes yr ad-delid y gwahanol symiau a fenthyciasid yn y dull hwn. Mewn ewyllys newydd a wnaeth, gadawodd swm blyneddol yn unig i bob un o'i feibion, a chorff ei gyfoeth i'w ferch. Yn nygwyddiad ei marw hi yn ddieppil, dychwelai y cwbl yn ol i'w brodyr—un hanner i'r henaf, ar y telerau y rhyddhäai yr ystâd oddiwrth y ddyled oedd arni, a'r hanner arall yn symiau cyfartal rhwng y tri ieuangaf.

Yn mhen enyd, ar ol trefnu ei dŷ fel hyn yn gall, casglwyd yr hen ŵr at ei dadau; ac ar ddiwrnod yr angladd, ymgyfarfu holl berthynasau a chyfeillion yr ymadawedig yn un o ystafelloedd eang y Plâs, i glywed yr ewyllys yn cael ei darllen gan gyfreithiwr y teulu. Haws fydd i'r darllenydd ddychymygu, nag i ni ddesgrifio, syndod y cwmni, a dirfawr siomedigaeth y meibion, ar ddiwedd y seremoni. Yn eu cydymdeimlad a'r foneddiges ieuanc, teimlai ei chydnabod oll yn lled foddus fod pethau wedi eu trefnu fel yr oeddynt; ond am y meibion, yr oedd eu digofaint hwy tu hwnt i ddirnadaeth. Rhegent eu chwaer, a melldithient goffadwriaeth eu tad, yn yr iaith fwyaf arswydus. Cyhuddent y cyfreithiwr o ddichell, ac o gydfwriadu â'u mam yn eu herbyn. Bygythient osod y tŷ ar dân, a lladd pob anifail ar y tyddyn. Y fath mewn gair oedd y cythrwfl a achlysurwyd ar y pryd, fel y teimlai y dyeithriaid yn dda ganddynt gael cyfleusdra i ddianc o gyrhaedd sŵn eu llwon a'u rhegfeydd.

Dan yr amgylchiadau hyn, hawdd yw dychymygu na chafodd y fam a'r ferch nemawr heddwch yn ystod yr wythnosau dilynol. Yr oedd marwolaeth ei gŵr ynddo ei hun yn drallod digonol i effeithio yn ddwys ar feddwl y fam; ond mwy poenus na'r cyfan i'w theimladau, oedd ymddygiad annghariadd a di dosturi ei meibion. Rhwng ei gofid yn herwydd eu hafradlonedd hwy, ar y naill law, a'i phryder yn nghylch ei merch ar y llaw arall, nid hir y goroesodd ei phriod. Syrthiodd yn raddol i ddihoenedd annobeithiol, a chyn pen ychydig fisoedd, dodwyd hi i orphwys yn ymyl hoff gydymaith ei bywyd, yn meddrod y teulu.

Gadawyd Elen fel hyn mewn cyflwr diamddiffyn iawn, yn wrthddrych o ddygasedd i'w brodyr, ac yn nôd parhaus i'w hanmharch a'u trahausder. Yn nghanol ei chyfoeth i gyd, ymofidiai yn fawr am fod ei thad, yn ei gariad ati, a'i ofal drosti, wedi trefnu ei amgylchiadau yn y dull y gwnaeth; a phe b'ai yn ei gallu ni phetrusai funyd drosglwyddo yr oll a feddai i'w brodyr, i'r dyben o adennill eu serch, ac ailfeddiannu yr heddwch a gollasai am byth.

Yn ol telerau yr ewyllys, fel y sylwasom o'r blaen, dychwelai yr arian a adawsid i Elen yn ol i'r meibion, pe dygwyddai iddi hi farw yn ddieppil. Mewn trefn gan hyny, i sicrhau yr amcan hwn, prif ofal y brodyr annynol hyn yn y lle cyntaf, oedd ei rhwystro i briodi, ac yn y lle nesaf, rhag iddi fyw yn rhy hir mewn cyflwr o forwyndod, ei phoeni i farwolaeth, drwy ei llwytho yn feunyddiol â phob anfri a sarhâd ag y gallai athrylith Satan ddyfeisio. I'r dyben hwn gwylient ei holl symudiadau gyda dyfalwch sarff yn gwylio ei hysglyfaeth; ac anfynych pan yn absennol o'r tŷ, y byddai allan o olwg y naill neu'r llall o honynt. Dan y fath wyliadwriaeth boenus a chaethiwus, gwnelid ei bywyd yn faich o'r trymaf iddi. O dipyn i beth dechreuodd ei hiechyd adfeilio, ac ymollyngodd yn raddol i gyflwr o syrthni a digalondid. Gwywodd y rhosynau oedd ar ei gruddiau, collodd ei llygaid yr hoewder a'u bywiogent gynt, a daeth ei bron yn nŷth i bob math o ofnau ac amheuon. Un

cysur yn unig a adawyd iddi. Teimlai fod y llanc i'r hwn yr ymddiriedasai ei serch, yn aros yn ffyddlon i'w addewid. Aethai wythnosau a misoedd heibio bellach er's pan yr ymgyfarfuasant olaf, er hyn i gyd, ymgyrchai Samuel o ddydd i ddydd i ben y mynydd, gyda'r gobaith o weled arwydd ei anwylyd yn ei wahodd i Faesyfelin; a chyn hir coronwyd ei ffyddlondeb â llwyddiant.

"Un diwrnod aeth holl frodyr yr eneth ieuanc allan i hela, a gadawyd hi wrthi ei hun gartref. Gwyliodd hwynt o'r golwg, yna brysiodd tua'r bryncyn uwchben y Plâs. Cylymodd ei chadach ar ben y deildy bychan a adeiladasid iddi yma gan ei thad, ac yno edrychodd am cnyd yn bryderus tuag uchder Penygarreg. Cyn pen nemawr fynydau, gwelai arwydd cyffelyb i'r eiddo hi yn chwifio yn yr awel, a gwybu ar unwaith mai arwydd ei hanwylyd ydoedd. Brysiodd yn ebrwydd at lan y Teifi, ar y tu arall i'r hon y safai gwrthddrych ei serch. Gan fod yr afon yn uchel, neidiodd y gŵr ieuanc i'r dŵr, a nofiodd i'r ochr draw, lle y derbyniwyd ef gan ei gariad ofnus, â breichiau agored.

"O! pa iaith all ddesgrifio y teimladau gwresog a lanwant fynwesau cariadon, pan yn cyfarfod ar ol ymwahaniad maith? Y mae i bawb ei bleser neillduol: i'r fam, ei phlentyn newydd eni; i'r cybydd, ei drysorau o aur; i'r milwr, y clod sydd yn deillio o'i wrhydri; i'r meddwyn, ei win; i'r plentyn, ei degan; i'r bardd, ei feddylddrychau, ac i'r dyngarwr, ei weithredoedd da; ond nid yw y pleserau hyn yn ddim wrth eu cymharu a gwynfydedigrwydd cusan cariad. Melus i'r clwyfedig feddyginiaeth; i'r newynog ymborth; i'r sychedig ddiod; i'r ysig ei fron ddyddanwch a chysur; ond mil melusach na'r melusderau hyn i'w geiriau serch yn nghlustiau geneth ieuanc. A charai y ddau hyn eu gilydd gyda chariad annghedrolaf y fron ddynol; a mynych yn y modd y desgrifiwyd uchod, pan na byddai brodyr yr eneth ar y ffordd, y cwrddent yn nghyd i arllwys teimladau tyneraf eu calonau i glustiau eu gilydd, ac i ymhyfrydu yn y gobaith y caent cyn pen nemawr dro, gyfarfod heb na rhwystr na gwrthwynebiad i sylweddoli y dysgwyliadau dedwydd yr ymlonent ynddynt dan yr anhawsderau oedd ar eu ffordd yn awr.

Pa un ai fod y brodyr wedi blino ar y gorchwyl o wylied eu chwaer, ynte fod y dasg hòno yn ymyryd yn ormodol â'u gwahanol bleserau, ni wyddis yn iawn. Y mae un peth o leiaf yn sicr, iddynt yn raddol lacäu yn eu gwyliadwriaeth, a thrwy hyny roddi cyfleusdra yn awr ac eilwaith i'r eneth a'r llanc gyfarfod fel y crybwyllasom eisoes. Ond, fel y mae'n dygwydd yn fynych, fe gynnyrchodd anniofalwch y brodyr esgeulusdra yn y cariadon. Un diwrnod, ar ol cwrdd yn ol eu harfer ar lan y Teifi, a thra yn eistedd ochr yn ochr ar foncyff hen bren oedranus a estynai ei ganghenau cysgodfawr uwch eu penau, megys deildy aruthrol, canodd y llencyn i'w gariad y gân fechan argoelus a ganlyn, yr hon a dynodd y dagrau o lygaid yr eneth ddiniwed a thyner-galon:—

"'O tyred, anwylyd fy mron, gyda mi
At lanau y Teifi furmurol ei lli',
I rodio dan gysgod cauadfrig y gwŷdd,
Dan wenau yr huan, yn llewyrch y dydd,
I selio'n dyweddi yn ngwyddfod y nen,
A Duw a'i angylion yn dystion uwchben.'

"'At lanau y Teifi furmurol ei lli','
Atebai yr eneth, 'y deuaf yn hy';
Wrth rodio dan gysgod cauadfrig y gwŷdd,
Dan wenau yr huan, yn llewyrch y dydd,
Cawn selio'n dyweddi yn ngwyddfod y nen,
A Duw a'i angylion yn dystion uwchben.'

"Fel yna gŵr ieuanc golygus ei lun
A ganai dan ffenest' ystafell ei fûn,
Fel yna'n garuaidd ei mynwes, y ferch
A ciliai serchganiad hoff wrthddrych ei serch;
Ond gweision ddygasant eu bwriad i'w thad,
A'r llencyn a syrthiodd yn aberth i'w brad.

"Yn nghochwaed ei galon y trochwyd y cledd,
A lladdwyd y llencyn dihafal ei wedd.
Wrth wel'd ei lofruddio, o'i ffenestr fry,
Y taflodd yr eneth ei hunan yn hy
Ar gorff ei hanwylyd, ac felly yn syn
Y seliwyd gan Angau ddyweddi'r ddau hyn."

Yn brofiadol o'r anhawsderau a orweddent ar ffordd ei garwriaeth ef ei hun, taflodd y llencyn holl frwdfrydedd ei enaid a theimlad ei galon i'w lais yn nghaniad y gân hon; ac mor ddystaw a neillduedig oedd y lle yr eisteddai y ddau ar y pryd, fel y cludwyd y nodau tyner ar adenydd ysgeifn yr awel i glustiau un o frodyr yr eneth, yr hwn a ddygwyddai fod yn myned heibio ar y pryd. Denwyd ef dan ddrwgdybiaeth yn nghyfeiriad y llais a glywsai, a chyrhaeddodd mewn pryd i weled ei chwaer, a Blodeuyn Llanymddyfri, yn eistedd ochr yn ochr ar foncyff yr hen bren. Dygodd yr hysbysrwydd i'w frodyr, ac eilwaith y gosodwyd ar droed wyliadwriaeth dros symudiadau eu chwaer. Darganfyddasant un diwrnod, arwydd yn chwifio o ben y deildy bychan gerllaw y Plâs, ac arwydd arall yn ei ateb o uchder Penygarreg. Arhosasant dros ysbaid ychydig fynydau i weled y canlyniad, a chawsant y boddhad maleisus o fod yn llygad dystion o gyfarfyddiad tebyg i'r rhai a ddesgrifiwyd genym eisoes. Yr oedd hyn yn ddigon. Tarawyd hwy â meddylddrych sydyn i gael y llanc ifanc i'w magl; a phenderfynwyd roddi y ddyfais fileinig mewn gweithrediad y cyfleusdra cyntaf a gaent. Felly bu; a'r boreu canlynol tra yr oedd eu chwaer yn brysur yn y

tŷ gyda'i gorchwylion teuluaidd, cylymodd un o honynt gadach ar ben y deildy, a phrysurasant wedyn at lan y Teifi, i wylied. Yn mhen ychydig fynydau gwelent arwydd y gŵr ieuanc yn chwifio o ben y mynydd gyferbyn. Ymguddiasant yn ebrwydd yn mysg y llwyni, i aros dyfodiad eu hysglyfaeth; ac yn y man, wele y llencyn diniwed yn dynesu ar frys, ac yn nofio ar draws yr afon, yn llawn awydd i weled ei anwylyd. Ond gan nad oedd yr eneth i'w gweled yn unman, a than y dybiaeth ei bod yn ymguddio o'i olwg yn chwareugar yn mysg y brwyn a'r llwyni, prysurodd y llanc o dwyn i dwyn i chwilio am dani, gan ei gwahodd yn llawen ei lais, "Tyr'd o dy ymguddfa, fy Elen deg! tyr'd i maes, fy mûn, i groesawu dy anwylyd." Er hyn i gyd ni wnai Elen ei hymddangosiad, ac ni tharawai ei llais cynefin ar ei glustiau; i'r gwrthwyneb, disgynai swn traed dyeithr ar ei glyw, ac yn y man, i'w syndod dirfawr, gwelai bedwar o ddynion yn rhuthro tuag ato, â bwriad uffernol yn argraffedig ar eu gwynebau. Dan ddylanwad braw annesgrifiadwy, ac yn hollol anwybodus o barth i bwy ydoedd ei erlidwyr, rhedodd y llencyn am ei einioes tua gallt o goed yn nghyfeiriad Maesyfelin, a thrachefn, heb aros fynyd i anadlu, fel hydd ymlidiedig i fyny y mynydd tua'r tŷ, a meibion y Plâs yn ei ddilyn fel gwaedgŵn.

"Y mae'r llwynog wedi rhedeg i'r fagl o'i wirfodd," dywedai yr henaf o honynt, wrth weled fod y gŵr ieuanc wedi myned i'r tŷ. "Yn awr, os ydych am rwystro Elen i briodi a chael plant i'n hysbeilio o'r etifeddiaeth a ddylasai fod yn eiddo yn gyfangwbl i ni, byddwch wrol a phenderfynol, ac mi addawaf i chwi y daw yr hyn a ewyllysiwch i ben. I'r dyben yma, bydd yn ofynol i'r llencyn hwn, pwy bynag ydyw, gael ei osod o'r neilldu—ei ladd, a'i gladdu—ac i'w farwolaeth fod yn ddirgelwch i bawb ond i ni ein hunain. Os ydych yn unol â mi yn hyn, mynegwch yn ddioed." "Yr ydym," oedd ateb unfrydol y lleill, "bydded fel y dywedi, a melldigedig fyddo'r fraich a estynir i'w achub." Gyda dywedyd hyn, prysurasant tua'r Plâs; ac ar ol arfogi eu hunain gyda chyllyll, a pharotoi o honynt sach, a darn o raff, aethant yn un dorf tuag ystafell eu chwaer, lle y cawsant y pâr ieuanc yn eistedd ochr yn ochr, mewn ofn a phryder anarferol. Ar eu dyfodiad i mewn, rhoddodd Elen ysgrech uchel a thorcalonus, a syrthiodd ar unwaith i lewyg yn mreichiau ei chariad. Ond ni thyciai wylofain y naill, nac ieuenctyd y llall, i attal y dynion hyn yn nghyflawniad eu hamcan cythreulig. Syrthiasant ar y gŵr ieuanc diamddiffyn gyda gwallgofrwydd bwystfilod rheibus. Brathasant gadach i'w enau i attal ei floeddiadau, rhwymasant ei ddwylaw o'r tu ol i'w gefn; a thynasant sach dros ei ben, gan ei gylymu am ei draed. Yna neidiasant ar ei gorph, a thorasant ei holl asenau; a thra griddfanai eu hysglyfaeth ei fywyd ymaith dan ing ei arteithiau, ymaflasant yn ei wddf, a chan benlinio ar ei fron, tagasant ef i farwolaeth. Yna dygwyd y corff ganddynt yn y sach at lan y Teifi, a thaflwyd ef i lyn dwfn yn yr afon. Deuwyd o hyd iddo, fodd bynag, yn mhen ychydig ddiwrnodau wedyn, amryw filldiroedd yn is i lawr; ond bu pob moddion yn aflwyddiannus ar y pryd, i ddyfod o hyd i wybodaeth bendant yn nghylch y lle a'r modd y cyfarfu â'i farwolaeth, er fod drwgdybiaeth gref yn bodoli yn meddyliau pawb, o barth i bwy ydoedd y troseddwyr.

"Fel hyn, yn moreuddydd ei oes, y syrthiodd Samuel, Blodeuyn Llanymddyfri; a threfnwyd yn dirion na byddai i'r eneth anffodus ei oroesi yn hir. Ymaflwyd ynddi gan wallgofrwydd anobeithiol, a chrwydrai o gwmpas y wlad yn noeth ei dwyfron, yn wyllt ei threm, a'i gwallt hirllaes euraidd yn chwifio yn yr awel oddeutu ei phen. Llwyddodd un diwrnod i ochel y rhai a'i gwylient, a chroesodd y mynyddoedd i Lanymddyfri, lle y cafodd noddfa yn nhŷ tad y llanc ifanc a garai gymaint. Derbyniwyd hi gan yr hen ŵr fel ei blentyn ei hun, ac ymddygodd tuag ati gyda holl diriondeb tad. Ond yr oedd Elen dêg, erbyn hyn, tu hwnt i adferiad; a chyn pen nemawr wythnosau, dodwyd hi i orwedd yn yr un bedd a'i chariad anffodus.

"Galarodd Rhys Pritchard yn hir am ei fab llofruddiedig, ac yn ei ofid annghysuradwy, melldithiodd y brodyr a fuasent yn enog o'r weithred ysgeler; melldithiodd wlad eu genedigaeth; eu hannedd a'u haelwyd; eu tai a'u tiroedd; eu cnydau a'u hanifeiliaid, a phob peth a berthynai iddynt, ac y mae y felldith hono yn aros ar Faesyfelin hyd y dydd hwn.

"Ar ol unwaith gael yr etifeddiaeth i'w dwylaw eu hunain, dechreuodd y brodyr annynol hyn ymrafaelio a'u gilydd yn ei chylch, a throwyd y tŷ yn fath o uffern ar y ddaear gan eu cynhenau. Yn eu meddwdod parhaus, tyngent, rhegent, a chernodient eu gilydd gyda'r fath fileindra, fel yr ofnai eu cydnabod gynt, fyned yn agos at y tŷ. Un noson ddu ystormus, a'r gwynt yn rhuo o gwmpas hen faenordy Maesyfelin fel gwyllt ysgrechiadau lleng o ysbrydion drwg, dywedir fod sŵn eu rhegfeydd, eu llwon a'u hymrafaelion, i'w clywed o hirbell yn ymgymysgu megys â dwndwr a chynddaredd y dymhestl. Tua deuddeg o'r gloch, gwelwyd fflamau yn rhuthro o ffenestri y tŷ. Deffrowyd yr holl wlad ar unwaith, a brysiodd y trigolion o bell ac agos i roddi y cynorthwy oedd yn eu gallu i attal y tân rhag ymledu. Ond ow! y fath olwg

oedd yn eu haros! Mewn ystafell eang, yn nghanol dodrefn, gwydrau a photeli drylliedig, cafwyd tri o'r brodyr gresynus hyn, yn gorwedd yn feirw ar draws eu gilydd, ar henaf yn crogi oddiar drawst yn nghronglwyd y gegin—ei ddillad wedi eu rhwygo, a'i ddwylaw yn gochion â gwaed ei frodyr!

"Y mae Maesyfelin yn awr yn annghyfannedd; y tô wedi syrthio i mewn; y muriau yn malurio ac yn ymollwng i lwch; a drain a mieri yn hulio yr ardd a'r lawnt a addurnid gynt â blodau a phrysglwyni dewisedig. A mynych yn nyfnder nos, dywed y trigolion cylchynol, gellir gweled ysbryd Elen yn ymsymud o gwmpas y deildy bach ar y bryncyn uwchben yr adfeilion, neu yn rhodio yma a thraw yn mysg y llwyni ar lan y Teifi, a drychiolaeth ei chariad yn sefyll ar uchder Penygarreg; tra o Faesyfelin cyfyd ysgrechiadau annaearol y rhai a syrthiasant mewn modd mor hynod dan farnedigaeth y Duw a ddywedodd, "A dywallto waed dyn, trwy ddyn y tywelltir ei waed yntau."

Gwrandawsai y llanc ifanc gyda'r astudrwydd difrifolaf ar yr hanes echryslawn, ac eisteddai yn awr yn berffaith ddystaw, a'i olwg wedi ei hoelio megys ar dyrau adfeiliedig Maesyfelin, a'r golygfeydd tlysion o bob tu i'r Teifi, fel pe yn ceisio, trwy rym ei ddychymyg, ddwyn o flaen ei lygaid, holl weithrediadau y prudd-chwareu teuluol hwn. Deffrowyd ef o'i synfyfyrdod gan y clerigwr, yr hwn, ar ol edrych ar ei oriawr, a sylwodd, "Y mae yn hen bryd i mi frysio tua Llanymddyfri; ac er fod yn ddrwg genyf dy adael fel hyn ar hanner y ffordd, diamheu genyf y caf gyfleusdra i dy weled yn Llandingad heno, neu yfory." Cyfododd y ddau ar hyn o'u heisteddleoedd ar y glaswellt, ac ar ol canu'n iach i'w gilydd, neidiodd y clerigwr ar ei geffyl, a marchogodd ymaith. Gan nad oes a fynom yn mhellach a'r ddau hyn, ninnau a ganwn yn iach i'r darllenydd, yn yr hyder na fu yr hanesyn a adroddwyd yn anfuddiol nac yn annyddorol iddo.

—J. EVANS (EILONYDD) *i'r* CEINION.

---

## PRYDFERTHWCH AC ARDDUNEDD.

Gosododd y Creawdwr ei greadur sanctaidd i ddechreu byw mewn byd llawn o Brydferthwch ac Arddunedd: a threfniant teilwng o Dduw oedd hwn. Oblegyd math—a'r math uchaf o brydferthwch ydyw sancteiddrwydd; ac mewn byd tlws a mawreddig y gall creadur sanctaidd deimlo wrth ei fodd. Trueni oedd ei ddyrysu, a gwahanu ansoddau mor gydnaws â phurdeb a hawddgarwch. Gresyn oedd i ddyn, yr unig greadur ar y ddaear oedd yn alluog i ddal sancteiddrwydd, ac i werthfawrogi prydferthwch, ddyfod y brycheuyn cyntaf ar wyneb y ddaear! Hyny a wnaeth, collodd ei uniondeb, diflanodd ei ardderchogrwydd, a daeth yn halogedig a thruenus. A gollodd anian ei phrydferthwch a'i gogoniant pan y syrthiodd coron ei brenin? A wridai y rhosyn yn dlysach yn Eden nag y gwna yn Nghymru? A ymddangosai y môr yn fwy arddunol cyn y cwymp nag yr ymddengys ar ei ol? Dichon y gwnai. Efallai i bechod anffurfio llawer ar wyneb y greadigaeth. Tueddir ni, yr un pryd i feddwl, fod mwy o brydferthwch yn aros nag sydd o chwaeth i'w fwynhau, a bod y ddaear yn llawnach o arddunedd nag o sancteiddrwydd. Yn wir, ymddengys yr ansoddau hyn yn holl bresenol; canfyddir hwy yn mhob man ac yn mhob peth, ar wyneb y ddaear, ac ar wyneb y nefoedd, yn y blodau, ac yn y cymylau, yn y môr ac yn yr haul, yn y creigiau ac yn y sêr, drwy y greadigaeth i gyd.

A grëwyd y fath gyflawnder o brydferthwch ac arddunedd yn ofer? A'i yn ddi amcan yr adnewyddir hwy o flwyddyn i flwyddyn? Nage, yn ddiau. Yn hytrach, bwriedir iddynt gynorthwyo yn addysgiaeth dynolryw; a gwnant hyny, er yn ddystaw, mewn dull tra effeithiol. Gwasanaetha pob gwrthddrych hardd, pob cyfansoddiad cain, a phob darlun tlws, i goethi chwaeth, ac i buro meddyliau, y rhai a fyfyriant arnynt; a thrwy hyny hyrwyddant wareiddiad a dyrchafiad cenedloedd. Ac edrychir ar adnabyddiaeth o, a chariad at, ddeleidrwydd, a mawredd, fel un o'r prawfion diogelaf o ddiwylliad meddyliol uchel. Dysgir ni fod y ddaear yn brydferthach, yn dwyn mwy o flodau yn y cyfnod presenol, nag a ddygai mewn un cyfnod blaenorol i ymddangosiad dyn, ac awgrymir drwy hyn, fod tlysni yn un o anghenrheidiau y ddynoliaeth. Hyn hefyd ydyw tystiolaeth y galon; un o'i dymuniadau dyfnaf hi, ydyw ei dymuniad am hawddgarwch ac arucheledd. Cynghaneddant â meddylddrychau mwyaf dyrchafedig ein natur, deffroant ei theimladau mwyaf anrhydeddus; a llanwant hi â dedwyddwch pur. Wrth ystyried fod yr ansoddau hyn, ar y naill law mor gydweddol ag anianawd ein heneidiau, ac, ar y llall, mor groes i halogrwydd, ac mor gydnaws â sancteiddrwydd; naturiol ydyw meddwl fod ynddynt duedd i ddyrchafu dyn o'i sefyllfa bresenol o lygredigaeth a thrueni, i'w sefyllfa gynhenid o ddiniweidrwydd a hyfrydwch. Deffroant ynom adgofion am Baradwys, a hiraeth am fyd o dlysni anedwinol; dyrchafant

ein meddyliau oddiar y ddaear, gan eu sefydlu ar y pur, y perffaith, a'r tragwyddol. Amlygir gogoniant y Crëawdwr drwy arddunedd y grëadigaeth. Megys mai oddiwrth Dduw y daeth prydferthwch, arweinia yr enaid yn ol at Dduw. Ni ddylem, o ganlyniad golli unrhyw gyfleustra i weled gwrthddrych hawddgar neu fawreddig; oblegyd nis gallwn fyfyrio yn briodol ar wrthddrychau o'r fath, heb dderbyn yr argraffiadau mwyaf ffafriol i ddiwylliaid deallol, moesol, ac ysprydol. Gwasanaethed hyn fel rheswm dros ddwyn y fath faterion i sylw.

Er na chafodd y naill na'r llall gyfiawnder, talwyd llawer mwy o sylw i brydferthwch nag i arddunedd. Archwilid y cyntaf gydag aidd gan yr hen athronwyr Cenedlig, yn arbenig gan y Groegiaid; *κόσμος* y galwant hwy y bydysawd. Llafuriodd Plato, ac Aristotle yn egniol i egluro ei natur, soniant yn ddiddiwedd am *τὸ καλόν*. Yn ngwymp Groeg, chwalwyd cartref Athroniaeth; diflanodd o blith dynion; ac i'w chanlyn, diflanodd yr efrydiaeth o brydferthwch. Yn y canol-oesoedd gafaelwyd mewn amrai gangenau o wybodaeth, a gweithiwyd hwy gydag ymroddiad digyffelyb; ond nid oedd hon yn un o honynt. Ychydig o serch yr Ysgolor, a'r Mynach, a enillodd y mater hwn. Mewn amseroedd diweddar, annaturiol fuasai dysgwyl dim yn y cyfeiriad hwn oddiwrth yr athronwyr *empirical;* oblegyd ni fodolai unrhyw gydnawsedd rhwng eu meddyliau â phwnc mor ysprydol. Naturiol ydyw meddwl na welwyd y maes hwn o gwbl gan Locke, na Condillac; a llai fyth y meddyliasant am ei ddiwyllio. Oddeutu can' mlynedd yn ol y dechreuodd y mater hwn adenill ei safle briodol fel cangen o wybodaeth; a dygwyd hyny oddiamgylch yn benaf, drwy ymdrechion Kant, a'r athronwyr Almaenaidd. Hefyd ysgrifenodd Edmund Burke, yn Lloegr, lyfr ar y pwnc. Derbynia yn bresenol ystyriaeth gydweddol a'i bwysigrwydd: efrydir ef gan athronwyr pob gwlad. Hawdd, er hyny, ydyw gweled mai efrydiaeth ddiweddar ydyw; canys ni fedd enw neillduol iddi ei hun; gelwir hi gan y Saeson, weithiau, yn *Aesthetics;* weithiau yn *Kalology,* ac weithiau yn yn *Kallisophy.* Bedyddir hi pan fydd i athrylith fawr gyflwyno ei holl egnion i'w hegluro a'i mawrhau. Gyda golwg ar arddunedd, ysgrifenodd Longinus, yn yr hen amseroedd, a barnu oddiwrth y darn sydd yn aros, draethawd rhagorol arno. Mewn amseroedd diweddar, ysgrifenodd Burke, Blair, ac ereill, ychydig ar y mater. Telir iddo yn bresonol, efallai, fwy o sylw nag a dalwyd iddo erioed o'r blaen; ond fel pwnc gwahanol i brydferthwch, nid ydyw hyd yn hyn, wedi enill ei safle briodol mewn Athroniaeth. Crybwyllir weithiau mewn llyfrau Cymreig, am brydferthwch ac arddunedd; ond yr unig Waith, hyd y gwyddom ni, yn y cyfeiriad hwn, a gyfansoddwyd gan Gymro, ydyw Pryddest ar brydferthwch, gan Dewi Wyn o Esyllt. Ni ddylem ychwaith, ryfeddu llawer at hyn; canys y mae y materion hyn y tu fewn i gylch Athroniaeth; ac hyd yn hyn, ni feiddiodd yr un Cymro fod yn athronydd. Er fod genym nifer fawr o ddynion ag ydynt o ran eu teithi meddylïol yn athronwyr gwirioneddol; ac er fod yn ein plith lawer iawn o ryw fath o athronyddu; ni feddwn eto, yn ystyr briodol y gair, Athroniaeth o gwbl. A phe buasai genym, efallai mai ychydig fuasai genym ar brydferthwch ac arddunedd; oblegyd at y defnyddiol a'r cadarn, yn hytrach nag at y tlws a'r mawreddig, y rhed, neu yn fwy priodol, y rhedai chwaeth y Cymro. Cadernid, ac nid teleidrwydd, ydyw nodwedd amlycaf ein hadeiladau henafol; megys ein hen gestyll, cromlechau, carneddau, &c. &c. Tueddir ni yr un pryd, i feddwl na cheir odid wlad dan haul, lawnach o geinder ac arucheledd naturiol na Chymru; ac yn gyson â hyn, efallai nad oes mewn unrhyw iaith fwy o eiriau cyfystyr a phrydferthwch ac arddunedd, nag sydd yn yr iaith Gymraeg. Gadawer i ni yn y ffurf o ansoddeiriau roddi rhai engreifftiau. Ar y naill law, cawn cain, telaid, deiniol, addurnol, dillyn, destlus, dysglaer, tlws, mirain, eirian, teg, merth, iesin, ter, hardd, prydweddol, glan, hawddgar, cynhesol, &c. &c. Ar y llaw arall, cawn aruchel, gorwych, dyrchafedig, godidog, syber, arswydus, ysblenydd, ardderchog, mygr, mawreddig, myg, urddasol, mawrfrydig, gwrol, anrhydeddus, gogoneddus, hollalluog, tragwyddol, anfeidrol, ofnadwy, &c. &c. Lawned ydyw ein gwlad o'r ansoddau hyn, fel y gwasgent ein hynafiaid, o bryd i bryd, i ffurfio geiriau lawer, er darlunio eu hamrywiol agweddion. Y ffaith alarus er hyny ydyw, fod ein cydwladwyr, er preswylio fel hyn yn nghanol y gogoniant naturiol mwyaf, yn byw ac yn marw, filoedd o honynt, heb ei weled, na theimlo dim oddiwrth ei ddylanwad. Rhodiant yn ddeillion drwy ganol paradwys! Un rheswm am hyn, ydyw prinder geiriau—geiriau o arwyddocad diammwys a sefydlog. Trwy hir gamddefnyddiad, prin y mae y fath eiriau a dillynder, symledd, arucheledd, &c., yn alluog i gyfleu i'r meddwl syniadau o gwbl. Gofidus hefyd ydyw meddwl, mai nid eithriadau ydynt: un o'r prawfion cryfaf fod yr iaith Gymraeg yn dirywio ac yn darfod ydyw, fod ei geiriau yn dyfod yn barhaus o ran eu hystyr, yn fwy fwy ammwys a phen agored. Deuant, lawer o'r geiriau goreu a feddwn, yn arbenig y rhai a ddynodant ansoddau, drwy adael priod eu hieunctyd, a phuteinio ar ol dyeithriaid, yn annghymwys i unrhyw wasanaeth,

ac yn wrthodedig gan bawb. I ni, ymddengys hyn yn ffaith bwysig iawn; oblegyd drwy eiriau yn benaf y cyfrenir ac y derbynir meddylddrychau, ac y cyffroir teimladau y galon, ac os ydyw y geiriau hyny o ran eu harwyddocad yn ammhennodol a phenrydd, ac yn myned yn fwy felly, ataliant ni ar ein gyrfa tuag at ogoniant cenedlaethol. Os dymunem, fel Cymry, ymddiwyllio ac ymddyrchafu i anrhydedd, rhaid i ni, yn lle canmol, fel gwallgofiaid, iaith sydd yn trengu o ddiffyg ymgeledd ger bron ein llygaid, ymroddi i'w choledd, i'w phuro, ac i'w chryfhau. Gweddus hefyd, fyddai i ni afaelyd yn y gorchwyl ar fyrder. A oes gan yr Eisteddfod ryw gymhorth sylweddol i'w estyn tuag at ddwyn hyn oddiamgylch? Dylem gael Geiriadur newydd, a Gramadeg newydd; dylai yr iaith Gymraeg fod yn destyn efrydiaeth ein holl Athrofeydd; myner iddi le yn mhob arholiad drwy y Dywysogaeth; a gweddus fyddai i holl athrawon y genedl, gan nad faint a wyddent o Roeg, a Lladin, fod yn alluog i'w siarad ac i'w hysgrifenu gyda chywirdeb.

Dichon nad hollol anfuddiol gyda golwg ar hyn, fyddai ychydig sylwadau ar brydferthwch ac arddunedd. Pa beth ydynt? Cymhwysir y geiriau at luaws o bethau gwahanol iawn,—at wrthddrychau anian, gweithredoedd, darluniau, caneuon, cymeriadau, &c. &c., a naturiol yw ymofyn ar ba dir y gwneir hyny? Mewn trefn i gyfiawnhau yr arferiad, rhaid fod y delweddau a elwir yn dlws neu fawreddog, ar ryw olygiad, i gyd yn un. Os ydynt, pa beth ydyw y canolbwynt yn yr hwn y cyfarfyddant? Byddai atebiad cywir i'r gofyniad hwn yn cynwys darnodiad cywir o brydferthwch ac arddunedd. Ond y mae rhoddi y cyfryw atebiad yn waith anhawdd. Yr ydym, er canfod bywyd, a theimlo barddoniaeth, yn analluog i egluro natur y naill na'r llall; yr un modd gyda golwg ar yr ansoddau hyn, yr ydym yn eu hadnabod, ac yn deimladol o'u dylanwad, prin, er hyny y gallwn ddyweyd i foddlonrwydd pa beth ydynt. Mai ansoddau ydynt sy ddilys; fel y cyfryw, ymwreiddiant o angenrheidrwydd mewn rhyw wrthddrychau. Pa fath wrthddrychau, a'i materol a'i ysprydol ac anweledig? A'i mewnol, a'i allanol, a'i y naill a'r llall yw prydferthwch ac arddunedd? Pa un a'i ynom ni neu yn y greadigaeth y bodolant? Ar y gofyniad hwn y mae llenorion yn ymranu i ddau ddosbarth; cyfarfyddir â golygiadau eithafol ar bob llaw. Haerir gan y naill blaid, mai mewnol yn unig ydyw, ac na feddant o gwbl hanfodiad annibynol ar y meddwl. Dysgir gan y llall, mai gwrthddrychol yn unig ydynt; bodolant yn hollol annibynol ar y meddwl. Ymddengys i ni y byddai mabwysiadu un o'r tybiau hyn, fel ag i gau allan y llall, yn gyfeiliornad. Trwy i yspryd dyn ddyfod, ryw ffordd i gyffyrddiad â delweddau allanol, y daw yn ymwybodol o brydferthwch ac arddunedd; a thrwy gyfuno yn ein credo am danynt, y ddwy ddamcaniaeth, y cyrhaeddwn syniadau cywir yn eu cylch. Ar y naill law, byddai gwadu fod llawer o wrthddrychau anian yn dlws a mawreddig, yn groes i dystiolaeth synwyrau, ac i argyhoeddiadau dyfnaf dynolryw: pe dywedid mai ymddangos felly y maent, annaturiol fyddai honi mai dyn ydyw crëawdwr y cyfryw ymddangosiad. Os gall wisgo y ddaear â hawddgarwch, gall yn ddiau, greu mynyddoedd a moroedd newyddion. Arweinir ni ar y llaw arall, i gredu fod yn yr enaid gynneddfau, neu synwyrau cyfeiriedig at brydferthwch ac arddunedd, a syniadau cynhenid, neu *intuitions* cyffelyb i'r meddylddrychau a feddwn, yn flaenorol i brofiad, am gyfiawnder a gwirionedd; oblegyd yn annibynol ar y cyfryw synwyrau mewnol, nis gallem byth adnabod na derbyn argraffiadau oddiwrth brydferthwch ac arddunedd allanol. Rhwng y mewnol a'r allanol, saif y teimladau; edrychant hwy yn ol ac yn mlaen. Ar y naill law, ymwreiddiant yn yr enaid, ac ymblethant am ei feddyl-ddrychau cynwynol; ar y llall, deffroir a chynhyrfir hwy gan wrthddrychau allanol. Cawn, o ganlyniad, dri maes yn ymagor ger ein bron.

I. Cawn i ddechreu, brydferthwch ac arddunedd dan y ffurf o synwyrau meddyliol, neu ddelfrydau cynhenid, yn yr enaid dynol. Ni charem awgrymu drwy hyn, fod yn y meddwl wrth natur, ddelweddau pennodol o brydferthwch ac arddunedd; o'r fath ag a feddwn yn bresenol o fachludiad yr haul, neu ymchwydd y môr; cyrhaeddir y rhai hyn drwy sylwadaeth a phrofiad. Gwyddom er hyny, mai nid y llygaid yn unig, nac yn benaf, sydd yn canfod tlysni y wawr, ac aruthredd y mynydd; canfyddir hwy yn hytrach gan y meddwl, drwy y llygaid. Mewn trefn i ymwellhau yn y cyfeiriad hwn drwy sylw a phrofiad, rhaid fod yn yr enaid, yn annibynol ar brofiad, allu i adnabod a derbyn argraffiadau oddiwrth ddelweddau tlws a mawreddig. Y mae yr anifail yn gweled y ddaear, ac yn syllu yn ddyddiol ar ei gwahanol wrthddrychau; ond nid ydyw yn canfod ei gogoniant, nac yn derbyn hyfrydwch oddiwrth ei phrydferthwch; ac o ran yr hyn a allasai profiad ei hun wneyd, buasem ninnau ar yr un tir ag ef. Dichon mai yr enw mwyaf priodol ar y gallu hwn, y gallu i adnabod ac i fwynhau prydferthwch ac arddunedd, a thrwy yr hwn y mae profiad o gwbl yn ddichonadwy, ydyw chwaeth. Onid yw pob dyn i ryw raddau, yn meddu wrth natur yr hyn a ddarlunir gan *Akenside*—

"a discerning sense
Of decent and sublime, with quick disgust
From things deformed or disarranged, as gross
In species?"

Datguddiad i'r gallu hwn ydyw gogoniant y greadigaeth: megis mai datguddiad i reswm dyn ydyw gwirionedd y greadigaeth. Carem roddi gocheliad arall: nad ydym, ar bob adeg, yn ymwybodol o chwaeth mwy nag o alluoedd ereill yr enaid; megys, y cof, neu yr ewyllys. Trwy i'n cyneddfau weithredu, y deuwn yn deimladol o'u bodolaeth, a chynhyrfir chwaeth i weithredu, fel rhëol, gan wrthddrychau allanol. Deffroir prydferthwch ac arddunedd yr enaid gan brydferthwch ac arddunedd anian. Megys y mae y nodwydd, wrth agoshau at sylweddau neillduol, yn dyfod yn fyw ac aflonydd; y mae dyn, yn mhresenoldeb gwrthddrychau tlws a mawreddig, ar unwaith, yn dyfod yn ymwybodol o alluoedd a theimladau na phrofai yn flaenorol ddim oddiwrthynt. Llenwir ei feddwl â syniadau pur, a dyrchafedig; a'i galon â chariad, â gwylder, ac â hyfrydwch. Daw yn ngwyddfod y naill yn brofiadol o fodolaeth y llall; y mae yr ysprydol yn bywhau ac yn gwenu yn yr olwg ar y naturiol, fel ar nos ddigymylau, y mae lleuad y nef yn gwenu ar leuad y môr.

A ydyw yr *intuitions* neu y delfrydau cynhenid a all fod genym o brydferthwch ac arddunedd yn gyffredinol ac angenrheidiol, mor gyffredinol ac angenrheidiol a'r meddylddrychau o wirionedd, neu gyfiawnder? A orfodir ni, wrth edrych ar wrthddrych tlws neu fawreddig, i gredu ei fod yn ymddangos yn dlws neu fawreddig i bob dyn; ac os gwna i bob dyn, a raid i ni feddwl yr ymddangosai felly i bob crëadur moesol drwy y llywodraeth ddwyfol i gyd? Gwesgir ni i ystyried fod dau a dau yn bedwar, yn mbob byd, yn gystal ac yn mhob gwlad: a welai trigolion y Nef yr haul, wrth gyfodi, neu fachlud, yn ogoneddus? Y mae pechod yn ddrwg yn uffern yn gystal ag ar y ddaear; a gynhyrfid cythreuliaid, megys y cynhyrfir dynion, gan ofnadwyaeth y môr? Nis gallwn ateb y gofyniadau hyn yn gadarnhaol; ac nid ydym chwaith yn gwbl barod i roddi iddynt atebion nacaol. Gyda golwg ar ddynolryw, o fewn terfynau y byd hwn, y mae yn wirionedd anwadadwy, fod yr adnabyddiaeth o brydferthwch ac arddunedd, a'r hyfrydwch a gyfranant, i fesur mwy neu lai perffaith, yn gyffredinol. Y mae dyn yn mhob oes, ac yn mhob gwlad, yn awyddus i edrych ar wrthddrychau tlws a mawreddig. Ymddengys hefyd mai yr un ydyw prydferthwch yn mhob cyfnod, ac yn mhlith pob cenedl: ceir prawf o hyn yn yr addurniadau henafol a welir yn yr Amgueddfa Brydeinig. Y mae yr hyn sydd yn boddhau y Cymro, yn boddhau yr Indiad; a chyfranai yr hyn sydd ogoneddus yn ngolwg yr Americaniaid, hyfrydwch i'r Aiphtiaid filoedd o flyneddoedd yn ol. Dichon na ddangoswyd gwrthddrych erioed, os byddai yn dlws, neu fawreddig, na chydnabyddid ei ardderchogrwydd ar unwaith. Gan nad beth a ddywedir am gasgliadau y dëall, ymddengys i ni fod mwy o unfrydedd yn mhlith dynion ar faterion chwaeth, nag ar faterion rheswm. Cytunant yn well am ragoriaeth un o ddarluniau Raffaele, nag am gywirdeb damcaniaeth yn Plato. Er mai amrywiol ydyw eu golygiadau, ymunant i garu tlysni, ac i edmygu mawredd. Prydferthwch, mewn gwirionedd, ydyw brenin y byd o'r dechreuad. Y mae ei lywodraeth mor ëang a llywodraeth goleuni. Y mae addolwyr *Venus* yn lluosocach nag addolwyr *Mammon*. Ymddengys hefyd fod y darwelion o brydferthwch ac arddunedd yn angenrheidiol. Dirmygant hyawdledd; hawliant edmygedd dynolryw yn annibynol ar wasanaeth rhesymeg. Byddai ymdrechu profi fod unrhyw wrthddrych yn dlws, neu fawreddig, yn ffolineb. Yn eu goleuni eu hunain, os gwelir hwy o gwbl, y gwelir yr ansoddau hyn; a byddai annog dyn, wedi eu gweled, i'w caru, mor afreidiol ag a fyddai gorchymyn mam i garu ei phlentyn. Y mae eu dylanwad yn ddiattreg ac annwrthwynebol; cymerant feddiant uniongyrchol o'r galon; ac ar rai achlysuron cyffroant y teimladau i'r angerddoldeb mwyaf. Os nad yw y meddylddrychau o brydferthwch ac arddunedd mor gyffredinol a'r meddylddrych o wirionedd, neu mor angenrheidiol a'r meddylddrych o gyfiawnder, ymwreiddiant mewn egwyddorion sydd yn gyffredinol, angenrheidiol, a thragwyddol.

II. Yn mhresenoldeb gwrthddrychau tlws neu aruchel, deffroir ar unwaith, ac o angenrheidrwydd, deimladau y galon. Cynhyrfant, os yn gain neu fawreddig iawn, yr enaid i'w waelodion. Ymddengys hefyd mai drwy holi ac archwilio ein teimladau o dan eu dylanwad, y cyrhaeddir syniadau clir ac ëang am brydferthwch ac arddunedd. Byddai deall eu natur, ac amgyffred y gwahaniaeth rhyngddynt, drwy ddadansoddi delfrydau cynhenid y meddwl, neu drwy syllu arnynt yn ngwrthddrychau y grëadigaeth, yn anhawdd: gwrandawer ar ebychiadau y galon yn eu gwyddfod; gofyner iddi yr adeg hono, neu yn ebrwydd ar ol hyny, am eglurhad; a bydd ei hatebion, o ran sylwedd, yn wirionedd anwadadwy.

Pa beth yw sefyllfa ein heneidiau yn mhresenoldeb prydferthwch? Gallwn ateb, ein bod ar unwaith yn *teimlo* ei ddylanwad, cymer feddiant uniongyrchol o'n meddyliau, a lleinw ein calonau â *theimladau*, teimladau o hoffder. Y

mae yn gweithredu arnom fel tynfaen, gan ddwyn a chadw ein hysprydoedd arno ei hun. Megys y mae y teimladau o wrthwynebiad a chasineb, yn ymgodi ynom wrth edrych ar wrthddrychau hagr neu ffiaidd, ymgyfyd ynom deimladau o anwyldeb a serch, yn yr olwg ar wrthddrychau mirain a hardd. Nid oes eithriad i'r ddeddf hon. Deuwn yn brofiadol o gariad at bob peth tlws, mor ebrwydd ag y canfyddwn ef; a'i blodeuyn, a'i darlun, a'i gweithred o garedigrwydd, a'i person a fydd; ac ystyrir fod yr holl wrthddrychau a ddeffroant ynom gariad yn dlws. Trwy gyfrwng yr anwyldeb a ddeffroir fel hyn yn ein mynwesau, ymgyfyd ynom deimladau o foddhad moesol ac urddasol. Po dlysaf a fydd y gwrthddrych, cryfaf a fydd y cariad ato, a mwyaf oll fydd y dedwyddwch a brofir. Bedyddir ein hysprydoedd yn yr olwg arno â sirioldeb tawel, a llenwir ein calonau â hyfrydwch tyner a thoddedig. Ar rai achlysuron, ymgyfyd yr anwyldeb a'r hyfrydwch i frwdfrydedd angerddol; bydd y prydferth yr adeg hono, fel goleuni y lleuad yn ngoleuni yr haul, yn ymgolli yn yr arddunol. Mor gyson ydyw tystiolaeth athroniaeth â thystiolaeth datguddiad, iaith y galon âg iaith y Beibl, mai drwy garu, drwy garu y da a'r hardd, yr urddasol a'r sanctaidd, y gall dyn fod yn ddedwydd.

Pa beth ydyw sefyllfa yr enaid yn mhresenoldeb arddunedd? Gwyr pob dyn o chwaeth am y profiad a ddeffroir yn ngolwg gwrthddrychau mawreddig; ond y mae ei ddarlunio yn orchwyl lled anhawdd. Math o ymëangiad mewnol, o ymddyrchafiad dyeithriol, ac o wynfydedd difrifddwys ydyw, ag sydd yn dyrchafu y meddwl yn mhell uwchlaw ei dymheredd naturiol. Cyffroir teimladau dyfnaf, mwyaf urddasol, ac angerddol y galon. Bydd cyfatebiaeth rhwng dwysder y profiad â mawredd y gwrthddrychau allanol; bydd graddau, o ganlyniad, yn y dylanwad a deimlir. Profir, ar un achlysur, efallai, barch neu edmygedd; waith arall, syndod neu ryfeddod; ac yna, dychryn neu arswyd. Y mae pob gwrthddrych sydd yn ein hargyhoeddi fod rhywbeth mwy a chryfach na ni yn bodoli, ac sydd drwy hyny yn deffro ynom wylder a gostyngeiddrwydd, yn arddunol. Bydd y gwrthddrychau a gymerant feddiant trwyadl o'n meddyliau, gan eu cyffroi hyd eu gwraidd, yn fwy arddunol. Os cawn ein hunain yn ngwyddfod gwrthddrychau fydd yn parlysu ein galluoedd ymresymiadol, yn peri i ni anghofio ein hunain, ac yn gwneud yr enaid yn analluog i bob peth ond mawrhau a rhyfeddu; yn llenwi ein calonau âg arswyd, yn peri i'n hesgyrn grynu ynom, ac i flew ein cnawd sefyll, bydd arddunedd y gwrthddrychau hyny yn ofnadwy. Fel hyn, tra mai tyner a hyfryd yw y teimladau a gynyrchir gan brydferthwch, y mae y teimladau a ddeffroir gan arddunedd, er yn hyfryd iawn, yn angerddol a dyrchafedig.

III. I ddiwallu ein galluoedd i adnabod ac i fwynhau prydferthwch ac arddunedd, bodolant oddiallan i ni, ac yn annibynol arnom. Canfyddir hwy mewn cyfansoddiadau llenorol, mewn darluniau gweithredoedd, cymeriadau, &c., ac yn arbenig yn ngwrthddrychau y greadigaeth. Cyfyngwn ein sylw ar yr achlysur presenol i'r olaf, prydferthwch ac arddunedd anian. Amcanodd llawer ddarnodi yr ansoddau hyn; hyd yn hyn ni bu neb yn hollol lwyddianus; caniateir cywirdeb rhanol llawer damcaniaeth o berthynas iddynt; ni dderbynir yr un yn y cyfanswm, gydag unfrydedd cyffredinol. Gadawer i ni fwrw golwg dros rai o'r darnodiadau a gynygir o brydferthwch.

Dysgir ni ei fod yn gyfystyr a dymunoldeb, mai y dymunol ydyw y tlws. Addefwn fod mesur o wirionedd yn y syniad hwn; ni's gall yr hyn sydd yn annymunol ymddangos i ni yn hawddgar, na thlysni yn annymunol. Ymddengys, er hyny, mai rhan o wirionedd ydyw; oblegyd nid yw pob peth dymunol yn brydferth; ac nid y gwrthddrychau mwyaf dymunol, bob amser, ydyw y rhai prydferthaf. Prawf hyn mai nid y naill yw y llall; pe amgen, dilynent eu gilydd yn ddieithriad, ac i'r un graddau; byddai cymaint o dlysni yn mhob gwrthddrych ag a fyddai o ddymunoldeb, a dim ychwaneg. Y mae ymborth yn ddymunol, ac yr ydym yn ei chwenych, ond nid ydym yn ei garu, oblegyd y mae yn amddifad o brydferthwch. A'i defnyddioldeb yw prydferthwch? Cydgyfarfyddant, yr ydym yn addef, yn aml. Gwelodd y Crëawdwr yn dda wisgo llawer o bethau sydd yn wasanaethgar i ni â hawddgarwch; a ydyw hyn yn wirionedd cyffredinol? Os ydyw, rhaid fod pob gwrthddrych tlws yn ddefnyddiol, a phob un defnyddiol yn dlws; rhaid fod cawell teils, ys dywedai Socrates, mewn trefn i fod yn hylaw, yn dlws, creadur prydferth iawn yw y neidr; anfynych y clodforir hi oblegyd ei defnyddioldeb. Mor wasanaethgar ydyw yr Elephant! mor amddifad o harddwch! Myn ereill, mai cyfartaledd rhwng un gwrthddrych â gwrthddrych arall, neu gyfatebiaeth rhwng y rhan a'r cyfan, neu gyfaddasder moddion i gyrhaedd amcanion, yw prydferthwch. Y mae y ddamcaniaeth hon mor hen a Plato, ac amddiffynir hi gan rai awdwyr diweddar; yn arbenig gan Blair; gwrthwynebir hi gan Kant, Cousin, &c. &c. Ymddengys i ni ei bod, a dyweyd y lleiaf, yn dynesu at y gwirionedd; canys yr ydym yn cael gafael ynddi ar briodoldeb; a byddai haeru fod unrhyw wrthddrych sydd yn anmhriodol yn dlws, yn ddull dyeithrol o ymadroddi. Mai

cyfartaledd, neu gyfaddasder, er hyny ydyw prydferthwch, sydd bur anmheus. Os gwelir hwy mewn undeb a thlysni, gwelir hwy hefyd ar wahan oddiwrth dlysni; nid y naill o ganlyniad ydyw y llall. I gyfartaledd y mae manylrwydd a threfn yn hanfodol; y mae rhyw fath o ddyryswch ac annhrefn yn gydweddol â phrydferthwch. Ereill, cymeradwyaeth y dëall a'r farn ydyw amcan y naill; at y galon yr apelia y llall; yr hon, yn yr olwg ar wrthddrych hardd fydd wedi ei swyno cyn y bydd y dëall wedi canfod ei ddyben; a chyn y bydd y farn yn barod i gymeradwyo na chondemnio, bydd y serch ar dân. Ychydig o gyfatebiaeth sy rhwng coes fain a phen trwm y rhosyn; neu rhwng cynffon, a chorff y paun; ystyrir er hyny, fod y naill yn flodeuyn, a'r llall yn aderyn, hardd iawn. Dichon mai y ddamcaniaeth gywiraf, a'r un a dderbynir yn fwyaf cyffredinol yw, mai unoliaeth mewn amrywiaeth ydyw prydferthwch. Canfyddir y priodoliaethau hyn agos yn yr holl wrthddrychau a anwylir genym. Fodd bynag, y mae y golygiad hwn yn dal yn rhagorol gyda golwg ar dlysni ffurf; prin y mae yn gywir gyda golwg ar dlysni lliw. Y mae yr eira, er engraifft, er yn amddifad o amrywiaeth, yn dlws iawn. Gorchwyl anhawdd, yn ddiau, yw gwasgu holl ystyr y gair prydferthwch i gylch brawddeg; i ni, ymddengys fod rhoddi darnodiad dyhyspyddol o hono, dan ei holl ffurfiau, ac yn ei holl ëangder yn annichonadwy. Cyrhaeddid meddylddrych lled glir am dano, drwy egluro rhai o'i brif nodweddion, ac at hyny y bydd i ni amcanu.

Pa beth ydyw arddunedd? Gan fod y teimladau a ddeffroir gan wrthddrychau aruchel o ran eu natur yn un, naturiol ydyw ymofyn, a ellir dwyn y gwrthddrychau hyny eu hunain o dan ryw ddeddf? A ydynt er eu holl amrywiaeth, (ymddangosiadol o leiaf) ar ryw olygiad yn un? Rhoddir yn ddieithriad atebion cadarnaol i'r gofyniad hwn; ond y mae yr atebion hyny yn amrywiol. Goddefer engraifft neu ddwy: dysgir ni mai ëangder ydyw arddunedd. Cydnabyddir yn ddiau, fod hon yn nodwedd ag sydd mewn modd arbenig yn perthyn iddo; ac na's gall unrhyw olygfa dra ëang lai na bod yn fawreddig: gwesgir ni yr un pryd, i wadu fod y naill air o ran ei ystyr mor helaeth a'r llall; oblegyd y mae llawer o wrthddrychau na ddaliant un berthynas neillduol â lle, megys ymdoriad y daran, yn wir arddunol. A'i nerth dirfawr mewn gweithrediad yw arddunedd? Cynwysa y ddamcaniaeth hon lawer o wirionedd; meddylier am alluoedd anian! Mor fawreddig ydyw y ddaeargryn! Mor ofnadwy ydyw ymrwygiad y llosg-fynydd! Ymddengys, er hyny, mai gwirionedd hanerog ydyw; gallwn feddwl am wrthddrychau ag ydynt, er yn amddifad o'r nodwedd hon, yn aruchel; megys, môr ëang ar hwyrddydd tawel. Golygiad arall ydyw fod arddunedd yn gyfystyr a'r hyn sy ddychrynllyd, neu arswydus. Dysgir mai yr hyn sydd yn alluog i'n cyffroi i'r graddau mwyaf i ddeffro teimladau dyfnaf, cryfaf, a mwyaf angerddol ein natur, yn unig sydd fawreddig; ac mai enbydrwydd, neu berygl, yn unig a ddichon wneud hyny. Diau y byddai eglurhad ar yr athrawiaeth hon yn ddymunol; oblegyd tra yn awyddus i weled golygfa aruchel, ni's gall arswyd ynddo ei hun fod yn ddymunol i ni; y mae hiraethu am fod mewn enbydrwydd, neu ing personol, yn annichonadwy. Y syniad yn ddiau ydyw, y gellir meddwl am sefyllfa, yn yr hon, yn gydfynedol a theimlad o ddyogelwch, y bydd perygl yn y golwg; y bydd y perygl hwnw yn awgrymu niwed a dyoddefiadau, ac yn deffro yn y galon ddychryn ac arswyd; ac fod y fath sefyllfa, fel rhëol, yn un hyfryd, fod edrych ar enbydrwydd a dinystr yn y pellder, yn llanw yr enaid a hyfrydwch dwfn a difrifol. Ac i fesur mawr, y mae hyn yn gywir. Wrth dramwy drwy olygfeydd mawreddig, neu aruthrol, llenwir y galon a math o arswyd dymunol. Efallai nad ydym yn fwy awyddus i weled dim, nag aflwydd, neu ddinystr, ar raddfa ëang; megys tref ar dân. Yn gyffelyb i'r ddwy flaenorol, gwedd ddirdynol sydd ar y ddamcaniaeth hon; oblegid y mae y nefoedd serenog, er engraifft er nad ydyw yn arswydus, yn fawreddig a gogoneddus. Ac y mae colyniad neidr, fel y dywed un, yn boenus a pheryglus iawn, ac ar unwaith, yn gwbl amddifad o arucheledd. Fel yr awgrymwyd yn barod, y mae prydferthwch ac arddunedd yn eiriau o ystyr rhy ëang i oddef darnodiad: ymddengys i ni mai drwy syllu arnynt, fel mynyddoedd, o luaws o safleoedd gwahanol, y cyrhaeddir syniadau cywir am danynt. Hyny fydd ein gwaith am ychydig yn mhellach.

Y moddion i ganfod prydferthwch ac arddunedd anianyddol, ydyw y synwyrau corfforol, a thrwy y cyfryngau hyn y dylanwadant ar yr enaid. O'r rhai hyn y mae pump: yr ydym yn alluog i weled, i glywed, i deimlo, i arogli, ac i archwaethu. Nis gallwn trwy y tri diweddaf ganfod na theimlo oddiwrth arucheledd. I ddybenion ereill y mae y synwyrau o arogliad, a theimlad, yn wasanaethgar iawn, y maent yn ddall i dlysni. Gyda golwg ar y dymunol, dylem barchu penderfyniadau yr archwaeth; y mae yn fud gyda golwg ar y cain. Gwas y corff ydyw ef. O berthynas i'r ddau ereill, y glust, a'r llygaid, galluogant ni i adnabod ac i deimlo prydferthwch ac arddunedd; ymroddant i wasanaethu y meddwl a'r galon; ac attynt hwy y cyfeiria y celfyddydau. Yn gyson a hyn

dosperthir y celfyddydau i'r rhai a anerchant y glust, a'r rhai a anerchant y llygad; y mae Cerddoriaeth yn engraifft o'r naill, ac Arluniaeth yn engraifft o'r llall. Gwrthddrych y glust ydyw twrf, neu sain, seiniau ysgafn, nwyfus a thyner, sydd yn brydferth; os byddant yn ddwfn, cynhyrfus neu angerddol, byddant yn arddunol. I'r Cerddor y perthyn egluro y mater hwn, ac i'w ofal ef yr ydym yn ei ymddiried. Pwy ddaw yn mlaen i archwilio prydferthwch ac arddunedd seiniau? Ymddengys i ni ei fod yn faes cyfoethog a thra dyddorol. Cymer i fewn, heblaw y llais dynol, a thrydar yr ehediaid, ebwch ac alaeth anifeiliaid a bwystfilod, a dolefau anian; megys murmur y ffrwd, a tharan y rhaiadr; holl leisiau y greadigaeth.

Y mae gwrthddrychau y llygad yn lluosog ac amrywiol iawn. Yr engraifft gyntaf a roddwn ydyw y newydd, neu ddiweddar; a'r henafol. Y mae y blaenaf yn brydferth, a'r olaf yn arddunol. Boddhau cywreinrwydd ein natur ydyw gwaith newydd-deb; ar y naill y mae y llall yn byw, ac yn ymborthi. Mewn plant y gwelir hyn amlycaf; iddynt hwy y mae pob peth y byd i gyd yn newydd; mwynhant o ganlyniad, baradwys ar y ddaear. Cyfarfod ein gallu i anrhydeddu ac edmygu y mae yr henafol. Yn unol a hyn, gall gwrthddrych, er yn amddifad o deilyngdod cynhenid, os bydd yn ddyeithr, neu henafol, gyfranu i ni am ysbaid, lawer o hyfrydwch. Goddefer engraifft neu ddwy; meddylier am y planhigyn tyner, a'r dderwen gauadfrig; deffroant deimladau gwahanol iawn; y mae y blaenaf yn dlws, a'r olaf yn fawreddig. Y mae y creadur ieuanc yn fwy mirain na'r hen, yr hen yn fwy myg na'r ieuanc. Gyda golwg ar y naill, boddheir y dychymyg gan addewidion am rywbeth mwy yn y dyfodol; arweinir ni gan y llall, i ystyried diflaniad a diwedd pob perffeithrwydd. Y mae y Gwanwyn gyda'i dynerwch a'i nwyfiant yn brydferthach na'r Gauaf; y mae y Gauaf gyda'i ddifrifwch cyffrous yn fwy arddunol na'r Gwanwyn.

Ffurfiau ereill ar yr ansoddau hyn ydynt, eglurdeb ac aneglurdeb, neu oleuni a thywyllwch. Y mae y naill yn brydferth, a'r llall yn arddunol. Gall gwrthddrychau bychain, y byddwn yn eu gweled i gyd, ac yn eu deall yn drwyadl, gyfranu i ni wrth edrych arnynt lawer o hyfrydwch; ond nis gallant adael argraff ddofn ac annileadwy ar ein meddyliau. Y mae y *villa* cryno yn dlaid iawn; hen eglwys fawr, dywell, sydd yn ardderchog. Lliwiau tyner, ysgafn, a siriol, o'r fath ag a welir mewn llawer o flodau, yn mhlŷf rhai adar, ac weithiau, ar wyneb y ffurfafen, sydd yn swynol. Mor iesin yw y maes amryliw, gwlithog, o dan belydr haul boreu o Fai! Dylem ystyried, yr un pryd, os bydd y dysglaerdeb, neu y goleuni yn danbaid, ac yn ddigon angerddol i'n gorchfygu, fel ag y gwneir wrth i ni syllu oddiar ben y Wyddfa ar yr haul yn cyfodi, bydd yr olygfa, er yn oleu, yn aruchel. Gan liwiau dwfn, tywyll, a phruddaidd y deffroir teimladau dwys a difrifol ein natur; y math hwn sydd yn fawreddig. Gymaint yn fwy arddunol na nefoedd asur a thawel, ydyw ffurfafen gymylog a chyffrous! Y mae llethr orchuddiedig â choed ieuainc, tyner, ac addawol, yn dlws iawn; y mae y goedwig henafol ac athrist yn wir aruchel. A myn rhai i ni gredu, mai oherwydd fod dirgelwch a thywyllwch yn meithrin gwylder a pharch yn meddyliau dynion, yr arferai y Derwyddon gyflawni eu seremoniau o dan y deri mwyaf henafol ac ymledol, yn nghanol y goedwig ddofn a thywell. Ystyrir yn mhob gwlad ac oes fod tywyllwch yn fawreddig. Gymaint yn fwy arddunol na'r dydd ydyw y nos! Dichon mai yr esboniad ar hyn, yn ychwanegol at yr ystyriaeth mai yn y tywyllwch y mae ysprydion a drychiolaethau yn gweled yn dda dramwyo ein daear, ydyw, ei fod yn ein hanalluogi i ddeall ein sefyllfa. Nis gwyddom gan ba fath wrthddrychau yr amgylchynir ni; pa un a'i mewn perygl ai mewn dyogelwch y byddwn; tueddir ni i feddwl y gwaethaf; ac yr ydym, bob eiliad, wrth ymsymud yn mlaen, yn ofni disgyn dros ymylon rhyw ddibyn i dragwyddoldeb. Llenwir y galon, mewn canlyniad, â'r teimladau mwyaf cyffrous ac arswydus. Ychwaneger at hyn ymddangosiad yspryd, neu fod goruwchnaturiol, llawn o ddyeithriwch, ac o ddirfawr nerth a mawrhydi, a bydd y sefyllfa yn ofnadwy. Llethir yr enaid dan bwys ei harddunedd. Dyma brofiad Eliphaz: "Ac ataf fi y dygwyd gair yn ddirgel: a'm clust a dderbyniodd ychydig o hono. Yn mhlith meddyliau yn dyfod o weledigaethau y nos, pan syrthio trwmgwsg ar ddynion, ofn a ddaeth arnaf, a dychryn, ac a wnaeth i'm holl esgyrn grynu. Yna yspryd a aeth heibio o flaen fy wyneb, ac a wnaeth i flew fy nghnawd sefyll. Efe a safodd ac nid adwaenwn ei agwedd ef; drychiolaeth oedd o flaen fy llygaid, bu dystawrwydd a mi a glywais lef yn dywedyd, A fydd dyn marwol yn gyfiawnach na Duw?"

Bychander a mawredd ydynt nodweddion ereill perthynol i brydferthwch ac arddunedd. Anfynych y gwelir gwrthddrych fydd ar unwaith yn fawr iawn, ac yn dlws iawn. Y bychan, yn mhlith pob cenedl ydyw yr anwylun. Gwelir hyn ar wyneb pob iaith; drwy *diminutions* y rhoddir mynegiad i serch yn mhob gwlad; *bach anwyl*, sydd ymadrodd Cymreig tra chyffredin. Ceir engraifft gyferbyniol i hyn yn y gair *anferth*. Cyfansoddir ef o *an* a *merth;* a golygai ar y cyntaf, amddifadrwydd o dlysni; yn raddol daeth i feddu ystyr gadarnhaol, hagr neu hyll;

ac erbyn hyn cyflea yn ddieithriad y syniad o fawredd. Mor anwahanol ydyw yr erchyll a'r mawr fel yr ydym wrth feddwl am y naill, yn cael ein harwain i feddwl am y llall; ac i edrych ar y ddau fel un. Y mae y cawr yn fawreddig, ond nid ydyw yn dlws; gallwn ei ofni a'i edmygu, ond nis gallwn ei garu. Gyda llawer o gywirdeb y sylwa Burke, o'r holl farwolaethau a ddarlunir yn yr *Iliad*, nad ydyw marwolaeth yr un dyn nodedig o fawr a chryf, yn deffro ynom gydymdeimlad a thosturi; ac ni fwriadai yr awdwr yn ddiau i'r un wneyd hyny. Yr ydym yn rhyfeddu ac yn mawrhau Achilles, yr hwn o ran ei enaid a'i gorff a ymddengys yn ymgorfforiad o bob rhinwedd a gogoniant dichonadwy; am Hector, er hyny, yr ymgylyma ein serchiadau. Cydymdeimlad a thosturi a ddymunai Homer gynyrchu tuag at y Troyaid, ac felly gwisgodd hwy â'r rhinweddau o dynerwch a hawddgarwch, y nwyd o edmygedd a garai ddeffro yn mhlaid y Groegiaid; cyrhaeddodd ei amcan drwy gyfranu iddynt yr ansoddau o fawredd, nerth, a gwroldeb ofnadwy. Felly y mae y Troiaid yn brydferth, y Groegiaid yn arddunol. Y mae mawredd yn mhob ffurf yn aruchel, ac yn deffro teimladau mwyaf dwyfol ein natur. Yr anfeidrol ydyw ffynonell arddunedd; y mae uwchlaw cymhariaeth â phob peth arall. Nis gall natur roddi engraifft o hwn, yn ein heneidiau ni fel meddylddrych y mae ei gartref ar y ddaear; adlewyrchir ef oddiwrthym ni ar, a deffroir ef ynom ni gan, lawer o wrthddrychau anian. Ac er fod y gwrthddrychau hyny ynddynt eu hunain yn derfynol, os bydd eu terfynau yn anweledig i ni, byddant yn fawreddig. Cuddier terfynau unrhyw olygfa, a bydd yn arddunol, a phâr i'r enaid freuddwydio am yr anfeidrol. Gwastadedd eang yn ymgolli yn y tawch pell, mynydd yn ymddyrchafu i gymdeithasu â'r cymylau, a phwys aruthrol y môr, neu y ffurfafen, ydynt oll yn wrthddrychau aruchel; ac er yn derfynol, deffroant deimladau cyffelyb i'r rhai a ddeffroir gan yr annherfynol:—

"I love all waste
And solitary places; where we taste
The pleasure of believing what we see
Is boundless, as we wish our souls to be."

Gwendid a nerth ydynt, y naill yn brydferth, a'r llall yn arddunol. A ydyw gwendid yn dlws? Meddylier am wŷryf ieuanc yn suddo dan y darfodedigaeth i'r bedd; mor wanaidd yw! Mor hardd er hyny, mor annaearol brydferth ydyw! Gallwn edmygu mawredd, ac arswydo yn mhresenoldeb nerth; ond nis gallwn garu y naill na'r llall; ni ddeffroant dosturi ein natur, ac ni roddant achlysur i ni gydymdeimlo. Gan eiddilwch o ryw fath y gwneir hyny; ac ystyrir fod yr hyn oll sydd yn deffro teimladau tyner ein calon yn hardd. Mor hawddgar yw gostyngeiddrwydd! Mor brydferth ydyw y gwrid a ymgyfyd oddiar wylder! Yn gyferbyniol i hyn y mae grym yn elfen hanfodol i arddunedd. Lle bynag y canfyddir prawfion o weithrediad nerth aruthrol, ac anhawsderau dirfawr wedi eu gorchfygu, o'r fath ag a welir yn Baalbeck, neu Stonehenge, byddwn wyneb yn wyneb ag arucheledd. Os bydd y nerth a welir yn beryglus, os bydd yn dueddol, neu awyddus, yn gystal ag yn alluog, i beri niwed i ni, bydd yn fwy arddunol. Gymaint yn fwy mawreddig nag ŷch ydyw llew! Er cadarnhau y gosodiadau hyn yn mhellach, gallwn sylwi ein bod yn caru edrych ar yr aderyn yn ymddyrchafu hyd y wybr; ond y mae y fellten wrth ymsaethu drwy y nefoedd, yn deffro yn ein calon deimladau aruchel. Mor dlos yw yr afonig sydd yn ymlifo, ac ymddolenu yn ddystaw drwy y cwm tawel, wrth iddi ymchwyddo yn afon fawr, casglu nerth fydd yn ysgubo pob peth o'i flaen, ac ymdywallt yn rhaiadrau drwy geu-nentydd, a thros glogwyni, daw yn un o'r gwrthddrychau mwyaf arddunol ar wyneb y ddaear! Amcan yr ymchwiliad hwn oedd taflu ychydig oleuni ar brydferthwch ac arddunedd naturiol. Tra yn ymgadw, ar y naill law, oddiwrth fanylion diddyddordeb, ac, ar y llall, yn ymwrthod â golygiadau eithafol, ymdrechasom egluro y prif elfenau, a'r nodweddiou mwyaf arbenig a berthynent iddynt. Gellir crynhoi y cyfan i frawddeg neu ddwy. Y mae prydferthwch yn nwyfus a thyner, yn newydd a chywrain, yn siriol a threfnus, yn fychan a chryno, yn wanaidd a gwylaidd. O ran ei ddylanwad ar ein natur, y mae yn iachus a dymunol i'r graddau uchaf; yn yr olwg arno, cyffroir ein chwaeth i weithredu, a phurir hi; drwy hyny deffroir ein galluoedd i garu ac anwylo, dysgir ni i dosturio a chydymdeimlo, siriolir ein hysprydoedd, a llenwir ein calonau â hyfrydwch pur. O berthynas i arddunedd, y mae yn henafol a phruddaidd, yn gyffrous ac angerddol, yn dywyll a dyeithrol, yn aruthrol ac annherfynol mewn mawredd a nerth. O dan ei ddylanwad, cynhyrfir ein natur i'w gwaelodion, dyrchefir yr enaid i fyd arall, meddienir ef gan y syniadau dwysaf ac uchaf y gall ar y ddaear fod yn brofiadol o honynt; a llenwir y galon â theimladau o barch a gostyngeiddrwydd, o arswyd a dychryn, o edmygedd ac addoliad.

Er y buasai hyny yn ddymunol, ni feddwn ofod na hamdden i ymdrin â rhywogaethau ereill o brydferthwch ac arddunedd; megys y dealldwriaethol a'r moesol. Cyfarfyddir â'r cyntaf mewn llenoriaeth, ond nid yn mhob math o lenoriaeth; nid ydyw y llyfr sydd yn

cyfranu gwybodaeth yn unig, neu yn porthi y rheswm mewn dull oer, na thlws, na mawreddig. I fod y naill neu y llall, rhaid iddo wresogi ein calonau, a chyffroi ein teimladau; a chan Farddoniaeth a Cherddoriaeth yn benaf y gweinir hyny. Gyda golwg ar y diweddaf, cariad, addfwynder, cymwynasgarwch, amynedd, cydymdeimlad, a thosturi, ydynt elfenau mwyaf arbenig prydferthwch moesol. Lle bynag y gwelir doethineb, cyfiawnder, gwroldeb, dyodddefgarwch, hunanymwadiad, a hunan aberthiad, yn tori allan mewn gweithredoedd anrhydeddus, ac ymdrechion bythgofiadwy, gwelir esiamplau o ardduncdd moesol. Ceir engraifftiau lawer o'r naill a'r llall, o'r tlws a'r mawreddig, yn mywgraffiadau gwroniaid, dyngarwyr, a saint.

Duw, yn anad unrhyw wrthddrych neu fod, sydd yn brydferth ac arddunol. Cyfunir yr ansoddau hyn mewn perffeithrwydd a chyflawnder anfeidrol ynddo Ef. Ynddo Ef yr ymgartrefant, ac oddiwrtho Ef yr ymledant i bob man. Y mae yr unoliaeth mwyaf, a'r amrywiaeth mwyaf yn cydgyfarfod ynddo. Y mae yn dyner, ac yn hollalluog, yn raslawn ac yn ddoeth, yn agoshau at, ac yn cymdeithasu â ei greaduriaid, ac, ar yr un pryd yn anfeidrol bell a dyeithr oddiwrthynt, ac iddynt oll; yn dosturiol ac yn gyfiawn, yn drugarog ac yn sanctaidd, ac yn y cyfan yn berffaith ac anfeidrol! Os galluogir y galon i ymddigrifo yn y mwynhad o'i drugareddau, y mae yn dychryn wrth ystyried y gallu a'r awdurdod a ddichon gyfranu y fath drugareddau. Os ydyw yr enaid yn gwenu yn yr olwg ar ei gariad, y mae yn arswydo yn yr olwg ar ei fawrhydi, ac uniondeb ei oruchwyliaethau. Meddylier am brydferthwch graslonrwydd a thrugarowgrwydd yr Arglwydd, ac am ogoniant ei gymeriad! Mor arddunol ydyw cyfiawnder a sancteiddrwydd ei natur! Mor ofnadwy ydyw ei nerth a'i lid! Gan danbeidrwydd ei brydferthwch, llenwir y Nêf â goleuni ac â dysglaerdeb tragwyddol. "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul, na'r lleuad i oleuo ynddi: canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen." Ac mewn canlyniad, "ni bydd nos yno." Y mae angerddoldeb a digofaint yn llosgfeydd tragwyddol; ofnadwyaeth ei lidiawgrwydd ydyw bywyd uffern!

—"Iolo Carnarvon."

---

## SUT Y BU I JAC GRISPIN

### Y CRACH-FONEDDWR, GAEL EI WNEYD YN FARCHOG.

The cobbler should stick to his last.—*Æsop.*

Na thybiwch fi'n hy,
Am adrodd fel bu,
Jac Grispin yn chware'r gwr mawr:
Fel yr aeth un boreu,
I ben y Carnau,
Ac fel, dyn a'i helpo, daeth i lawr.

Ei enw pan gartref,—rhaid ei ddweud yn ddilispin,
Beth bynag yw'r enw y geilw ei hun,
Yw Jaco Sion Grispin, ap Robin Will Grispin,
"Jac y crydd," ddywed eraill;—mae'r ddau 'r un.

Yn nghynta peth y degfed o Awst,
Fe daflodd ei hen ffedog groen ar y trawst
A gynhaliai dô cregin y siop;
Ac wedi hyny,
Edrychodd i fyny,
A thaflodd ei gap ar ei thop.

'Rol berwi dwfr poeth,
Diosgodd yn noeth,
Ac yna dechreuodd sewrio ei hun;
At ei wddf mewn twb,
Parhaodd y scrwb,
O foreu dydd Sadwrn hyd foreu dydd Llun:
Ond rhywsut mewn rhysedd,
Yn dŷn yn ei fysedd,
Fe lynai y cwyr.

A'r hanes diweddaf am dano r'oed im',
Yw ei fod eto,
Yn dew ar ei ddwylo,
Yn glynu mewn pethau na ddylai fo ddim.
Mae'n haws gwynolchi clais gan gwac,
Neu olchi llygad du yn wyn,
Na golchi'r cŵyr o fysedd Jac;
"'Taé fater, fel 'tase;" am hyn.
Sut bynag fe wnaeth ei orau,
I gànu ei groen;
Ac fel y Penlôyn,
Ymaith cychwynodd, i ben y Carnau.

Yr oedd ganddo fechgyn,
Glew yn ei ganlyn;
'Roedd rhai yn marchogaeth, ar lleill ar eu traed;
Rhai yn brolio'u gynau,
Rhai yn brolio'u 'sgidiau,
Rhai yn brolio'u pyrsau,
A'r lleta'i wefiau'n brolio, oedd Jac yn brolio' i' waed.
Càn gini heddyw, meddai Jac.
Ar fy ngŵn a minau;
Mi laddaf bob pac,
Mi lanwaf y cydau,
Bydd pob un yn gelain,
A gyfyd ar aden;
Mi a'u lladdaf fel meipen rhwng daear a ne';
O herwydd mae llaw dyn o dan y stoc,
A bys saethwr ac y coc.
A 'wedant i'r adar cyn nos, "*boys* be ydyw be,"
Cyn haner dydd rwy'n sicr o lon'd
Bob un o'r cydau adar,—ond
To Hô! To Hô!
Mae Pluto'n setio.

Y crach-foneddwr at ei ffryndiau drodd,
Gan ofyn oddiamgylch pa faint oedd yn bod,
Os oeddynt am fetio!
Anelwyd yn sydyn at iâr a gyfododd,
"Bang" ebai'r ergyd, ond pluen ni syrthiodd;
"Boeth" ebai yntau, i ble'r aeth hi, Sac?
Cwac, cwac, ebai'r ceiliog, cwac, cwac, cwac!
Wac, wac, eb un arall; wac, wac, wac!
Back, back, ebe'r trydydd, *back, back, back!*—
Sais ydyw hwna gyfododd ddiwaethaf,
Cewch wel'd mai efe fydd y cyntaf a saethaf,
Caiff ddisgyn yn gelain i'r grug er ei waethaf;
Ac medd Jac, gan waeddi,
Yn boeth bo'u perfeddi,
*Uncommon wild grouse, boys! off all* mewn crack!!

Pa un a'i llygaid dwl gan faw,
A'i ynte crynu 'r oedd ei law,
Neu'r haul ffordd hyn, neu'r haul ffordd draw,
Ai ynte glynu 'r oedd y cwyr,
Er maint oedd ei fost, er maint oedd ei fâr,
Methodd bob ceiliog, methodd bob iar;—
Ond sut iddo fethu, pwy ddewin a wŷr?—

Prin medrai'r cwmpeini a safai o'i ddeutu,
Ymattal rhag chwerthin! Ebai hog tan gilwenu,
Mae hyna'n rhy ddrwg, pa'm na basai'r hen geiliog
Yn 'madael yn ddistaw? Yr hen ffwl cleberog!
Paham mae rhyw hurtyn pen mynydd fel yna,
Yn siarad ei Saesoneg, a'r Saeson ddim yma?
Roedd gwyneb Jac druan, yn gant o liwiau,
Ar chwŷs mawr yn rasio o'i aeliau i'w ruddiau.

Ond dywedai un cyfaill a'i gôt wedi ei thynu,
Mae digon o rug-ieir os deuwch i fyny;
Ond glasai hyll wyneb cwympedig ein harwr,
A chwysai, a chwythai yr hen grach-foneddwr;
"Na, na," meddai wrthynt, ni's gallaf fi symud,
Rhowch ddrachtiad o frandi; gorphwyswn am enyd!
Pan mae'r *grouse* wedi gwylltio a myned yn mhell,
Peth da iawn yw gorwedd, i deimlo yn well.

Ac yna fe gysgodd a'i ben gwâg ar dŵyn,
A'i draed mawr yn cyrhaedd at sypyn o frwyn;
Yn lledu ei freichiau, ac yn chwyrnu trwy 'i drwyn,
Gan wneud i ddyn feddwl am "Lân Meddwdod Mwyn."

Ac yn ei gamystum a'i osgo di lun,
Beth ddarfu'r boneddwr ond siarad trwy 'i hun;
"Mae hon eisieu'r trwynswch, a hon eisiau gwadan,
Mae'r sawdl yn lled gam, ar troed yn o lydan."
Ac wedi hir fwmian am droed ac am goes,
Gan swn rhai yn chwerthin o'i amgylch,—deffroes:
Ymestynodd fel asyn, a deallodd pa le,
Yr oedd mewn gwirionedd, ac ymaith ag é,
I saethu grug adar ar aswy a dê.

O'r borau, fel dwedir, hyd bedwar prydnawn,
Fe gerddodd filltiroedd trwy'r brwyn a thrwy'r mawn;
A chododd gryn ddwsin o baciau yn iawn;
Fe saethodd ein harwr,
Beth wmbreth o bowdwr,
Ond er ei holl boen,
Heb hidio gwybedyn,
Diangai pob aderyn,
Yn gyfan ei groen.

Ond fel drychiolaeth yn dilyn Jac Grispin,
O dwmpath i dwmpath, ac o bac i bac,
Parhai yr hen geiliog tu ol i'w benelin,
I waeddi'n ddiddiwedd, "*back, back, walk back!*"
A gwelid y bechgyn o'r braidd yn lled chwerthin,
Wrth weled y cwdyn yn lliprin mor llac.
A Jac trwy y dydd,
Mewn ynfyd ffydd,
Fel ffwl pen ffair;
Tra gweilch arno'n ceisio,
I fynd i bracteisio,
Yn erbyn tâs wair:
Gwnai eraill ei annog,
I bara'n galonog,
Y ceid digon o rug-ieir mewn dwy awr neu dair!

"Ha! ha! 'rwyf rhy flin,"
Meddai Jac ar ei din;
"Rhowch ddractiad o frandi, neu ddropyn o win,
O herwydd rhyfeddol o boeth ydyw'r hin;"—
Ac fel roedd e'n yfed "Hir einioes i'r cŵn,"
Cociodd ei glustiau—"Helo! beth yw'r swn!"
"To Ho!" ebai llencyn, "mae *Flora* yn gosod;"
"*All right!*" meddai yntau, "'rwyf finau yn barod."
Cyfododd ei faril, a chododd y 'deryn,
A chodwyd ysbrydoedd rhan fwyaf o'r bechgyn;—
Ond druan o *Flora*, ni chododd byth wedyn,
Tra'r 'deryn yn dianc, a Jac yn pensynu,
Hi dreiglodd mewn eiliad a'i thraed ar i fyny.
'Rol cerdded plwc wedyn y llesg ffwl, âi'n llesgach,
Ac yna cyrhaeddodd berffeithrwydd ffolineb;
Trwy fyn'd lle ni's gellai un ffwl fyn'd yn mhellach,
'Rol saethu a feddai o dipyn callineb.
A barnai glas hogyn,
Mae gwell ydoedd cychwyn,
Yn dorf tuag adre'
Gan ofni rhyw ddamwain,
I'w hanwyl hoff hunain,
Cyn gweled y bore!

Ond druan o Jacco, blin, blin ei aelodau,
Mae'r meirch wedi myned,—a cheffyl ni cheir,

Yr oedd yn flinedig, a *stiff* ei gymalau,
Os nad oedd ei gwdyn yn llwythog o ieir:
Ac felly dechreuodd ei hun ymgysuro
Mor felus oedd cerdded, a dim byd i'w gario,
Ac fel teimlai'r llwynog, 'rol methu cael grawnwin,
Efyntau a deimlai foddhad anghyffredin.

Ond fel 'roedd yn cerdded trwy rug a mawnogydd,
'Roedd brandi ein harwr yn prysur leihau;
A ffitiau sychedig yn dilyn eu gilydd,
A'i ben fel ei botel yn chwim ysgafnhau;
Ac er fod y bechgyn yn cynal ei freichiau,
A dau o'i du ol yn ei wthio mewn trefn,
Fe lynodd rhyw ribyn o wrach yn ei goesau,
A'r gŵr mawr orweddodd ar wastad ei gefn!

Doedd dim byd i'w wneuthur, na dim modd i'w gario,
Na cheffyl na merlyn, na mul yn un man;
Tra'r diafl yn ei goesau yn dyn odditano,
Y brandi 'n rhy gadarn, ac yntau'n rhy wan:
Ond heb fod yn neppell—wrth lidiart y mynydd,
Gwartheg rhyw ffarmwr ganfyddid yn awr;
Deunawiaid a bustych yn ddof ac yn llonydd,
Ac un hen fuwch gyflo yn gorwedd i lawr.
A dywedai rhyw hogyn o natur ddireidus,
'Dyw'r gwr ddim mor uchel nad all fod yn uwch;
Dyrchafwn ef fechgyn, yn fuddugoliacthus,
Ac urddwn ef heno yn Farchog y Fuwch!
"Dyna ben," ebai'r gweddill, "ond beth wnawn am ffrwyn;
Ac hefyd am gyfrwy mae angen:—"
I ateb y diben gwnaed rheffyn pîl brwyn
Ac yn gyfrwy fe dorwyd tywarchen.
Ac felly mewn ffwdan, a ffwndwr, a phoen;
Cyfrwyasant y fuwch ar ei gorwedd;
Tra'r ffrwyn ffasiwn newydd, am ddeugorn a ffroen,
Yn rhoddi difyrwch diddiwedd:
Ac yna aed ati i gario'r gwr mawr,
Yn aelod, yn ben, ac yn gynffon,
Mae'n wir fod e'n ddiog, ddiffrwyth ar y llawr,
Ond trwy fod y bechgyn yn gryfion,
Dyrchafwyd e'n barchus, yn uwch, ac yn uwch,
A chariwyd e'n farchog ar gefn yr hen Fuwch,
O lidiart y mynydd i lidiart y Llan,
Pan cwrddwyd ef yno gan blant o bob man;
Plant gwyllt yr heol—plant gwyllt y coed,
Plant o bob ardal, plant o bob oed;
Plant i fynu,—plant i lawr,
Plant yn y canol—plant bach, plant mawr;
Ni fu y fath helfa o blant erioed,
A phwyntiai pob un
Ei fys at y dyn,
A saethodd ei gi, wrth sythy ei gefn,
Ac adroddir yr helynt drachefn a thrachefn.
Ergyd y wers ydyw'r foeseb iach
"Byddwch beth ydych, bobol bach."

—N. Bennett.

## Y BWRN HIR.

GAN JAMES HOGG Y BUGAIL ETTRICK.

Yn y flwyddyn 1723 dychwelai y Milwriad Ridley o'r India, wedi casglu yr hyn a gyfrifid yn y dyddiau hyny yn gyfoeth dirfawr; ac aeth i breswylio i balas yn y wlad, ar lanau y Tyne Ogleddol, yn swydd Northumberland. Ail adeiladid y ty, a dodrefnid ef yn y modd mwyaf gwŷch a chostus; ac yn mysg pethau eraill, â llestri aur ac arian, y rhai a gyfrifid yn werth mil o bunnau. Arferai fyned yn flyneddol gyd a'i deulu, i'r brif ddinas dros rai o fisoedd y gauaf; ac ar yr adegau hyn, ni adewid ond ychydig wasanaethyddion yn ei dŷ yn y wlad. Ar yr adeg sydd dan sylw genym yma, nid oedd namyn tri o'r gwasanaethyddion wedi eu gadael yno. Llaw-forwyn o'r enw Alice, a gadwai y ty; ac heblaw hyny yr oedd yno hen wr, a bachgen. Yr hen wr oedd yn dyrnu, a'r bachgen yn gofalu am rai o'r anifeiliaid; canys yr oedd y ddau arddwr yn byrddio yn eu tai eu hunain.

Un prydnhawn, fel yr oedd Alice yn nyddu edafedd i wneyd hosanau iddi ei hunan, deuai *pedlar* i'r plas, a chanddo ryw fwrn (*pack*), hynod ar ei gefn. Gwelsai Alice fwrn mor hir, a bwrn mor lydan o'r blaen; ond ni welsai yr un bwrn o'r blaen, mor hir, llydan, a thrwchus, ar unwaith. Yr ydoedd tua chanol y gauaf, pan oedd y dydd yn fyr iawn, a'r nos yn oer, yn hir, ac yn annifyr. Yr oedd y pedlar yn ddyn hardd a thrwsiadus, ac yn un a fuasai yn ol pob tebyg, yn gydymaith diddan i gyfryw un ag Alice ar y fath noswaith a hono: eto tystiai Alice nad oedd hi yn hoffi nemawr arno o'r cyntaf; ac er iddo ddechreu ymgydnabyddu â hi gyda mesur o ysmaldod, a llawer iawn o weniaith yn gymmysgedig, eto pan aeth efe i ymofyn am letty dros y noswaith yno, hi a'i gomeddai yn benderfynol; efe a fwyn-gellweiriai, gan ddywedyd ei fod ef yn credu ei bod hi yn gwneyd yn iawn, mai prin y buasai yn ddyogel ei ymddiried ef dan yr un gronglwyd a'r fath fun hawddgar, a hoffus. Ond, nid oedd dim yn tycio. Na, ni chydsyniai hi ddim iddo i gael aros yno. "Ond, a ydych chwi mewn difrif yn myn'd i fy nhroi allan heno?" "Ydwyf." "Yn wir fy ngeneth anwyl, ni wiw i chwi fod mor afresymol; yr ydwyf wedi dyfod rhag blaen o *Newcastle*, lle y bum yn prynu ystôr newydd o nwyddau, y rhai ydynt mor drymion, fel na's gallaf deithio yn mhell gyda hwynt, a chan fod y bobl o amgylch yma oll o'r fath dlottaf, gwell genyf eich anrhegu â'r warlen (*shawl*) oreu yn fy mwrn, na myned yn mhellach." Ar y crybwylliad am y warlen, gwelid petrusder yn cael

ei ddarlunio mewn amryw liwiau bywiog dros beth amser yn ngwyneb Alice; ond ei challineb a fuddugoliaethodd. "Na, nid oedd hi ond gwasanaethyddes, a'r gorchymyn a gawsai oedd, na chynnwysai neb oddeutu y tŷ, ond y rhai a ddeuent ar neges, na'r cyfryw ychwaith, onid adwaenai hwynt yn dda." "Pa faint gwaeth a fyddwch chwi, na'ch meistr, na neb arall, o ganiattau i mi aros hyd y boreu?" "Yr ydwyf yn erfyn arnoch beidio ymdaeru; canys ni ellwch gael aros yma." "Ond yn wir ni's gallaf gludo fy nwyddau yn mhellach heno." "Yna, rhaid i chwi eu gadael, neu gael ceffyl i'w cludo ymaith." "O'r holl anwyliaid anmhlygedig a wnaed erïoed, rhaid mai chwi yw y benaf. Ond ni's gallaf eich beiaw, y mae eich penderfyniad yn gyfiawn a chymhwys. Wel, wel, gan na ellir gwell, y mae yn rhaid i mi eu gadael, a myned i ymofyn lletty i mi fy hun yn rhywle arall: canys byddai yn gymaint ag yw fy mywyd o werth i mi, i geisio ei gludo yn mhellach yn fy mlinder presenol." Cymerid Alice ar ei gair fel hyn, yr hyn ni fynasai; canys nid oedd dim a fynai hi â'i nwyddau; yr oedd y dyn wedi ei anfoddloni ganddi, a gallasai ei chyhuddo o ladratta rhai o honynt; ond yr oedd hi ei hun cystal a bod wedi rhoddi y cynnyg iddo, ac ni's gallai gyfodi unrhyw wrthddadl resymol yn erbyn iddo adael ei syppyn yn y tŷ; gan hyny hi a roddes ei chydsynied, er yn anewyllysgar. "Ond, byddai y bwrn o'ch ffordd yn well, ac yn ddyogelach hefyd," eb efe, "pe byddech chwi mor garedig a'i gloi i fynu mewn rhyw ystafell." Yna hi a'i harweiniodd i ryw barlwr isel, lle ei cyflëodd yn ofalus ar ddwy gadair, ac aeth i'w ffordd, gan ddymuno nos dda i Alice.

Wedi i Alice a'r syppyn gael eu gadael yn nghyd wrthynt eu hunain yn y tŷ mawr, teimlai ryw fath o arswyd anneffiniedig yn dyfod dros ei meddwl yn ei achos. "Pa beth a ddichon fod ynddo, i'w wneyd mor drwm? ebe hi wrthi ei hun. "Gan fod y dyn wedi ei gludo can belled a hyn, rhaid y gallasai ei gludo yn mhellach — y mae e yn rhyw syppyn rhyfedd annghyffredin; myfi a af i edrych arno unwaith eto, i weled a allaf fi feddwl pa beth sydd ynddo; a phe byddai i mi ei deimlo o amgylch, efallai y gallwn ddyfalu wedi'n yn lled dda pa beth a all fod ynddo."

Aeth Alice i'r parlwr yn ochelgar ac yn ofnus, ac agorodd wisg-gloer oedd yn y pared;—nid oedd arni eisiau dim o'r cwppwrdd ychwaith, yn wir nid edrychodd iddo o gwbl, canys yr oedd ei llygaid yn sefydlog ar y *pac;* a pho hwyaf yr edrychai arno, mwyaf annymunol ydoedd yn ei golwg: ac am ei deimlo, ni fynasai gyffwrdd ag ef am gymaint ag oedd ynddo. Dychwelai i'r gegin drachefn, ac ymddiddanai wrthi ei hun. Meddyliai am daerni y dyn am gael ei adael yno—ei ffurf ddyeithr, a phob peth cyssylltiedig âg ef. Yr oedd rhyw beth yn ddyeithr yn y cyfan, a theimlai yn argyhoeddedig yn ei meddwl ei hun, fod rhyw beth anarferol, os nad annaiarol ynddo.

Pa ddrwg-dybiau na all ofn eu cyfodi yn meddwl benyw? Goleuai ganwyll fold, ac elai i'r parlwr eilwaith, cauai gloriau y ffenestr, a bolltiai hwynt; ond cyn dyfod allan, ymsythai, attaliai ei hanadl, ac edrychai yn ddyfal, graffus, ar y syppyn unwaith drachefn. Gwarchod pawb! Hi a'i gwelai yn ysgogi, mor amlwg ag y gwelsai ddim erïoed. Safai pob blewyn ar ei phen yn syth. Yr oedd pob modfedd o gnawd ar ei chorph, yn crynu fel nyth morgrug. Prysurai i'r gegin can gynted ag y gallai; canys yr oedd gliniau Alice druan yn gwegian dan y braw a orlethai ei chalon. Chwythai y ganwyll allan, a goleuai hi drachefn, a chan fethu cael canhwyllyr, er fod yno ddwsin ar yr astell yn y gegin, hi a'i dodai mewn siwg ddwfr, a rhedai i'r ysgubor, am yr hen Risiart, y Dyrnwr. "O Risiart! O er trugaredd Risiart! brysiwch, a deuwch i'r ty. Dowch ar frys Risiart."—"Pa beth yw yr helynt, Alice? Pa ddrwg sydd?" "O Risiart! Pedlar a ddaeth i'r plas i grefu am letty: ond, ni's mynwn i adael iddo aros ar un cyfrif; ac felly efe a aeth ymaith, ac a adawodd ei bac." "A pha beth mawr sydd yn hyny," medd Risiart, "mi a ddaliaf geiniog yr edrych ef ar ol ei sypyn, cyn yr â hwnw i edrych ar ei ol ef." "Ond O Risiart, yr ydwyf yn crynu droswyf wrth ddweyd i chwi! Y mae ar ben arnom oll; canys sypyn byw ydyw!" "Sypyn byw!" medd Risiart, gan hyll-dremio ar Als, a llaesu ei weflau. Yr oedd Risiart newydd godi y ffust uwch ei ben i ddechreu dyrnu ysgub; ond pan y clywodd am sypyn byw, efe a ollyngodd un pen i'r ffust i lawr, a chan roddi ei bwys ar y pen arall, edrychai yn synedig ar Als; yn fwy syn nag yr edrychasai arni erïoed o'r blaen. "Sypyn byw!" medd Risiart; "mae yn rhaid fod y ddynes wedi gwallgofi."—"O Risiart! dewch oddiyna. Y Nefoedd a wyr pa beth sydd ynddo! ond myfi a'i gwelais yn ysgwyd mor amlwg ag yr ydwyf yn eich gweled chwi y fynyd yma. Brysiwch, deuwch i'r ty Risiart." Nid ymdrodd Risiart i ymresymu yn hwy, nag hyd yn nod i roi ei gôt am dano, ond aeth gyd ag Als i'r tŷ, gan ei sicrhau ar hyd y ffordd nad oedd yn ddim ond mympwy, a thebyg i lawer o'i dychymygion. "Ond," eb efe, "o'r holl ddychymygion ffôl a ddaeth i'ch pen erïoed, dyma y mwyaf annaturiol ac anmhossibl. Pa fodd y gall bwrn wedi ei wneyd i fynu o dywelau, mwyslin, a chord-y-rhi efallai, ddyfod byth yn fyw? Y mae yn fwy disail na'r hen

wrach-goel y dichon i rawnen ceffyl droi yn llysowen." A chan ddywedyd hyny, efe a gyfodai y ganwyll o'r siwg ddwfr; ac aeth rhagddo yn ddi ymaros, nes dodi ei law ar y sypyn. Efe a deimlai y prenau a ddodasid gyd a'i ymylon, er atal i'r nwyddau gael eu dygrychu, a'u llychwino wrth eu cludo; y rheffynau a'i rhwyment, a'r bras-liain yn yr hwn ei hamgauasid. Yr oedd y sypyn yn gyfryw ag y gwelsai sypynau eraill a welsai wedi eu gwneyd i fynu o'r cyffelyb nwyddau. Ni's gwelai ddim yn hynod ynddo, ond ei fod yn un mawr iawn. Rhaid ei fod wedi costio i'r pedlar gonest ddau gant o bunau, os nad ychwaneg; ac os oedd y nwyddau yn rhai dâ, costiasai iddo dri chant, neu dri chant a haner o bunau. Ond efe a'u gwnelai i fynu, ac elw da arnynt, trwy dwyllo benywod ffol fel Als â'i ofregedd. Amlygai Als fesur o siomedigaeth wrth ganfod Risiart mor bell o gael ei argyhoeddi o'r perygl, fel y canlyniad o'i ymchwiliad. Pa fodd bynag, buasai yn dda ganddi pe na's gwelsai ef na'i fwrn; canys credai fod rhywbeth dyeithr ac aneglur yn nglyn ag ef; mai eiddo lladrad oeddynt, neu rywbeth o'r fath; ac ofnai aros yn y tŷ gydag ef. Ond fe'i sicrheid gan Risiart, nad oedd dim yn perthyn i'r bwrn yn sail deg o ddrwg-dybiaeth. Tra yr oeddynt yn ymddiddan fel hyn, deuai Edward i fewn. Bachgenyn oedd hwn tuag un flwydd ar bymtheg oed, mab i gludwr glo o'r cyffiniau —ac yn feddiannol ar fesur helaeth o ddigrifwch ac athrylith; ond yn lled gnafaidd ac anturiaethus; ac yn gyffredin yn garpiog iawn yn ei wisg. Y pryd hwn yr oedd ei holl fryd ar saethu brain, ac amryw fath o adar eraill, a ddisgynent yn heidiau ar y llanerchau lle y porthai efe ei anifeiliaid. Yr oedd efe wedi prynu hen ddryll milwraidd mawr, yr hwn a alwai ef, *Copenhagen*, a tharanai attynt yn barhaus. Anfynych, os byth, y byddai yn lladd yr un; ond, efe a darawsai ychydig blu ymaith unwaith neu ddwy, a thrwy ymchwiliad manol iawn, darganfuasai rai dyferynau o waed ar yr eira. Daethai i fewn y fynyd hon ar frys mawr i gyrchu *Copenhagen*, am ei fod wedi gweled cyfle rhagorol i danio ar luaws o adar y tô, a Robin goch yn eu mysg, yn ymborthi ar y lle y buasai dâs o ŷd; ond wrth eu clywed yn siarad am rywbeth dyeithriol, a bwrn o rywbeth byw, efe a glust-ymwrandawodd yn llawn astudrwydd. "Ar fy ngwir I, Als, mi a'i saethaf os gadewch i mi," medd ef.—"Dal dy dafod, ffŵl," medd Risiart. Cymerai Edward y ganwyll o law Risiart, yr hwn a'i daliai yn ei law o hyd, ac elai yn ddystaw at ddrws y parlwr, gan graffu ar y sypyn yn ddyfal am tua dau fynyd. Yna deuai yn ol ar grych-naid, a'i wedd wedi newid yn ddirfawr ragor yr hyn ydoedd pan elsai o'r gegin; ac a daerai yn y modd mwyaf difrifol, ei fod wedi ei weled ef yn symmud. "Dal dy dafod, y ffwl," medd Risiart drachefn. Tyngai Edward drachefn ei fod wedi gweled ysgogiad yn y bwrn, neu, y pac. Ond nid yw yn hawdd penderfynu pa un a oedd efe yn credu hyny yn ddisigl ai nad oedd. "Yn wir Als," medd efe drachefn, "os rhoddwch chwi genad i mi, myfi a'i saethaf ef." "Yr ydwyf yn dweyd wrthyt yr hurtyn, am ddal dy dafod," medd Risiart. "Nage," meddai Edward, "yn amlder cynghorwyr y mae dyogelwch;" ac yr ydwyf fi yn dal mai hyny a fyddai yn fwyaf dyogel i ni. Y mae tŷ ein meistr wedi ei roddi dan ein gofal ni, a gall y cyfoeth sydd ynddo demtio rhyw bobl i arfer ystrywiau. Yn awr pe byddai i ni agor sypyn y dyn hwn efe a allai ein herlyn am golledion i unrhyw swm; ond pe y saethwn i ei fwrn, pa beth a all efe wneyd o honof fi? Od oes yna rywbeth na's dylai fod, gwarchod pawb, fel y pupurwn ef! Ac os nwyddau cyfreithlawn ydynt, ni's gallai namyn gwneyd i mi dalu am yr ychydig a niweidid, y rhai a gawn i dan arbrisiad; gan hyny, os na chydsynia yr un o honoch chwi, myfi a gymeraf yr holl fai arnaf fy hunan, ac a wariaf ergyd arno." Yna dywedai Risiart, pa beth bynag a fyddai y canlyniad, y byddai ef yn ddïeuog. Ryw wên haner gorphwyllog ar wyneb Als, yr hon a'i hagrai yn fwy nag ei prydferthai, a gymerai Edward fel arwydd o'i chydsynied â'r hyn a geisiai; ac felly, gan gymeryd *Copenhagen* yn un llaw, a'r ganwyll yn y llall, efe a brysurai i waered y fynedfa, ac heb betruso mynyd, taniodd at y sypyn. Y nefoedd fawr! Arllwysai y gwaed ar hyd y llawr fel llifeiriant, a rhuad annaiarol, yn cael ei dylyn gan ruddfanau angeuol, yn dyfod o gyfeiriad y sypyn. Gollyngai Edward ei *Copenhagen* i lawr, a rhedai i'r gegin fel un gorphwyllog. Yr oedd y gegin yn odywyll, canys efe a adawsai y ganwyll yn y parlwr; felly, gan ymwneyd am y drws, heb allu dweyd yr un gair, efe a redai i'r bryniau fel iwrch gwyllt, gan edrych dros y naill ysgwydd, a thros y llall, can gynted ag y gallai droi ei ben o'r naill ystlys i'r llall. Dylynai Als ef mor gyflym ag y gallai, gan wylo ac ocheneidio yn y modd mwyaf gresynol yr holl ffordd. Safai yr hen Risiard fel pe buasai gareg, dros beth amser; ond o'r diwedd, wedi ocheneidio rhai saeth-weddïau, efe a aeth i'r parlwr. Yr oedd y gwaed wedi llifeirio dros y llawr; a'r bwrn, neu, y sypyn, wedi ymdaflu ar y llawr; ond, yr oedd y gruddfanau a'r llefau wedi peidio, a dim ond rhyw swn syfnigawl i'w glywed oddiwrtho. Gan wybod fod yn rhaid gwneyd rhywbeth bellach, rhedodd yr hen wr

ar ol ei gymdeithion, gan alw arnynt i ddyfod yn ôl. Er fod Edward wedi dïanc yn mhell o ffordd, ac yn parhau i fyned rhagddo, eto, gan na byddai byth yn cymeryd amser i ystyried defnyddioldeb unrhyw beth, ond yn gweithredu oddiar gyffrawd y foment, efe a drodd, a dychwelai mor gyflym ag yr aethai ymaith. Dychwelai Als adref hefyd; ond yn fwy araf, a chan wylo, hyd yn nod yn chwerwach nag o'r blaen. Edward a'i goddiweddai, a dechreuai arafu yn ei gamrau; ond pan ddaeth efe gerllaw iddi, hi a dröai draw rhag edrych arno, ac a'i galwai yn llofrudd. Pan ddisgynai y cyfenw yna ar ei glust, tröai Edward i edrych arni âg wyneb llawer hwy nag arferol. Tynodd ei anadl i fewn ddwy waith, fel pe y buasai am ddweyd rhywbeth; ond ni wnaeth namyn llyncu cegiad o awyr, a dal ei dafod.

Yr oeddynt eu tri yn y parlwr yn fuan, ac mewn braw a chyffro meddwl nid ychydig, dechreuent ddattod y sypyn, prif gynnwys yr hwn ydoedd dyn ieuanc cryf, yr hwn a saethasid trwy ei galon gan Edward, ac felly a ddifuddiasid o'i fywyd mewn ychydig fynydau. Y mae darlunio teimladau, ac hyd yn nod ymddangosiad Edward ieuanc ar y pryd hwn, yn annichonadwy; ni wnelai nemawr, siaradai lai; ac ymddangosai fel un mewn irdanc anobeithiol; y peth mwyaf a wnelai, oedd llyncu safneidiau o'i anadl, sychu ei lygaid, a llygadrythu ar ei gymdeithion.

Credir yn gyffredin nad oedd dim yn mhellach o feddwl Edward na saethu dŷn, pan daniodd ef ar y bwrn; ond wrth weled Als mor eiddigus o hono, efe a feddyliasai y buasai y Milwriad yn cymeradwyo ei bybyrwch, ac yn sefyll rhyngddo a chael ei ddrygu gan y Pedlar; ac heblaw hyny, ni chawsai siawns yn ei fywyd o'r blaen, i saethu at beth mor fawr, ac yr oedd yn awyddus i gael allan trwy ba sawl plyg o fân-nwyddau y Pedlar, y buasai *Copenhagen* yn gyru yr ergyd; o ganlyniad, pan ddechreuodd y gwaed ffrydio o'r sypyn, a hyny yn cael ei ddylyn gan ruddfanau angeuol creadur o ddyn, yr oedd Edward yn ddïau wedi ei oddiweddyd gan syndod dirfawr ac annysgwyliadwy. Y mae yn wir ei fod yn parhau i haeru tra fu byw, iddo weled rhywbeth yn cyffro yn y bwrn; ond pan ystyriom mor awyddus oedd efe am gael saethu, a'i ddychryn wrth ganfod yr hyn a wnelsai, yr hyn ni fuasai yn ddim mwy nag a allasai ei ddysgwyl pe y buasai yn sicr ei fod wedi ei weled yn symud, fe'n tueddir i ammeu yr haeriad. Hwy a wnaethant bob peth ar a allent i ryddhau y corph yn brysur, gan fwriadu cyrchu cymhorth meddygol; ond yr oedd yn rhŷ ddiweddar; yr ydoedd y wreichionen fywiol wedi myned ymaith am byth.

"Och y dyn truan!" medd yr hen Risiard, gyd ag ochenaid ddofn, "y mae drosodd gydag ef am byth! Buaswn yn dymuno iddo gael byw ychydig yn hwy, i edifarhau am hyn; canys y mae yn sicr ei fod wedi marw mewn achos drwg. Druan oedd ef! yr oedd yn fab i *ryw rïeni;* ac yn hoff ganddynt yn ddiammeu; ac nid oes neb a all ddweyd pa mor fychan y camwedd y tarddodd hyn yn ffrwyth arno, trwy raddfeydd rheolaidd." Tynai Risiart lawes ei grys dros ei lygaid fwy nag unwaith (canys ni roddasai ei gôt am dano eto) fel yr elai meddwl tyner drwy ei galon. "Och! os ydyw ei rïeni yn fyw, pa fodd y daliant hyn, drueiniaid?" medd Risiart, gan ymdori i wylo yn hyglyw.—"Druain ydynt! tosturied Duw wrthynt."

Yr oedd efe wedi ei bacio i fynu yn dra chelfydd. Plygasid ei liniau i fynu tu a'i fynwes, a'i draed a'i goesau a ddodasid mewn coffr o bren, tra yr oedd coffr arall, mwy, ac heb waelod iddo, yn llanw y gwagle ydoedd rhwng ei wyneb a'i liniau, a chan nad oedd namyn un plyg o fras-liain o amgylch hyn, yr oedd efe yn anadlu gyd a'r rhwyddineb mwyaf; ond rhaid mai ymweithiad ei fynwes fel yr anadlai, oedd yr ysgydwad, neu y cyffro a dynasai sylw Als. Yr oedd ei fraich ddehau o fewn y coffr, a chleddyf byr wedi ei rwymo wrth ei law, â'r hwn y gallasai rwygo ei ffordd o'i garchar mewn mynyd. Yr oedd pedwar llaw-ddryll llwythog hefyd wedi eu dirgelu gyd ag ef, ac yswichell arian. Pan welsant y llaw-ddrylliau a'r gyllellgleddyf, dywedai yr hen Risiart yn gyffrous, "Y Dyhiryn! a welwch chwi pa beth sydd ganddo yma? Ond, ni ddylwn roddi enwau drwg arno," medd efe, gan dyneru ei oslef; "canys y mae efe yn awr wedi myned i roddi cyfrif ger bron yr orsedd, lle na ddichon unrhyw dyst twyllodrus, na dadleuwr siaradus, wyro cyfiawnder y ddedryd a gyhoeddwyd arno. Wrth yr ymddangosiadau yn unig y gallwn ni farnu: ond, dïolch i'n Gwneuthurwr a'n Ceidwad tirion, ei fod wedi ei ddarganfod, neu, y mae *yn debyg* na buasai yr un o honom ni yn gweled goleuni dydd mwyach." Y sylwadau hyn yn dyferu oddiar wefusau yr hen Risiart, a gyfodasant ysbryd Edward yn raddol, yr hwn oedd wedi ymddyrysu mewn ansicrwydd, a'i roddi ei hun i fynu fel un colledig; ond erbyn hyn efe a ddechreuai ddeall ei fod ef wedi gwneyd gweithred deilwng; ac am y waith gyntaf er pan ollyngasai yr ergyd angeuol, efe a anturiodd lefaru, gan ddywedyd, "Gan hyny, yr oedd yn dda fy mod wedi saethu;" ond nid attebodd yr un o'i gymdeithion, na dâ, na drwg. Er mor gyffrous ei meddwl ydoedd Als, hi a gynnorthwyai yn well nag y gallesid dysgwyl yn y drafodaeth waedlyd hon. Edrychai Edward ar

y llaw-ddrylliau yn fanol, dau o ba rai oeddynt o wneuthuriad cywrain. "Pa beth debygech chwi oedd efe yn myned i'w wneyd â'r rhai hyn oll?" medd Edward. "Yr wyf yn meddwl na raid i chwi ddim gofyn hyn yna," medd Risiart. "Yr oedd yn drugaredd gan hyny wedi y cwbl, fy mod i wedi saethu," medd Edward, "canys pe buasem wedi ei ollwng ef allan, nyni a fuasem yn gelaneddau meirwon oll mewn mynyd. Mi a roddais ergyd ofnadwy iddo hefyd. Ond, a welwch chwi Risiart, fe'm cyfarwyddwyd gan Ragluniaeth i'r iawn ysmottyn; canys hawdd y gallaswn ollwng cynnwys *Copenhagen* i un o'r coffrau gweigion yma." "Yr oedd yma gynllun dichellgar i'n llofruddio ni oll, ac yspeilio tŷ ein meistr," medd Risiart; "y mae yn ddigon sicr fod ychwaneg na'r ddau yma yn y cyd-frad."

Y naill feddyl-ddrych a gynnyrchai un arall, hollol wahanol yn aml; ac un arall drachefn, mewn amrywiaeth tra mawr; ac felly, pan grybwyllodd Risiart ei fod yn sicr fod ychwaneg na'r ddau yn y cyd-frad, meddyliodd Edward yn y fan am fintai o ladron yn y nos. Fel y torai efe goes un o honynt, y saethai un arall trwy ei ben, ac y gwasgarai hwynt oll, fel peiswyn o flaen y gwynt. Buasai yn well ganddo saethu un yspeilydd ar ei draed, neu ar farch, na deg yn gorwedd yn rhwym mewn paciau; ac yna, y fath yspail ogoneddus o law-ddrylliau a gawsai efe oddiar gyrph y cnafiaid—fel y buasai yn llwytho ac yn tanio mewn dyogelwch perffaith, oddi fewn i'r tŷ! Fel yr ysgrechai Als, ac y gweddïai Risiart, ac yr elai pob peth yn mlaen â thrwst, ac â chyflymder y felin wynt, ac yr enillai yntau enwogrwydd tragywyddol. Y cyfryw ddychymygion gwylltion a wibient trwy feddwl bywiog Edward, fel y cerddai yn ol ac yn mlaen ar draws y llawr, a'i lygaid yn torwynu fel pe y buasai ar fin gwallgofi. "O! pe y buasai genyf ddigon o ddrylliau, a dim i'w wneyd ond saethu, fel y pwywn I y cŵn!" medd efe gyd a'r fath nwyd-wylltedd fel y synai Als, a Risiart, gan ofni fod y bachgen wedi colli ei synhwyrau. "Pa beth yw meddwl y ffŵl?" medd Risiart, "Pa beth sydd rhyngddo â'r cŵn?" "O! yr yspeilwyr ydwyf fi yn ei feddwl," medd Edward. "Pa yspeilwyr fachgen?" medd Risiart." "Pa beth, onid ydych chwi yn meddwl y daw y pedlar yn ol yn nhrymder y nos, i gynnorthwyo ei gyfaill; gan ddwyn eraill i'w ganlyn yn gymhorth iddynt?" medd Edward. "Nid oes dim lle i ammeu," medd yr hen Risiart. "Nac oes yn wir," medd Als; ac yn y fan yr oedd y ddau wedi ymsythu gan ofn a syndod. "O! y Nefoedd drugarog! Pa beth a ddaw o honom?" medd Als drachefn. "Pa beth a wnawn ni?" "Ymddiriedwn yn yr Arglwydd," medd yr hen Risiart. "Yr ydwyf fi yn bwriadu ymddiried yn yr hen *Copenhagen* yn gyntaf," medd Edward; gan chwareu gydag ystordyn ei ŵn. "Ond, yn enw'r daioni! am ba beth yr ydym yn meddwl! mi a redaf i gasglu cynnifer o ynau ag sydd yn y wlad," medd Edward, gan arweiniad cyffro ei feddwl ar y pryd; ac ymaith ag ef fel tân gwyllt, gan rybuddio rhai o ddeiliaid y Milwriad, y rhai y gwyddai eu bod yn cadw gynau, a'r rhai hyn drachefn a rybuddient eraill, fel yr oedd pump ar hugain o ddynion yn y tŷ erbyn wyth o'r gloch; ac un ar bymtheg o ddrylliau llwythog, gan gynnwys *Copenhagen*, a'r pedwar llawddryll a gawsid gyd a'r tranced-ig. Y rhai hyn a ranwyd rhwng ffenestri y *front*, yn yr ystafelloedd uchaf; a'r gweddill, wedi ymarfogi â phig-ffyrch, hen gleddyfau, a phastynau, a warchaëent yr ystafelloedd isaf. Yr oedd Edward wedi gofalu am ei gyfleu ei hun a chyfaill iddo, mewn ffenestr a wynebai yn gymhwys ar y ddyfodfa at y tŷ, ac yn awr tra yn cael ei gefnogi gan blaid mor gref, teimlai awydd angerddol am gael un cynnyg eto, gyd a'i *Copenhagen* ddigyffelyb. Pa fodd bynag, yr oedd pob peth yn dawel hyd onid oedd wedi haner nôs, ac ar y pryd hyny daeth i feddwl Edward i ddefnyddio yswichell y lleidr: gan hyny, heb rybuddio neb o'r lleill, rhoddodd ei ben allan drwy y ffenestr, a chwythodd yn ei yswichell, hyd onid oedd y bryniau a'r coedwigoedd o amgylch yn dïaspedain. Brawychodd hyn y gwylwyr, gan nad oeddynt yn gwybod pa beth oedd ei amcan; ond, pa faint mwy oedd eu synedigaeth pan ei clywsant yn cael ei hatteb gan ryw un heb fod yn mhell? Yr oedd y pryder i'r hwn y bwrid ein gwladwyr arfog trwy yr amgylchiad annysgwyliadwy yma, yn annysgrifiadwy; gan eu bod yn canfod yn rhŷ eglur i'w amheu yn hwy, fod tynged cyfoeth mawr eu meistr, ac hyd yn nod eu tynged hwy eu hunain, i gael ei phenderfynu yn fuan; ac ni allai neb ond yr hwn sydd yn gweled y diwedd o'r dechreu, ragweled pa beth a fyddai y canlyniad. Yr oedd calonau pob un yn curo yn gyflymach, a'u hanadl yn myned yn fyrach; yr oedd pob gŵn wedi ei lwytho, a'i ddodi mewn ffenestr, gan ei gyfeirio tu a'r porth; a phob llygad yn tremio allan, er canfod dynesaad y gelyn wrth oleuni gwanaidd y ser; a phob clust yn ymwrandaw, er cipio trwst eu dyfodiad o draw: ond ni pharhaodd yr ansicrwydd yn hir; canys mewn llai na phum mynyd, clywid trwst meirch yn dynesu; ac yn fuan iawn, deuai mintai o wŷr ar feirch, i fynu ar duthiad cyflym, a dechreuent ddyfod i fewn trwy y porth i dalwrn y palas. Yn ol adroddiad pobl y Milwriad, yr oeddynt yn lluosoccach na'r amddiffynwyr. Ni's gallai Edward ymattal yn hwy, ac efe a daniai ei

*Copenhagen* yn eu hwynebau, ar yr hyn y cwympai un o'r rhai blaenaf o'r marchogion, a neidiai ei farch yn ddychrynedig rhyngddo a drws y palas. Yr oedd yr ergyd hon braidd yn gyn-amserol, gan fod y fagwyr yn cysgodi amryw o'r fintai oddiwrth y ffenestri. Pa fodd bynag, fe'i cymerwyd fel arwydd gan y lleill oll, a chyn pen dau eiliad, yr oedd yr holl ddrylliau eraill, un ar bymtheg mewn nifer, wedi eu tanio arnynt; a chyn bod y mwg wedi chwalu, yr oeddynt oll wedi ffoi, gan ryfeddu yn ddiammeu at y fath groesawiad. Rhedai Edward, a'i gydymaith i lawr y grisiau, er mwyn gweled pa fodd yr oedd pethau yn sefyll; gan feddwl yn ddi lai eu bod wedi eu saethu bob yr un, a bod eu ceffylau wedi dychrynu gan drwst yr ergydion, a charlamu ymaith heb eu marchogwyr: ond y rhai oeddynt i waered, a wrthdystient yn groch yn erbyn iddynt agoryd yr un o'r drysau hyd olau dydd; ac felly bu raid iddynt ddychwel yn ol drachefn i'w gorsaf yn ffenestr y llofft.

Er bod yr amddiffynwyr wedi ymgalonogi, ac ennill gradd o hyder ynddynt eu hunain trwy yr amgylchiad uchod, yr oedd eu sefyllfa eto yn un ddyeithriol, a thra ofnadwy iddynt hwy. Gwelent, a chlywent rai o'u cyd grëaduriaid yn gruddfan ac yn trengu mewn poenau yn yr awyr agored, yr hon oedd yn oer dros ben; eto ni feiddient fyned allan i weini yr ymwared lleiaf iddynt, gan ofn i rai o'u cymdeithion ddisgyn ar eu gwarthaf. Yn mhen awr neu ddwy ar ol y ffrwgwd uchod, aeth Edward a'i gydymaith i waered eilwaith, gan daer erfyn am gael myned allan i edrych pa fodd yr oedd pethau, am ychydig fynydau; yr hyn o'r diwedd a ganiattawyd iddynt. Ni chanfuant namyn pedwar o ddynion wedi cwympo, y rhai a ymddangosent yn gwbl feirw. Yr oedd un o honynt yn gorwedd o fewn cyntedd y plas. "Yn sicr," medd Edward, "dyma y gwalch a saethais I." Yr oedd y tri eraill allan, ac yn lled bell oddiwrth eu gilydd. Ni's meiddient ddilyn eu hôl yn mhellach, am fod y ffordd yn myned rhwng y llwyni coed, ond dychwelasant yn ol i'w gorsafau blaenorol, heb gyffwrdd mewn dim.

Tuag awr cyn dydd, dychrynid rhai o honynt trwy glywed trwst cerddediad meirch yn dynesu at y tŷ yr ail waith; ond yn aneglur, ac ar adegau lled bell oddiwrth eu gilydd; ac nid ymddangosodd dim byth o honynt. Cyn hir wedi hyn, cafodd Edward a'i gydymaith, eu dychrynu bron o'u synhwyrau, wrth ganfod, fel y tybient, y corph marw oedd o fewn cyntedd y palas, yn ymdrechu i gyfodi i fynu, a dïanc. Hwy a'i gwelsent yn gorwedd yn farw, ac yn gylchynedig gan waed ceuledig; a chan na ddychymygent am ddim ond ysbrydion a bwbachod, yr oeddynt mor ansynwyrol, fel na feddyliasant unwaith am danio arno; ond rhedasant ac adroddasant eu chwedl frawychus i'r lleill. Yr oedd yr wybren mor gymmylog erbyn hyn, fel na's gellid gweled dim yn eglur, ac arhosasant oll mewn ansicrwydd pryderus, hyd oni eglurodd goleuni dydd iddynt yn raddol, fod y cyrph wedi eu symmud ymaith, ac na adawsid dim ond lleni rhewedig o waed yn y manau y cwympasent: a'u brawiadau plygeiniol gan y ddrychiolaeth, a thrwst y meirch, a gawsent eu hachlysuro gan waith cyfeillion y dynion a gwympasent, yn eu cludo ymaith rhag ofn iddynt gael eu darganfod.

Y boreu dranoeth, ymdaenai y newyddion fel tân; a pharid annghyfleusdra mawr i'r gwasanaethyddion, gan finteioedd o segurwyr ymyrgar, a ymgynnullent o amgylch y tŷ, rhai yn ymholi yn nghylch y manylion lleiaf, rhai yn crefu cael gweled y corph a orweddai yn y parlwr, ac eraill a ymfoddhaent wrth lygad-rythu ar y lleni o iâ gwaedlyd, a dylyn yr ysmotiau o waed ar y ffordd, yn nghyfeiriad y coed. Nid oedd gan y Milwriad yr un goruchwyliwr yn y wlad, nac unrhyw gyfaill neillduol yn y gymmydogaeth; o ganlyniad nid ymchwiliwyd i'r helynt â'r cyflymder gofynol er darganfod y cydfradwyr; yr hyn pe y gwnelsid, a fuasai yn gynnyrchiol o rai amgylchiadau tra annymunol, trwy ddwyn i'r rhwyd amryw deuluoedd tra chyfrifol, fel yr ymddangosodd yn rhŷ eglur wedi hyny. Ysgrifenodd y Dr. Herbert, y meddyg a fyddai yn gweini ar y teulu yn achlysurol, at y Milwriad, i'w hysbysu o'r trychineb; ond, er na chollodd efe ddim amser, yr ydoedd yn bummed dydd cyn iddo gyrhaedd yno. Yna yn wir, fe roddwyd hysbysleni allan, y rhai a ddodwyd i fynu yn mhob rhyw leoedd cyhoeddus, yn cynnwys gwobrwy am hysbysiaeth mewn perthynas i unrhyw berson a laddasid, neu a archollasid yn ddiweddar. Archwiliwyd yr holl feirwon, a chleifion, o fewn ugain milldir o gylch; ond aeth yr holl ymchwil yn ofer; yr oeddid wedi oedi gormod, fel yr oedd pawb oedd yn y perygl, wedi cael digon o amser i ymddïogelu. Gwelid colli rhyw rai o'r gymmydogaeth mae yn wir; ond gan fod esgusodion lled resymol yn cael eu rhoddi am eu habsenoldeb, ni ellid gwneyd dim o honynt. Ond y mae yn wirionedd am amryw o'r rhai hyny, na's gwelwyd hwy yn y wlad byth mwyach, er fod llawer o'r gymmydogaeth yn tystio am danynt, eu bod yn gyfryw na fuasai neb yn eu drwg-dybio o fod yn gyfranogion yn y fath anfadwaith.

Bu corph y dyn anffodus a saethasid yn y bwrn, yn agored i arsylwad am bymthengnos, ond ni fynai neb gymaint a chydnabod eu bod wedi ei weled erioed. Yna, parodd y Milwriad iddo gael ei gladdu yn Ballingham; ond haerid

yn gryf fod ei fedd wedi cael ei agor, a'r corph wedi ei gymeryd ymaith. Mewn gair, ni ddarganfuwyd neb byth a gymerasai ran yn yr ymgais ysgeler yma. Cedwid gwyliadwriaeth gyson y nos ar y tŷ, dros beth amser ar ôl hyn; a'r Milwriad a wobrwyodd amddiffynwyr ei dŷ yn haelionus. Arhosodd yr hen Risiart yn y teulu dros y gweddill o'i oes; a rhoddid cyflog da iddo am gynnal addoliad teuluaidd yn mysg y gwasanaethyddion bob nos. Prïodwyd Als â masnachwr yn Hexham. Gwnaed Edward yn geidwad helwriaeth i'r Milwriad, a gwnaed anrheg iddo o ŵn goreuredig hardd. Wedi hyny, cafodd ei feistr swyddogaeth iddo mewn catrawd o draed-filwyr, lle y cyfarfyddodd ag amryw anffodion a siomedigaethau. Cafodd ei saethu drwy ei ysgwydd yn mrwydr Fontenoy, ond adferwyd ei iechyd, ac efe a ymneillduodd o'r fyddin ar haner tâl, a chymerodd dyddyn yn nghwr Ysgotland. Ei nodwedd oedd, ei fod yn swyddog dewr, ond byrbwyll; yn garedig a chalon rydd yn mhob sefyllfa. Bum yn sefyll wrth ei lin lawer gwaith, yn gwrando gyd ag edmygedd arno yn adrodd ei chwedlau am frwydrau a gwarchaeadau: ond nid oedd yr un o honynt yn rhoddi mwy o foddhad i mi, nag "Ystori y bwrn hir."

Och! y mae yr un dynged ag a'i cyfarfu ef, yn dynesu i'n cyfarfod ni oll! Y mae efe wedi gorfod ymostwng i goncrwr holl ddynolryw er's llawer dydd. Y mae ei galon ddewr yn awr yn mhriddellau y glyn, a'i benwyni yn gorphwys mewn heddwch ar y gobenydd hwnw, oddiar ba un y cyfyd yn unig pan na bydd amser mwyach.

---

# DETHOLION O GYFANSODDIADAU Y PARCH. GORONWY OWAIN

## (NEU GORONWY DDU, O FON).

Mab oedd efe i Owen Goronwy, Eurych; a dywedir iddo gael ei eni mewn tŷ bychan, ar gwr y Rhos Fawr, yn mhlwyf Llanfair Mathafarn eithaf, swydd Fôn, tua dechreu y flwyddyn 1722.

Yn yr Angueddfa Brydeinaidd cair a ganlyn o'i achau, yn llawysgrif William Morus, Ysw. o'r Dollfa, Caergybi; brawd Llewelyn Ddu, o Fôn, a chyfaill mynwesol i Goronwy:—"Goronwy Owain ydoedd un o bump o blant i Owen Goronwy, o Jane Parry. Owen Goronwy ydoedd fab i Gronwy Owain, yr Eurych, o'i wraig, Margaret Humphreys, ferch Humphrey Hughes yr Eurych, fab Hugh Williams, Llanallgo, o'i wraig, Susannah, ferch Gruffydd Llwyd, y Meddyg. Gronwy Owain yr Eurych, ydoedd fab i Owen Gronw, fab Gronw ab William, fab William ab Howel, fab Howel ab Gronw." Ac am y Susanah uchod, cawn y cofnodiad canlynol yn yr unrhyw Ysgrif.—"Gruffydd Llwyd, meddyg, o Ddol y farch felen, swydd Frycheiniog, a brïododd ettifeddes y Gelli Lydan, Castell Hedyn, y Gelli Gandryll, a'r Plas Dû, swydd Frycheiniog, a hyny yn erbyn ewyllys, a heb gydsynied, ei charedigion a'i hymddiriedolwyr; a chan iddi hi farw cyn i'r ettifeddiaeth ddyfod i'w meddiant, gan adael ar ei hol, unig ferch, y Susanah uchod, a bod Gruffydd Llwyd yn y cyfamser yn llaw-feddyg ar un o'n cad-longau yn Môr y Canoldir, ac iddo gael ei gymeryd yn garcharor gan y Tyrciaid, lle ei cadwyd dros amryw flynyddoedd; ar ei ddychweliad i'w wlad, efe a ganfu fod ceraint ei wraig wedi anfon ei unig blentyn o'r ffordd, (at rai o geraint ei thâd, efallai,) a meddiannu yr ettifeddiaeth." Fel hyn gwelwn, fod ein bardd o haniad anrhydeddus, er nad oedd ei rïeni union-gyrchol, namyn pobl o sefyllfa isel. Amlygai Goronwy awydd cryf am wybodaeth a dŷsg, pan yn dra ieuanc, ond ei dad a'i triniai yn erwin a sarrug o'r herwydd, yn lle cefnogi y cyfryw awyddfryd canmoladwy yn ei blentyn; ond, trwy ddylanwad ei fam, cafodd Goronwy ieuanc ddilyn ei ysgol; a phan yn bymtheg oed, yr oedd yn gymhwys i'r swydd o gynnorthwywr mewn ysgol ramadegol yn Mhwllheli. Trwy haelioni Mr. Edward Wynn, o Bodewryd, fe'i galluogwyd i fyned i Rydychain, yn 1741, a chafodd ei raddio yn Ngholeg yr Iesu. Cafodd ei urddo yn ddïacon yn 1745, a'i bennodi gan Gaplan Esgob Bangor i isberigloriaeth ei blwyf genedigol; ond ni chafodd aros yno dros dair wythnos, gan fod ar yr Esgob eisiau ei lê i ŵr ieuanc arall, a hanai o deulu cyfoethog, yr hwn oedd awyddus am guradiaeth yn yr esgobaeth. Er nad oedd curadiaeth Llanfair ond ugain punt yn y flwyddyn y pryd hwnw, eto teimlai yn dra gofidus am fod yn rhaid iddo ymadael a'i fro enedigol, lle y mwynhai barch, a sylw neillduol gan uchel ac isel. Gan nad oedd un lle yn ymagor iddo yn Nghymru, cyfeiriodd tua sir yr Amwythig, a bu yn gurad Croesoswallt am dair blynedd; ac yno yr ymbrïododd, yn y flwyddyn 1747. Y flwyddyn ganlynol, gadawodd Groesoswallt, ac aeth i Donnington, lle yr oedd ganddo ysgol, yn nghyda churadiaeth Uppington; ond nid oedd cynnyrch y ddwy swydd uwchlaw chwe' phunt ar hugain yn y flwyddyn! Yn gynnar yn 1753, symmudodd i guradiaeth Walton, yn swydd Lancaster, yn nghymmydogaeth Liverpool; ac yn ngwanwyn y flwyddyn 1755, yr ydym yn ei gael yn gurad Northolt, yn swydd Middlesex, lle yr

oedd yn cael haner can punt yn y flwyddyn; ac o'r fan hon, efe a gyflwynai annerchiad i Gymdeithas y Cymmrodorion yn y brif ddinas, yn dymuno cymhorth i'w alluogi ef a'i deulu, i ymfudo i'r Amerig; ac er na wnaeth y Gymdeithas fel y cyfryw, sylw o'i gais, cyfranodd amryw o'r aelodau iddo yn bersonol, a thrwy hyny efe a alluogwyd i gyflawni ei amcan: ac wedi cyrhaedd i'r ochr draw i'r Werydd, ymsefydlodd yn gyntaf yn William'sburgh, Virginia, lle y cafodd swydd mewn coleg, gyda chyflog o ddau gant o bunnau yn y flwyddyn. Ni wyddys nemawr ddim yn sicr am y rhan olaf o'i fywyd; ond bernir iddo farw yn y tir estronol, tu a'r flwyddyn 1770.

Yr oedd Goronwy Owain yn ysgolor clasurol ardderchog, ac yn gyfarwydd ar amryw o'r ieithoedd dwyreiniol, megis yr Hebraeg, y Galdaeg, &c.; ond, fel Bardd Cymreig, yr oedd yn sefyll gyd a'r blaenaf, os nad y blaenaf o bawb yn ei oes. Y mae rhyw geinder ac arddunedd di ail mewn rhai o'i gynnyrchion, yn enwedig "Cywydd y Farn."

Y mae amryw o'r rhai a ysgrifenasant hanes ei fywyd, yn datgan eu galar o herwydd ei ymddëoliad, ac yn prïodoli yr achos o hyny i'w uwchraddolion eglwysig; ond, efallai eu bod wedi celu rhyw beth yn ei nodweddiad, a allasai fod yn achos digonol o'i helbul. Pa fodd bynag, y mae yn ofidus meddwl fod y fath athrylith oruchel wedi cael ei llethu gymaint, gan dlodi ac angen. Cyfodwyd Cofadail hardd am dano yn eglwys gadeiriol Bangor, yn y flwyddyn 1831, gan rai o edmygwyr ei athrylith.

## CYWYDD.

ATTEB I ANNERCH HUW AP HUW, Y BARDD O LWYDIARTH, ESGOB, YM MON, 1756.

Darllenais Awdl dra llawn serch,
Wych enwog Fardd, o'ch annerch;
A didawl eich mawl im' oedd,
Didawl a gormod ydoedd.
  Ond gnawd mawl bythawl lle bo,
Rhyddaf i'r gwr a'i haeddo;
Odidog, mi nid ydwyf,
Rhyw sal un, rhy isel wyf;
Duw a'm gwnaeth, da im' y gwnel,
Glân Iesu, galon isel,
Ac ufudd fron, dirion Dad,
Ni oludd fy nwy Alwad;
O farddwaith od wyf urddawl,
Poed i wau Emynau mawl,
Emynau dâl am einioes,
Ac Awen i'r Rhen a'i rhoes;
Gwae ddiles gywyddoliaeth,
Gwae fydd o'i Awenydd waeth;
Dêg Ion, os Gweinidog wyf,
Digwl y gweinidogwyf;
Os mawredd yw coledd Cail,
Bagad gofalon Bugail;
Atteb a fydd, rhyw ddydd rhaid,
I'r Ion am lawer enaid;
I attebol nid diboen,
Od oes barch, dwys yw y boen;
Erglyw, a chymmorth, Arglwydd,
Fy mharchus arswydus swydd;
Cofier, ar ol pob cyfarch,
Nad i ddyn y perthyn parch;
Nid yw neb ddim ond o nawdd,
Un dinam Ion a'i doniawdd;
Tra'n parcher trwy ein perchen,
O cheir parch diolch i'r pen;
Ein Perchen iawn y parcher,
Pa glod sy'n ormod i Ner?
Parched pob byw ei orchwyl,
Heb gellwair a'i air a wyl;
A dynion ei dŷ annedd,
A'i allawr Ior mawr a'i medd;
Dyna'r parch oll a archaf,
Duw Ion a'i gwyr, dyna gaf;
Deled im Ior barch dilyth,
Ond na boed i undyn byth,
Nag eiddun mwy na goddef,
Tra pharcher ein Ner o nef;
Gwae rodres gwyr rhy hydron,
Gwae leidr a eirch glod i'r Ion,
Gocheler lle clywer clod,
Llaw'n taro llau, haint *Herod.*
  Ond am *Fon* hardd dirion deg,
Gain dudwedd fam *Gwyndodeg*,
Achos nid oes i ochi,
Wlad hael o madael â mi;
Cerais fy ngwlad, geinwlad gu,
Cerais, ond ofer caru;
Dilys, Duw yw'n didolydd,
Mawl iddo, a fynno fydd;
Dyweded ef na'm didol,
Gair o nef a'm gyrr yn ol;
Dysgwyl, a da y'm dysger,
Yn araf, a wnaf, fy Ner;
Da ddyfydd Duw i ddofion,
Dysgwylied, na moded *Mon;*
Ac odid na cheiff gwedi,
Gan Ion, *Lewis Mon, a mi;*
Neu ddeuwr Awen ddiell,
I ganu gwawd ugain gwell.
*Lewis Mon*, a *Goronwy*,
Ni bu waeth gynt hebddynt hwy;
A dilys na raid alaeth
I *Fon*, am ei Meibion maeth;
Nac achos poen, nac ochi,
Na chŵyn, tra parhaoch chwi;
Brodir gnawd ynddi Brydydd,
Heb ganu ni bu, ni bydd.
Syllwch, Feirdd, o *Gaswallon*
*Law-hir*, hyd ym *Meilir Mon:*
Mae *Gwalchmai* erfai eurfawr?
Ple mae *Einion* o *Fon* fawr?
Mae Hywel ap Gwyddeles,

Pen Prydydd, Lluydd a lles;
Pen Milwr, Pwy un moliant?
Enwog ŵr, ac un o gant,
Iawn genaw *Owen Gwynedd*,
Gwae'n gwlad a fu gweinio'i gledd!
Bwy unfraint â'r hen *Benfras?*
Gwae fe fyw, ei Lyw a las.
Mae'r *Mab Cryg* oedd fyg pan fu,
*Ab Gwilym* yn bygylu?
Dau gydgwys gymmwys gymmar,
Un wedd ag ychen yn âr.
Cafed ym *Mon* dduon ddau,
Un *Robin* edlin odlau;
A *Gronwy* gerddgar union,
Brydydd, o *Benmynydd Mon.*
Mae Alaw? Mae Caw? Mae cant?
Mae miloedd mwy eu Moliant?
Pwy a rif Dywod Llifon?
Pwy rydd i lawr Wŷr mawr Mon?
Awenyddol iawn oeddynt,
Yn gynnar, medd Ceisar gynt.
Adroddwch, mae'r Derwyddon,
Urdd mawr, a fu'n harddu Mon!
I'r Bedd yr aethant o'r Byd
Och Alar, heb ddychwelyd!
Happus yw *Mon* a'i heppil,
Ag o'r iawn had gywrain hil.
Clywaf arial i'm Calon,
Am gwythi grym ynni *Mon;*
Craffrym fel cefnllif cref-ffrwd,
Uwch Eigion, a'r fron yn frwd;
Gorthraw Don, dig wrthyd wyf,
Llifiant, dystewch tra llefwyf;
Clyw, *Fon*, na bo goclion gau,
Nag anwir fyth o'm genau.
Gwiried Ion a egorwyf,
Dan Ner, canys Dewin wyf.
"Henffych well, *Fôn*, dirion dir,
Hyfrydwch pob rhyw frodir;
Goludog, ac ail *Eden*,
Dy sut, neu Baradwys hên:
Gwiwddestl y'th gynnysgaeddwyd,
Hoffder Duw Ner a dŷn wyd;
Mirain wyt ym mysg moroedd,
A'r dŵr yn gan tŵr yt' oedd,
Eistedd ar orsedd eursail
Yr wyd, ac ni welir ail,
Ac euraid wyt bob goror,
Arglwyddes, a Meistres Môr."
Gwrth y Rhod trwod y traidd,
Ynysig unbenesaidd;
Nid oes hefyd, byd a'i barn,
Gydwedd yt' *Ynys Gadarn*,
Am wychder, llawnder, a lles,
Mwnai 'mhob cwr o'th mynwes;
Dyffrynoedd, glynoedd, glanau,
Pob peth yn y toreth tau;
Bara a Chaws, Bîr a Chig,
Pysg, Adar, pob Pysgedig:
Dy feichiog ddeiliog ddolydd
Ffrwythlon, megis *Saron* sydd,
A phrenau dy ddyffrynoedd,
Crwm lwyth, megis *Carmel* oedd.
Oh mor dirion, y *Fôn* fau,
Dillad dy ddiadellau!
Cneifion dy ddâ gwynion gant,
Llydain, a'th hardd ddilladant;
Dawnus wyd, dien ei sail,
Prydferth heb neb rhyw adfail,
A thudwedd bendith ydwyt,
Mawl dy Ner, aml ei dawn wyt;
Os ti a fawl nefawl Ner,
Dilys y'th felus foler;
Dawnol fydd pawb o'th dynion,
A gwynfyd y myd ym *Môn!*
Dy Eglwyswyr, deg loywsaint,
A'th Leygion yn sywion saint,
Cryfion yn ffrwythau crefydd,
Fyddant, a diffuant ffydd;
Yn lle malais trais traha,
Byddi'n llawn o bob dawn da,
Purffydd, a chariad perffaith,
Ffydd, yn lle cant malchwant maith;
Yn lle aflwydd tramgwydd trwch,
Digon o bob rhyw degwch;
Undeb, a phob rhyw iawnder,
Caru, gogoneddu Ner;
Dy enw fydd, da iawn fod,
*Nef fechan* y Naf uchod;
"Rhifir di'n glodfawr hefyd
Ar gyhoedd, gan bobloedd byd;
Ac o ran maint braint a bri,
Rhyfeddod hir a fyddi."
Bellach f'yspryd a ballawdd,
Mi'th archaf i Naf a'i nawdd,
Gwylia rhag ofergoelion,
Rhagrith, er fy mendith, *Môn.*
Poed yt' hedd pan orweddwyf
Ym mron llawr estron. lle'r wyf.
Gwae fi na chawn enwi nôd,
Ardd wen, i orwedd ynod;
Pan ganer trwmp Ion gwiwnef,
Pan gasgler holl nifer nef,
Pan fo *Môn* a'i thirionwch,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorrog wythi Arian,
A'i phlwm a'i dûr yn fflam dân!
Pa lês cael lloches o'r llaid?
Duw rano dŷ i'r enaid,
Gwiw ganaid, dŷ Gogoniant
Ynghaer y *Sêr*, ynghôr Sant;
Ac yno'n llafar ganu,
Eiriau eu cerdd i'r Ion cu,
Poed *Gwyr Môn* a Goronwy,
Heb allael ymadael mwy:
Cyd uned a llefed llu,
*Monwysion*, Amen, Iesu.

## ATTEB I GYWYDD HUW HUWS,

Y BARDD COCH, O LWYDIARTH ESGOB, YM MON: A GANWYD YN WALTON, YN LANCASHIRE, 1753.

Paham i Fardd dinam doeth,
Pergerdd, celfyddygar, purgoeth,
Ofyn Cân a chynghanedd
Gan ddigrain was main nas medd?
Duw Nef a ŵyr, dyn wyf fi
Dirymiant, Duw'n dwr imi,
Dieithryn, adyn ydwyf,
Gwae fi o'r sud! alldud wyf.
Pell wyf o Wlad fy Nhadau,
Och son! ac o *Fon* gu fau,
Y lle bum yn gware gynt
Mae dynion na'm hadwaenynt;
Cyfaill neu ddau a'm cofiant,
Prin ddau lle oedd, gynau gant,
Dyn didol dinod ydwyf,
Ac i dir *Môn* estron wyf,
Dieithr i'n hiaith hydraith hên,
Dieithr i berwawd Awen,
Gofidus, gwae fi! ydwyf
Wrth son, a hiraethus wyf;
Gan athrist frondrist fraendroch,
Ni chyngan hoyw Gân ag och
Mewn canu, namyn cwynaw,
Ni chytgais na llais na llaw.
Pobl anwar *Pabyloniaid,*
Dreiswyr blin, draws arw blaid.
O'u gwledydd tra dygludynt
Wyr *Seion* yn gaethion gynt,
Taergoeg oedd eu gwatworgerdd,
Moeswch (ac nag oedwch) gerdd.
Gwae ni o'r byd dybryd hwn
(Cwynant) "Pa fodd y canwn,
Gerdd Ion mewn tir estronol,
A'n mâd anwylwlad yn ol?
Ni bu (dref sorth tan orthrech)
Fy nhrem, am *Gaersalem*, sech;
Os hawdd yr anghofiais hi,
Del ammhorth yn dâl immi,
Anhwylied fy Neheulaw,
Parlys ar bob drygfys draw,
A'm tafod ffals gwammalsyth,
Fferred yn sych baeled byth."
 Llyna ddiwael *Israeliad!*
Anwyl oedd i hwn ei wlad,
Daear *Môn*, dir i minau,
Yw, o chaf ffun, ei choffhau,
Mawr fy nghwynfan am dani,
Mal *Seion* yw *Môn* i mi;
O f'einioes, ni chaf fwyniant
Heb *Fôn*, er na thôn na thant.
Nid oes trysor a ddorwn,
Na byd da'n y bywyd hwn,
Na dail llwyn, na dillynion,
Na byw hwy, oni bâi hon.
Troi yma wnaf, tra myn Ner,
O'm hedfa, oni 'm hadfer,
Duw nefol a'm deoles,
Duw'n rhwydd im', a llwydd, a lles,
Crist D'wysog, enneiniog Nef,
Cedrŵydd, a'm dycco adref.

---

## CYWYDD Y FARN FAWR.

Dod[1] ym' dy nawdd, a hawdd hynt,
Duw hael, a deau helynt,
Goddau[2] f'armerth,[3] o'm nerthyd,
Yw Dydd Barn, a diwedd byd;
Dyddwaith, paham na'm diddawr?[4]
Galwad i'r ymweliad mawr!
Mab *Mair* a gair yn gwiriaw
Y dydd, ebrwydded y daw;
A'i saint cyttun yn unair
Dywedant gwiriant y gair,
A gair Duw'n agoriad in',
Gair Duw, a gorau dewin;
Pan'd gwirair y gair a gaf?
Iach rad, a pham na chredaf?
Y dydd, diogel y daw;
Boed addas y byd iddaw:
Diwrnod anwybod[5] i ni,
A glanaf lu goleuni:
Nid oes f'arglwydd a wyddiad
Ei dymp, onid Ef a'i Dad:
Mal Cawr aruthr yn rhuthraw,
Mal lladron[6] di son y daw:
Gwae'r diofal ysmala![7]
Gwynfyd i'r diwyd a'r da!
Daw angylion, lwysion lu,
Llym naws a lluman[8] Iesu;
Llen, o'r ffurfafen, a fydd
Mal cynfas, mil a'i cenfydd,
Ac ar y Llen, wybrennog,
E rydd Grist arwydd ei Grog.[9]
Yno'r Glyw,[10] Ner y gloywnef,
A ferchyg yn eurfyg nef!
Dyrcha'n uchel ei helynt,
A gwân adenydd y gwynt![11]
A'i angylion gwynion, gant,
Miloedd yn eilio moliant.
Rhoir gawr[12] nerthol, a dolef,
Mal clych, yn entrych y nef,
Llef mawr goruwch llif Mor-ryd,
Uwch dyfroedd aberoedd byd:[13]
Gosteg a roir, ac Ust! draw,[14]

[1] Y ddwy linell gyntaf ydynt ymbiliad difrifol am gymhorth yr Hollalluog yn nghyfansoddiad y Gwaith hwn; y ddwy ganlynol a ddangosant seilwaith ac amcan y Cywydd; ac yn y drydedd a'r bedwaredd, gofynir am sylw y Darllenydd ar gyfrif pwysigrwydd y testun.
[2] Amcan. [3] Yr hyn a ddarperir, neu a gymerir mewn llaw.
[4] Pa ham y byddwn yn ddi sylw o hono?
[5] Mat. xxiv. 36. [6] 2 Pe. iii. 10. [7] Mat. xxiv. 45, hyd y diwedd.
[8] Baner.
[9] Mat. xxiv. 30. Pa beth ynte yw "arwydd Mab y dyn?"
[10] Llywydd. [11] Ps. xviii. 10. [12] Bloedd;—Banllef.
[13] Dat. xiv. 2. [14] Dat. viii. 1.

Dwrf rhaiadr, darfu rhuaw;
Angel a gân, hoywlan lef,
Felyslais, nefawl oslef;
Wrth ei fant, groywber gantawr,
Gesyd ei gorn, mingorn mawr;
Corn anfeidrol ei ddolef,
Corn ffraeth, o saerniaeth nef.[1]
Dychleim, o nerth ei gerth gân,
Byd refedd,[2] a'i bedryfan,
Pob enawd, o'i heng, a drenga,
Y byd yn ddybryd ydd â;
Gloes oerddu'n neutu natur,
Daear a hyllt, gorwyllt gur!
Pob creiglethr, crog, a ogwymp,[3]
Pob gallt, a gorallt a gwymp:
Ail i'r âr ar ael *Eryri*,
Cyfartal hoewal a hi;
Gorddyar, bâr, a berw-iâs
Yn Ebyr,[4] ym Myr,[5] ym mas,[6]
Twrdd ae anferth ryferthwy,
Dygyfor ni fu fôr fwy,
Ni fu ddylif yn lifo
Ei eilfydd, yn nydd hen *No.*[7]
Y nef yn goddef a gaid,
A Llugyrn[8] hon a'i llygaid
Goddefid, naws llid, nos llwyr
Gan lewyg gwyn haul Awyr;[9]
Nid mwy dilathr ae athrist
Y poen-loes eryf pan las Crist.
Y wenlloer yn oer ei nych,
Hardd leuad, ni rydd lewych:
Syrth nifer y sêr (arw son!)
Drwy'r wagwybr draw i'r eigion
Hyll ffyrnbyrth holl uffernbwll
Syrthiant drwy'r pant draw i'r pwll
Bydd hadl[10] y wal ddiadlam
Y rhawg a chwyddawg a cham,
Cryn y gethern uffernawl,
A chryn, a dychryn y Diawl;
Cydfydd y fall a'i gallawr,[11]
Câr lechu yn y fagddu fawr.
  Dyfyn a enfyn Dofydd,
Bloedd erchyll, Rhingyll a'i rhydd,
Dowch y pydron ddynionach
Ynghyd, feirw byd, fawr a bach;
Dowch i'r Farn a roir arnoch,
A dedwydd beunydd y boch.
  Cyfyd fal ŷd o fol âr,
Gnwd tew, eginhad daear,
A'r môr a yr o'r meirwon
Fil myrdd uwch dyfnffyrdd y don:
Try allan ddynion tri-llu,
Y sydd, y fydd, ae a fu,
Heb goll yn ddidwn hollol;
Heb un o naddun yn ol.
Y dorf ar gyrch, dirfawr gad!

A'n union ger bron Ynad;
Mab Mair ar gadair a gaid
Iawn Naf gwyn, o Nef ganaid,
A'i osgordd, welygordd lân,
Deuddeg Ebystyl diddan.
Cyflym y cyrchir coflyfr,
A daw i'w ddwy law ddau Lyfr;
Llyfr bywyd gwynfyd y gwaith,
Llyfr Angau, llefair ing-waith.
Egorir a llëir Llith
O'r ddeulyfr amryw ddwylith;
Un llith o fendith i fâd;[1]
A'r diles air deoliad.
Duw gwyn i le da y gyr
Ei ddeiliaid a'i addolwyr.
I'r euog, bradog eu bron,
Braw tostaf; ba raid tystion?
Da, na hedd Duw ni haeddant,
Dilon yr, delwi a wnant.
Y cyfion a dry Ion draw,
Dda hil ar ei ddeheulaw;
Troir y dihir, hyrddir hwy,
I le is ei law aswy:
Ysgwyd y Nef tra llefair
Iesu fad, a saif ei Air:
Hwnt! Gwydlawn felltigeidlu
I Uffern ddofn, a'i ffwrn ddu,
Lle Ddiawl, a llu o'i ddeiliaid,
Lle dihoen, a phoen na phaid:
Ni chewch ddiben o'ch penyd,
Diffaeth a fu'ch gwaith i gyd;
Ewch, ni chynnwys y lwysnef
Ddim drwg, o lân olwg y nef,
At Wyllon y tywyllwg,
I oddef fyth ei ddu fwg.
O'i weision dynion dinam,
Ni bydd a adnebydd nam;
Da'n chelaeth a wnaethant,
Dieuog wyr, da a gant.
Llefair yn wâr y car eu;
(Gwâr naws y gwir Oen Iesu,)
Dowch i hedd, a da 'ch haddef;[2]
Ddilysiant anwylblant nef,
Lle mae nefol orfoledd,
Na ddirnad ond mad a'i medd:
Man hyfryd yw mewn hoywfraint,
Ac amlder y ser o Saint,
Llu Dien[3] yn llawenu,
Hefelydd[4] ni fydd, ni fu:
O'm traserch, darfum trosoch
Ddwyn elwyf fel lle bwyf y b'och.
Mewn ffawd di-dor, a gorhoen,
Mewn byd heb na phyd[5] na phoen.
Gan y Diafl ydd â'r aflan,
A Dieifl a'u teifl yn y tân.
Try'r Ynad draw i'r wiwnef,
A'i gâd gain â gyd ag ef,
I ganu mawl, didawl da,
Oes hoenus a Hosanna.

[1] Felly y geilw *Homer* arfogaeth ei wron; a *Virgil*, yr eiddo Aeneas.
[2] Trwchus. [3] lled-gwymp. [4] Aberoedd. [5] Moroedd. [6] Beisleoedd. [7] Noah. [8] Goleuadau.
[9] Mat. xxiv. 29; Mar. xiii. 24, 25. [10] Adfeiliog. [11] Pair.

[1] Y dâ. [2] Cartref. [3] Defnyddir y gair am ieuengrwydd parhaus. [4] Cyffelyb. [5] Perygl.

Boed im' gyfran o'r Gân gu,
A melysed mawl Iesu;
Crist fyg[1] a fo'r Meddyg Mau,
*Amen*, a Nef i minnau.

---

## MARWNAD LEWYS MORYS, YSWAIN.

Gynt o Fon, yn ddiweddar o Allt Fadog yng Ngheredigion. Pen-bardd, Hanesydd, Hynafiaethydd, a Philosophydd yr oes a aeth heibio; a gwir garwr ei Frenhin, a lles cyffredin ei wlad; a hoffwr, hyfforddwr a choleddwr ei iaith a'i genedl.

Och dristyd ddyfryd ddwyfron!—och Geli!
Och galed newyddion!
Och eilwaith, gorph a chalon!
Och roi'n y bedd mawredd *Môn!*

Mawredd gwlad Wynedd, glod union—Ceinwalch,
Cynnor Presenolion;
A byw urddas y Beirddion
A'u blaenawr oedd Llew mawr *Môn.*

Cyd bai hirfaith taith o'r wlad hon—yno
Hyd ewynawg eigion;
Trwst'neiddwch trist newyddion
Ni oludd tir, ni ladd ton.

Mae tonau dagrau digron,—i'm hwyneb,
Am hynaws gâr ffyddlon;
Llwydais i gan golledion
Oer a fu'r hynt i'r fro hon.[2]

Bro coedydd, gelltydd gwylltion,—Pau prifwig
Pob pryfed echryslon;—
Hell fro eddyl llofruddion—
Indiaid, eres haid, arw son!

Soniais, Sygenais, gwynion,—do ganwaith
Am deg Wynedd wendon;
Doethach i'm dewi weithion;
Heb Lewys mwy, ba les *Môn!*

Galar ac afar gofion,—mynych y'nt
Man na chaid ond hoywon;
Ni's deryw ynys dirion
Loes a fu waeth i lwys *Fôn.*

Ni fu'n unig i Fon ynys
Loes am arwyl Lewys Morys,
Ond erys yn oed ŵyrion;
Ym mhob gwlad achwyniad chwith,
O'i ran ym mhlith Cywreinion.

Cynnal cwynion—
O dir i don:
Dan gaerau Prydain Goron,
Yr ydis am Lewis lon.

[1] Gogoneddus.

[2] Virginia, yn America, lle y cyfanneddai yr Awdwr ar y pryd.

Yn iach oll awen a chan,
Yn iach les o hanes hen,
A'i felys gaingc o flas gwin;
Yn iach i'm mwyach ym Môn
Fyth o'i ôl gael y fath un:
Yn iach bob sarllach a sŵn,
Un naws â dail einioes dyn.

Teiroes i'r mwynwr tirion
O râs nef a roesai'n Ion,
O'i ddawn o chawsai ddynion—eu meddwl,
Ar fanwl erfynion.

Er eidduned taer ddynion
Er gwaedd mil, er gweddi Môn,
Ni adfer Nêr amser oes,
Rhed einioes (nid rhaid unon,)

Duw a'i dug ef, dad y gân,
Cywir i'w ddydd carodd Iôn;
Yngolau gwlêdd Engyl glân,
Yntau â'n Sant, tawn a sôn.

Hawdd y gorthraw ddifraw ddwyfron,
Erchyll celu archoll calon;
O ran oer enaid
Diau bydd dibaid
Uchenaid a chwymon.

Ca 'ir och o'i hunaw cur achwynion,
A chaeth iawn alaeth i'w Anwylion,
Parawdd i ddinawdd weinion, o'u colled
Drem arw ei gweled, drom oer galon.

Pa golled gwared gwirion—o delmau
Ac o hir dreisiau gwŷr rhy drawsion?
O frwd ymddygwd ddigon,—y diangodd
Gwen nef a gafodd gan Nâf gyfion.

A fyno gyrraedd nef wen Goron,
Dwy ran ei helynt drain a hoelion;
Pigawg, dra llidiawg fawr drallodion,
Croesau, cryf loesau, criau croywon;
Erlid a gofid i'w gyfion—ysbryd,
Ym myd gwael bawlyd ac helbulon.

Er llid, er gofid, wir gyfion,—ddeiliad
Ef oedd ddilwgr galon;
Duw a folai da'i ofalon,
Siôr a garai is aur Goron,
Lle ba'i gwaethaf llu bygythion
Ni chai'r anwir drechu'r union;
Dra gallawdd, nodawdd i anudon,—dorf
Llwyr darfu'r lledneision.

Bu'n wastad ddifrad ddwyfron—ddiysgog
I'w hydr Eneinniog Deyrn union;
Rhyngodd ei fodd a'i ufuddion,—swyddau
A chwys ei aeliau, a chysulion.

Mesurai, gwyddai bob agweddion,
Llun daear ogylch, llanw dwr eigion;
Amgylchoedd moroedd mawrion,—a'u cymmlawdd
Iawn y danghosawdd nid anghyson.

Daear a chwiliodd drwy ei chalon,
Chwalai a chloddiai ei choluddion;
A'i dewis wythi meini mwynion,
A thew res euraid ei thrysorion,
A'i manylaf ddymunolion—bethau,
Deuai i'r golau ei dirgelion.

Olrheiniodd, chwiliodd yr uchelion,
Llwybrau'r taranau, a'r terwynion;
Fflamawg fellt llamawg folltau llymion—
Is awyr ganaid, a sêr gwynion,
Nodau'r Lloer, a'i newidion—hynt cwmmwl
O fro y Nifwl i for Neifion.

Ebrwyddaf oedd o'r wybryddion—hyglod,
A llwyr ryfeddod holl Rifyddion!
Traethai, fe wyddai foddion,—teyrnasoedd,
Rho'i o hen oesoedd wir hanesion.

Honi a gafodd o hên gofion,
Achoedd, dewr bobloedd o dŵr Bab'lon;
Coffa bri ethol cyff y Brython,
Gomer a'i hîl yn Gymry haelion,
Teithiau da lwythau dilythion,—diwarth,
O du Arculbarth i dir Albion.

A thrin a thrabludd lludd lluyddion
Prydain a'i filwyr, pryd nefolion:
Arlladdiad gad ergydion,—a oryw
A gwaed a distryw'r giwdawd estron.

Ni chaid diwedd } a'i hanesion;
O'i hynawsedd, }
Ni chair hafal } ei orchestion.
Wr a chystal }

Llon wr gwraidd llawn rhagorau,
Mawrdda'i ddoniau mor ddiddanion;
Dôf arwraidd defyr eiriau,
Meddaidd enau wiw 'nddiddanion.

Glyw Defodau }
Eisteddfodau, } a'u hynadon:
A'u hannodau, }
Eu cyngreiriau, }
A'u cyweiriau, } uwch Awduron.
A chadeiriau }

Uwch awduron a chadeiriawg—
Bur iaith rywiawg bêr athrawon;
A chelfyddon uchel feiddiawg,
A'r Beirdd enwawg eirber ddynion.

Ef oedd Ofydd, }
A dywenydd, } Hil y Brython.
Hylwybr Ieithydd }
Gan wau gwynwaith, }
Tlysau tloswaith, } aur wron.
Orau araith, }

Goleuodd wedi ei Gywleiddiadon,—
A gwir hyfforddiant geiriau hoff beirddion,
Athrawai'n fuddiol â thrwy iawn foddion,
E gaed moes wiwdda gyd â masweddion;
Lle bu'r diddysg hyll Brydyddion,—brin ddau
Fe rodd ugeiniau o hoywfeirdd gwynion.

Ar y sydd i'r oes hon
Yn fawrddysg awen feirddion,
A gwiw lesfryd i'w glwysfron,
Bryd arail i'w bro dirion,
Agos oll ynt deg weis llon
O ddysg abl ei Ddisgyblion:
A phoed maith goffhad a mawl
I'w arglwyddawl ryglyddion,

A thra bo urddawl athro Beirddion
A mwyn dysg wiwles mewn dwys galon,
Gwiwdeb ar iaith a Gwaed y Brython,
Ac awen Gwyndud, ac ewyn gwendon,
Daear a Nef a dw'r yn afon
Ef a gaiff hoywaf wiw goffeion.

Aed, wâr enaid, aed ŵr union,
Aed ragorwalch, diwair, gwirion,
I fro Iesu fry a'i weision;
I'w gain gaerau a gwen goron.

Ac uned ganu, Sant, wiwsant Iesu,
Ef a'i leng wiwlu fil angylion.
Ein dôf Oen difai, lwys wawd El Sadai
Musig adwaenai ym mysg dynion.

Uned ganiad eneidiau gwynion
Llem araith wrol Llu Merthyron,
Ni ludd gweli ni ladd gâlon,—ei grym
Nac ing croywlym, nac angau creulon.

Gwedi caledi, cyni, cwynion
Artaith erchyllwaith, ac archollion,
Gwaed ffrau a ffrydiau, dagrau digron,
A chûr marwol, a chriau mawrion,
Gwyarlliw, fraenfriw oer frwynfron—nid nnd
Mawl cain côr astud, mîl can Cristion.

Eiddunaf finau Ddnw Nâf union,
Allu i'm uno â'u llu mwynion,
Prydu i geisio perwawd gyson,
I lwyswawd eirioes Lewis dirion.
Cywyddau, eu odlau cydlon,—ganu
Lle myno Iesu—lleu Monwysion.

---

### CANLYNIADAU TYMHER DDRWG.

Ychydig bethau ydynt yn fwy cynnyrchiol o niwed yn y fuchedd deuluaidd na thymher ddrwg. Ni waeth pa ffurf a gymero y dymher hono—pa un ai sorllyd, gan fod yn berffaith dawedog, neu wyllt-naws, yr hyn a dyr allan mewn iaith aflywodraethus. Y mae tymher ddrwg yn annymunol mewn unrhyw oedran; ni's gwna y daioni lleiaf i neb; a'r rhai a'i meithrinant a deimlant waethaf oddiwrthi. Wedi yr elo y nwydwylltedd drosodd, canfyddwn yn eglur ein bod wedi bod yn dra ynfyd; ac yr ydym yn ymwybyddus fod eraill yn canfod hyny hefyd.

## HANES Y FFYDD YM MHLITH Y CYMRY.

GAN MR. CHARLES EDWARDS,

Awdwr "Hanes y Ffydd Ddiffuant," a gyhoeddwyd gyntaf yn y flwyddyn 1671.

Wrth ddwyn hanes y Ffydd mewn gwledydd eraill, tybiais yn ddyladwy draethu beth yn helaethach am ei helynt yn ein gwlad ein hunain, fel na byddem yn ddïeithriol ac annghyfarwydd gartref.

Diammau fod ein cenedl ni er ys hir amser wedi gwladychu yn yr Ynys hon, a thebygol ei dyfod ar y cyntaf oddiwrth wledydd y Dwyrain, gan fod cymmaint carennydd rhwng ein hiaith ni a ieithoedd y parthau hyny. Mae ei llefariad yn aml fel yr Hebraeg, yn dyfod oddiwrth gyffiniau y galon, o wraidd y genau; ac nid fel y Saesoneg, oddi ar flaen y tafod. Yr ydoedd cydnabyddiaeth rhwng ein Gwlad ni a'r Groegiaid; canys darllenir i Bladud, brenhin Prydain fyned i'r Athen, er mwyn dysgeidiaeth; a phan ddychwelodd adref, dug bedwar o Philosophyddion oddiyno gyd ag ef, i ddysgu'r Celfyddydau yma: ac i hyny seiliodd ysgolion dysg, ac wedi hyny bu'r Druidion—o Baganiaid, yn ddysgawdwyr doethion.

Mewn amser, y Brutaniaid a gynnyddasant, a gorchfygasant Ogledd Germany; a thrwy gyttundeb, rhoddwyd Cambria, merch Beli, brenhin Prydain, i dywysog y wlad honno; ac o honi hi y daeth y Cambriaid, cenedl enwog o'r Gogledd. Gwedi hyny bu Llûdd, mab Beli, yn frenhin clodfawr yma. Efe a ehangodd ac a gadarnhaodd y Brif Ddinas, pryd y galwyd hi Caer Lûdd, ac oddiwrth hyny, Llundain, fel y tybiai rhai; ond gwell gan eraill gymeryd o honi yr enw oddiwrth Longau, megis, Llong Ddinas.

Ar ol hyn, anfonodd Prydain fyddin gynnorthwyol i Ffraingc, yn erbyn Cesar oedd yn rhyfela yno. Yr hyn a gyffrodd y Rhufeiniaid, y rhai a gongcweriodd y rhan fwyaf o'r byd, o Persia hyd yma, i oresgyn yr Ynys hon, ydoedd annghydnabyddus iddynt hyd hyny. Ond prifiodd y Brutaniaid yn annioddefgar dan iâu y Rhufeiniaid, a daeth Claudius Cesar attynt i'w llonyddu.

Drachefn, cyfododd Prydain, gyd a'i brenhin Arifog, i geisio ynnill ei rhyddid; ac er i Claudius Cesar ddyfod eilwaith i mewn yn llidiog, etto gorfu iddo gyttuno ag Arifog, a rhoddi ei ferch Genista iddo, ac ammodau esmwythach o ufudd-dod i'r Ynys.

Yn amser eu mab hwy, Meurig, yr heidiodd y Pictiaid i mewn o Scythia, (felly y gelwid gwledydd y Gogledd, Llychlyn, a rhan o Germany gynt), y rhai a diriasant yn Scotia, i nythu yno.

Galwyd yr Iwerddon yn Scotia, (Gair Groegaidd, yn arwyddoccau Tywyllwch,) o herwydd fod ei choedydd yn ei gwneuthur yn Ynys dywyll. Ond darfu i'r Scotiaid eu hwylio hwynt oddi yno i'r Alban, Gogledd Prydain. Lladdodd Meurig eu brenhin hwy mewn brwydr, a chaethiwodd hwythau; ond goddefodd iddynt fyw yn eithafoedd anial y wlad, a alwyd *Caethnes.* Galwyd hwynt Pictiaid, neu Craithiniaid, am eu bod yn gwneuthur creithiau ac argraphiadau ar eu cyrph, mae'n debyg, fel yr ymddangosent yn fwy ofnadwy i'w gelynion.

Gwedi dyfod peth caethder bydol ar ein gwlad o Rufain, anfonodd Duw iddi foddion rhyddid ysprydol o Gaersalem, gan ganiatau yr Efengyl yn gynnar iddi; sef yn nyddiau'r Apostolion, er pelled ydoedd hi oddiwrth Palestine. Dywed Eusebius, fyned rhai o'r Apostolion i'r ynysoedd a elwir Brutanaidd. Ac aeth ffydd ein hynafiaid mor enwog trwy'r byd, hyd oni byddai athrawon godidocaf y Cristionogion, yn bostio o honi yn nheyrnasoedd y Dwyrain a'r Gorllewin; ac yn argymmennu oddiwrthi i brofi Duwdod Crist, gan fod ei Deyrnas Ef yn treiddio, lle nid allai un Cesar finio. Felly y dengys Tertulian, yr hwn a ysgrifenodd gyd â'r Cristionogion yn yr ail oes ar ol Crist. "Mae'r mannau," medd efe, "o eiddo'r Brutaniaid sydd anhygyrch i'r Rhufeiniaid, wedi ymroddi i Grist." Yr oedd rhai o'n cenedl ni yn yr Alban, heb fyned dan awdurdod y Rhufeiniaid. A thystiolaetha Origen, yr hwn a sgrifenodd ynghylch pedair blynedd a deugain wedi hyny, "Fod rhinwedd yr Arglwydd ein Hiachawdwr gyda y rhai hyny yn Prydain, a wahanwyd oddiwrth ein byd ni, a chyd â phawb dan haul, ar a gredasant yn ei enw ef." Ac medd Theodoret, "Ein Pysgodwyr ni, a'n Publicanod, a ddygasant y cyfreithiau efengylaidd i'r holl Genhedloedd, ac a ynnillasant nid y Rhufeiniaid yn unig, ond y Scythiaid hefyd, yr Indiaid, yr Ethiopiaid, y Persiaid, y Brutaniaid, y Cimbriaid, a'r Germaniaid, i dderbyn deddfau'r Croeshoeliedig."

A gwelodd Duw yn dda beri i'r wreichionen efengylaidd yn Prydain losgi tua'r nen, ac ennyn zêl yn y brenhin Leucius, yr hwn a fedyddiwd ynghylch y flwyddyn o.c. 180. Galwyd hwn Lles, a'r Lleufer Mawr, am y gwybodaeth a ddygwyddodd yn ei amser ef, canys canlynodd y Pennaethiaid ei siampl ef, a chynnorthwyodd Doewan, neu Dyfan, a Phregethwyr eraill, y ffydd yma yn odidog. Ac felly aeth ein gwlad ni yn flaenor ar yr holl deyrnasoedd, yn proffesu'r Efengyl drwy gyffredin gynghor. Tybir iddi ymgalonnogi mewn Cristionogaeth beth yn hyfach, o herwydd i ymherawdwr Rhufain

gyhoeddi ewyllys da tuag at y Cristionogion, am iddynt weddio am wlaw i'w fyddin oedd ar drengu o syched. Dywed Croniclau Germany, i Leucius adael ei *reiolty* bydol, a myned i bregethu'r Efengyl mewn rhannau o'r wlad, a throi llawer at Grist. Ond tebyccaf mai Brytwn arall o'r un enw a wnaeth hyny, cyn ei amser ef. Wedi marw Leucius yn ddiblant, daeth Severus yr ymeraudwr, i heddychu Prydain ydoedd gythryblus; ac a wnaeth glawdd ar draws yr Alban i attal y Pictiaid. Gwedi hyny ymillodd y Brutaniaid eu rhyddid, gan ddifetha y Rhufeiniaid; a phan ddaeth Constantius â byddin yn eu herbyn hwynt, heddychasant ag ef; yr hwn a'u dyhuddodd hwynt â'i fwynder, ac a briododd eu pennadures Helen, merch hawddgar, ddysgedig, a chrefyddol; o'r hon y ganwyd iddo y mab grasol, Constantine; yr hwn wedi marw ei dad yng Nghaer Ebrauc, a aeth yn Ymherawdwr, ac a brofodd yn swecwr daionus i'r Cristionogion oll.

O Prydain y pryd hyn y dechreuodd Duw weithio diwygiad yn y byd drwy Constantine Fawr, yn y flwyddyn 306, fel y dywed ei Broclamasiwn ef at raglawiaethau Palestine—"Pan farnodd Duw fy ngweinidogaeth i yn gymmwys i gyflawni ei ewyllys ef, gan ddechreu o fôr Prydain, a'r parthau tua machlud haul, gyrrodd, ar ffo y drygau oeddynt yn gorthrymmu dynion, a chynyddodd y Ffydd ddedwyddaf." Cydnabyddir hyn yn anrhydedd i Prydain, "i oleuo pentewyn o eirias ei sancteiddrwydd, a llewyrchu i'r ymherodraeth oll." Casglodd Constantine gymanfa gyffredin eglwysig yn Ffraingc, A.D. 314, ac un arall wedi hyny yn Niceä, ac yr oedd Esgobion Prydain ym mhob un o'r ddwy. Ac nid oedd y milwyr Brutanaidd ddieithrol i'w fyddinoedd ef wrth fwrw gorthrymwr y byd i lawr. Ynghylch oes gwr wedi hyny, aeth ein gwladwyr ni yn dra lliosog, i ganlyn Maximus eu rheolwr i Ffraingc; yr hwn a geisiodd ddiswyddo ei feistriaid, ymmerodron Rhufain, a chymmeryd eu lle hwynt. Y pryd hyny, fel y tybir, y planodd Cynan Meriodac, Arglwydd Rhywfonioc, wŷr Gwynedd yn Llydaw. Y rhai hyn a anfonasant adref am wragedd, ac hebryngwyd iddynt un mil ar ddeg o wyryfon: y rhai a daflwyd gan dymhestl ar y môr, i ran o Germany; lle y derbyniwyd hwynt gan Genhedloedd Barbaraidd gelyniaethol i Prydain, a fynnasent ymrewydd â hwynt; ac am na's caent, eu lladd a gawsant oll, o.c. 450. Y mae parch i goffadwriaeth y Merthyron hyn am eu diweirdeb. Ar ol hyny, gorfu i'r Brutaniaid Llydaw gymeryd gwragedd o'r wlad hono.

Gwedi i'r Pictiaid ymgyfathrachu a'r Scotiaid, preswylwyr yr Iwerddon, cawsant eu cynnorthwy hwynt i flino ein hynafiaid ni, ac i helaethu eu terfynau; a rhyngddynt meddianasant yr Alban. Ac oddiyno, mewn amser, anrheithiasant Loegr, oeddynt rhy wan i'w gwrthsefyll, gan i'r Rheolwyr Rhufeinaidd dynu allan o honi agos yr holl wyr ieuaingc iw canlyn hwy ar bob achlysur i Ffraingc a'r Ital, i amddiffyn ymerodraeth Rhufain ydoedd yr amseroedd hynny yn cael llonaid eu dwylaw gan amryw elynion gartref. Wedi y bedwaredd ganfed o oed Crist, mae tystiolaeth hynod am ffydd y Brutaniaid yn ysgrifeniadau un o hen Bregethwyr Groegaidd, clodfawrusaf yn y byd; sef Ioan Aur-enau, neu Chrysostom, o Constantinople. "Profodd Ynysoedd Prydain," medd efe, "rinwedd y Gair; canys seiliwyd eglwysydd yno. Od ai i'r môr mawr, neu'r Ynysoedd rhe'iny o eiddo Prydain, neu os llongwrio a wnai i Fôr Euxinus, neu od ai i barthau y Dehau, cai glywed pawb ym mhob man yn philosophyddio ynghylch pethau yr Ysgrythyrau, yn ddiau âg iaith arall, ond nid a ffydd arall; â garw sain y llefarant, ond buchedd dduwiol a ddilynant.

Ynghylch hyn cyfododd o Gymru un Morgan; yn Lladin, yn Groeg yn hytrach, gelwir ef *Pelagius.* Tybir mai Abbad Bangor-Is-Coed oedd efe, a thano fwy na dwy fil o Fyneich. Aeth hwn i Rufain, ac oddiyno i Gaersalem; fel yr oedd arfer y Cristionogion y pryd hyny, i ddyfod ynghyd yno o bob parth ac iaith, er mwyn gweled gwlad genedigaeth Crist, a'i Apostolion. A phan ddeuent ynghyd, byddai ganddynt yr un ffydd, er nad oeddynt o'r un iaith. Ymgyfarfyddai pob cenedl ar ei phen ei hun, ond yr un Crist a addolent, a'r un Rhëol Wirionedd a gadwent. Bu ein gwladwr Morgan yn enwog am ei sancteiddrwydd a'i wybodaeth ym mysg y Cristionogion, a'r Dysgawdwyr godidoccaf yn y byd; megis Esgob Rhufain, ac Awstin, Esgob Hippo. Morgan a athrawiaethodd ym mhob gwlad, fod ewyllys rhydd gan bob dyn, heb bechod gwreiddiol; yr hyn a barodd anghydfod a dadlau. Ysgrifenodd Hierom, neu Jerome, yr hwn ydoedd yn Bethlehem, yn erbyn Morgan, yr hwn oedd yn Jerusalem y pryd hyny; am ei fod ef yn cael achlysur i hâu ei athrawiaeth ym mysg y Cristionogion a ymgyfarfyddent yno o'r holl fyd. Ar ol hyn magodd ymrafaelion a llid rhwng dilynwyr Morgan, â Jerome, a Christionogion eraill.

A phan ymrwystrodd trigolion Prydain hefyd â'r ddadl hon, cawsant gan Esgobion Ffraingc anfon Garmon, Esgob Antisiodor, a Lupus, Esgob Trecasse, attynt hwy, i gynnorthwyo eu ffydd. Y rhai, wedi dyfod i'n gwlad ni, lle'r oedd Cristionogaeth wedi gwanychu trwy ymddadleuadau ynfyd, a droisant laweroedd at ddaioni, ac iawn wybodaeth am Grist.

Pan oedd ein hynafiaid ni mewn cyfyng gyng-

or o herwydd y Pictiaid a'r Saeson oedd yn rhuthro arnynt yn unfryd; ar ol aml ymprydiau, a gweddiau dyrchafedig, a chymmunau, arhosodd Garmon gyda thyrfa ddewisol o ddisgyblion mewn cynllwyni, a chyn gynted ag y daeth byddin y gelynion yno, yn ddisymmwth crochlefodd, efe a'i ddilynwyr, gan adrodd Alleluia deirgwaith, nes oedd y wlad yn dadseinio: a tharawodd y fath fraw yn y Saeson, a'r Pictiaid, hyd oni ddiangasant, gan fwrw eu harfau ymaith, a boddodd llawer o honynt yn yr afon wrth geisio myned trwyddi ar frys, o.c. 429.

Hyn a ddigwyddodd yn ymyl y Wyddgrug, yn Sîr y Fflint; a gelwir y lle hwnw Maes Garmon hyd heddyw. Dyma fuddugoliaeth debyg i un Gideon gynt, pan ffodd gwersyll y Midianiaid wrth glywed rhai diarfog yn llefain "Cleddyf yr Arglwydd a Gideon!" Gwedi hyny, darfu i'r Gwyddelod fyned i Fôn, a churo'r Brutaniaid mewn man a elwir Cerrig y Gwyddel. Ond wedi hyny Caswallon, neu Caswallon Law Hir, tad Maelgwn Gwynedd, a'u hymlidiodd hwynt ymaith.

Ynghylch yr amser hwn, pregethodd Ninianus, Brutaniad, yr Efengyl i'r Pictiaid yn yr Alban, ac a ffynnodd yn ei waith: ac ymhen deuddeng mlynedd wedi hyny, daeth Padrig, Brutaniad arall, i bregethu i'r Gwyddelod. Ganesid ef yn yr Alban, yn nhref Banafau, yn nhalaith Tabernia; ei dad oedd ddeon, a'i daid yn henuriad. Cipiodd y Scotiaid hwn, gydag eraill, yn garcharor yn ieuangc, a gwerthasant ef yn gaethwas yn yr Iwerddon. Yn yr hwn gyflwr y trôdd efe at Dduw yn ddifrifol, gan weddio yn aml. Ac wedi hir gystudd, cafodd ddychwelyd adref, a phan oedd ei rïeni yn daer arno am aros gyd â hwynt, mewn breuddwyd gwelai un o'r Iwerddon yn rhoddi llythyr iddo ef, yn nechreu yr hwn y darllenai, "Llais y Gwyddelod;" a thybiai glywed eu llefain hwynt yn un-air yn dywedyd, "Yr ydym yn deisyf arnat ti, fachgen sanctaidd, ddyfod a rhodio yn ein mysg ni etto." A chynhyrfodd hyny ei galon ef. Aeth i Ffraingc at Garmon a Martin, dysgawdwyr ysprydol a nerthol; ac efe a arhosodd gyd â hwynt rai blynyddoedd, i ymgadarnhau mewn gras a dysgeidiaeth. Ac oddi yno cyrchodd i Rhufain, lle cafodd hyfforddiant a chymdeithion i ddychwelyd i'r Iwerddon, lle y tycciodd ei weinidogaeth ef yn ddirfawr, i droi'r tywysogion a'r cyffredin at ffydd Crist, yr hon oedd yno ym mysg rhai o'r blaen. Cymmerodd efe hefyd boen rasol yn Neheubarth Cymru, wrth fyned ar ei daith.

Ychydig wedi hyny, bu Dubricius o Gaerlleon ar Wysg, a Chradoc o Langarfan, a Gildas o'r Alban, yn hyfforddiant mawr i ddysgeidiaeth a chrefydd yng Nghymru. Caerlleon ar Wysg sydd ym Mynwy; ac yr oedd Mynwy mor hynod am grefydd a dysgeidiaeth yn yr amseroedd rhei'ny, fel ag y dywedid y gallai Cristion gael cymmaint o adeiladaeth i'w enaid wrth fyned yn bererin yno ddwywaith, ag a gai wrth fyned i Rufain unwaith. *Meneviam sibis, et Romam si semel ibis; Merces aequa tibredditur hic et ibi.*

> "Dos i Fynwy ddwywaith ac i Rufain unwaith;
> A'r un elw cryno y gai di yma ac yno."

Ynghylch y pryd hwn gwnaeth Teilo a Phadarn hefyd eu rhanau yn gwasanaethu eu cenhedlaeth. Yn yr oes hon yr ydoedd gan y Brutaniaid dri Archesgob, un yn Llundain, un yng Nghaer Ebrauc, ac un yng Nghaerlleon ar Wysg, yn 'Neheubarth Cymru, heblaw Esgobion, a Gweinidogion. Yr oedd Eglwysydd Cymru dan lywodraeth Archesgob Caerlleon ar Wysg, a rhai Lloegr dan lywodraeth Archesgob Llundain, a rhai yr Alban a'r Gogledd-dir tu hwnt i Humber, dan lywodraeth Archesgob Caer-Ebrauc. Yr oedd hefyd ysgoldai nodedig yn amryw fannau lle'r oeddid yn dwyn philosophyddion i fynu, ac athrawon, a'r College enwediccaf yng Nghymru ydoedd yng Nghaerlleon ar Wysg.

Ond am fod Prydain "yn gwybod ewyllys ei Harglwydd, ac heb ei wneuthur, darperid iddi lawer o ffonnodiau;" ac am ei bod yn dir cyndyn, yn dwyn drain a mïeri yn lle llysiau cymhwys i'r Llafurwr nefol, aeth yn anghymeradwy, ac yn agos i felldith, a llosgiad. Ynghylch y flwyddyn 460 mae'r Rhufeiniaid, y rhai a fuasent yn llywodraethu arni yn hir, yn ei gadael yn weddw. Mae'r Pictiaid a'r Scotiaid fel "bleiddiau'r hwyr," yn rhuthro iddi; ac y mae'r Saeson anghredadwy, pobl o Ogledd-dir Germany, a gyflogasid i'w gwrthsefyll, yn lle cynnorthwywyr yn prifio yn llwyr ddinistrwyr ein cenedl ni; a thrwy dân a chleddyf yn troi'r dinasoedd yn garneddau, a chelaneddau'r dinasyddion yn domenydd; a'r hyn nis gallent ei reibio wrth chwareu'r llewod, ysglyfaethent ef ar ddull llwynogod. Canys wedi i'r Brutaniaid eu curo hwynt yn ddewr, ac wrth gyttundeb ddyfod o'r Pennaethiaid ynghyd yn ddiarfog, i dynu ammodau heddwch, ac i gydwledda a'u Pennaethiaid hwythau, cawsant eu lladd yn dwyllodrus â chyllill hirion, yng ngwastadedd Caer Caradoc.

Hyn o drychineb a roddodd fantais i'r dihirwyr oresgyn llawer o'r Ynys. Ond, trwy ddewrder Emrys Aurelian, a'i frawd Uthr, a'i nai ef y brenhin Arthur, gwelodd Duw yn dda roddi'r maes i'r Brutaniaid, mewn llawer brwydr, ac attal gerwindeb y Saeson, na's gallasent ddifrodi ein hynafiaid i gyd ar unwaith. Canys heblaw Cymru, glynasant yng Nghorllewin a Gogledd

Lloegr amryw flynyddoedd, wedi i'r Saeson breswylio Llundain a dwyrain barthau yr Ynys. Yn yr amseroedd helbulus hyn gosododd rhai law Duw at eu calonnau, ac a ymroddasant i'w wasanaethu Ef, "gydag ofn a dychryn." O'r cyfryw yr oedd Centigernus, yr hwn a sciliodd fonachlog Llanelwy, ynghylch y flwyddyn 560. Ordeiniwyd i'r myneich, y rhai oeddynt naw cant, ymranu fel y delai'r naill dyrfa i mewn i addoli Duw, pan ddarfyddai'r llall; fel na pheidiai addoliad soniarus un amser. Oddiyno efe a aeth i Glasgow yn yr Alban, lle y bu yn hyfforddiant mawr i'r Efengyl; a Gildas Albanus hefyd. A phan aeth Gildas i Glasgow, ynghyd â rhai o'i ddilynwyr i ymweled â Centigernus, cyfarfuant â'u gilydd dan ganu Salmau. Meddai'r naill blaid, "Y saint a ânt o rinwedd i rinwedd; ymddengys pob un ger bron Duw yn Sion," a'r llall, "Canant hefyd am ffyrdd yr Arglwydd, mawr yw gogoniant yr Arglwydd."

Anfonodd Americ, brenhin yr Iwerddon, am Frutaniad duwiol dysgedig, a elwid Gildas, ac a gyfenwir Badon, i adferu trefn eglwysig yn ei deyrnas ef, gan addaw ufuddhau i'w athrawiaeth ef. A phan gymerodd yr athraw ysprydol y gwaith mewn llaw, bendithiodd Duw ei orchwyl ef yn diwygio pethau crefyddol drwy'r Iwerddon oll, lle y llaeiasent lawer er amser Padrig. Mae'r prydydd a ddaroganodd ynghylch y Coronog Faban yn galw hwn yn brophwyd—

"Coronog Faban a gaiff mawr urddas,
Medd yr Hen Brophwyd a elwir Gildas."

Efe a fu fyw yn y to nesaf at y brenhin Arthur, ac a ysgrifenodd Lyfr Lladin sydd etto i'w weled, i fynegi helynt Prydain, ac i argyhoeddi ei wladwyr o'u pechodau, yr hwn a ysgrifenwyd ynghylch y flwyddyn O.C. 564. Ac o herwydd ei fod ef yn hynaf Llyfr o waith Cymro a'r sydd i'w gael yn argraphedig, a mwyaf ei barch, ac yn berthynasol i'm perwyl, wedi ei ysgrifennu at ein hynafiaid ni ynghylch amser eu difrawd, darfu i mi ei dalfyrn a'i gyfieithu o'r Lladin i'r Cymraeg. Ac i'th hyforddi di, Ddarllenydd, i'w ddeall ef yn well, gosodais y pennodau a'r adnodau lle eir yr ysgrythyrau a arfera efe yn aml, er nad oeddynt wedi eu rhanu felly yn ei amser ef.

### LLYFR GILDAS, YNGHYLCH ADFYD PRYDAIN.

Tewais a sôn gyd â mawr ofid calon, fel y mae'r Arglwydd, chwiliwr calonnau yn dyst i mi, dros ddeng mlynedd. Ond gwelwn yn ein hamser ni fel y galarnadodd Jeremiah, "fod y ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan yn weddw, a thywysoges y taleithiau," sef yr Eglwys, "dan deyrnged, a thywyllu yr aur," sef llewyrch Gair Duw. A darllenwn i'r Arglwydd ddywedyd "y teflid plant y deyrnas i'r tywyllwch eithaf, ac y torrid ymaith yr olewydden wyllt a impiasid yn y dda, oddieithr iddi wellhâu," Galar. i. 1; iv. 1; Mat. viii. 12. Gwelwn faint o ddifrawch sydd mewn pobl o'r oes hon, er eu bod yn dra phechadurus a du! Mewn zêl, gan hyny, i Dŷ Dduw a'i Gyfraith, a chwedi fy nghymmell gan weddiau sanctaidd y brodyr, ymosodais i lefaru, fel yr Asyn a ddangosodd i'r Swynwr, fod Angel a'i gleddyf noeth yn ei erbyn ef, er cael ei churo am ei phoen, Rhu. xi. 17; Nu. xxii. 22–32.

Ynys Prydain sydd fel priodas-ferch wedi ei thrwsio â llawer o dlysau. Eithr cyn dyfodiad Crist yn y cnawd, hi a addolodd Fynyddoedd, ac Afonydd peryglus, a phethau cythreulig, (agos cyn amled a rhai'r Aipht) lluniau hyllion, rhai o honynt sydd etto i'w gweled ynghylch Caerau anghyfaneddol. Ond wedi i Grist, y Gwir Haul ddangos ei belydrau, sef ei orchymynion, yn amser Tiberius Cesar, derbyniwyd hwy gan rai eneidiau yn llygoer; a chan eraill yn galonog; ac yn yr erlid yn amser Dioclesian, goleuodd lampau'r Merthyron ynddi; y rhai a safasant yn y maes yn ddewr gydâ Christ yn wrryw ac yn fenyw. Y pryd yr arddunwyd Albanus sanctaidd a gwrthiau rhyfeddol yng ngolwg yr anuwiol, oeddynt yn ei arteithio ef am ei gyffes rasol, Canys trwy weddi wresog agorodd ffordd i fyned trwy frwynen yr afon enwog Thames yn droed-sych, gyd â mil o wŷr, a'r dyfroedd yn sefyll o'u deutu fel ceulennydd mawrion! Oni throdd yr arteithiwr o flaidd yn oen, i sychedu am fuddugoliaeth merthyrdod! Ond wedi'r dymmestl mae'r Cristionogion a golygon siriol yn mwynhau goleuni tawel yr awyr nefol. Adnewyddant yr Eglwysydd a fwriasid i lawr; addolant â chalonau â geneuau pur, a gorfoleddant. A pharhaodd cyssondeb hyfryd ym mysg aelodau Crist nes i hocced Arius ac eraill, fel nadroedd, chwythu gwenwyn marwol amryw Heresiau o'r tu hwnt i'r mor i'n gwlad ni, yr hon oedd chwannog i glywed rhyw newydd beth. O'r diwedd, gan fod yr Ynys yn dwyn enw y Rhufeiniaid, y rhai a'i goresgynasant hi er ys talm o flynyddoedd, ond nid yn arfer eu moddion hwynt, eithr yn bwrw allan egin chwerw, anfonodd ei gwyr ieuaingc yn lluoedd i ganlyn Maximus y gormesdeyrn i Ffraingc, y rhai ni ddychwelasant adref mwy. Ar ol hyn, y mae Prydain, wedi colli ei milwyr a'i rheolwyr, yn tuchan dan orthrymder dwy genedl tramor greulon; sef y Pictiaid, a'r Scotiaid, dros lawer o flynyddoedd, ac yn cael cymmorth yn eu herbyn o Rufain ddwy waith. Wedi dychwelyd o'r Rhufeiniaid adref, (y rhai

# DESCRIPTIVE ATLAS OF THE WORLD
## AND GENERAL GEOGRAPHY.

COMPRISING

ABOVE ONE HUNDRED CAREFULLY EXECUTED MAPS; A DETAILED DESCRIPTION OF THE WORLD, PROFUSELY ILLUSTRATED; AND A COPIOUS INDEX OF PLACES.

PREPARED UNDER THE SUPERVISION OF

W. G. BLACKIE, Ph.D., LL.D.,

Fellow of the Royal Geographical Societies, London and Edinburgh.

*To be completed in 12 divisions at 5s. each, forming a handsome volume, 16 inches × 12 inches.*

The Atlas will consist of sixty-four sheets of Maps, comprising seventy-five numbered maps and above thirty inset maps, making in all above One Hundred Maps beautifully printed in colours, prepared from the most recent and most authoritative materials available.

While the older countries of the world will all be fully shown, special prominence will be given to Great Britain and its world-wide possessions, and also to the regions recently opened up by the enterprise of adventurous travellers.

Two of the maps are worthy of special notice. The Commercial Chart of the World, showing existing and available fields of commerce; and The British Empire at one view, showing all the possessions at home and abroad, drawn to one scale, and thereby enabling their relative size to be clearly appreciated.

The General Geography which accompanies the maps forms a very important section ot the work. It supplies information geographical, historical, statistical, commercial, and descriptive, of the countries and regions of the world, and has been prepared from recent and authoritative sources. Its pages are enriched by a series of Pictorial Illustrations, consisting of striking views of natural scenery, remarkable edifices, town and river scenes, and picturesque groups of natives, and of animal life.

As a useful adjunct both to the Maps and the General Geography there will be given a Pronouncing Vocabulary of Geographical Names. In addition to this, an Extensive Index of Places will form a very useful section of the work.

---

To be completed in 14 parts, super-royal 8vo, at 2*s.* each; or in 4 divisions, stiff paper cover, at 7*s.* each, forming one handsome volume; or in 4 divisions, cloth, at 9*s.* each.

# The Household Physician:

A Family Guide to the Preservation of Health and to the Domestic Treatment of Ailments and Disease. By J. M'Gregor-Robertson, m.b., c.m. (Hon.). With an Introduction by Professor M'Kendrick, m.d., ll.d., f.r.s., Glasgow University. Illustrated by about 400 figures in the text, and a series of 19 Engraved Plates, many of them printed in colours.

This work is written in the simplest possible language, and includes full information on the conditions of health, and on the ordinary means, as regards food, clothing, exercise, &c., by which health may be maintained in the infant as well as in the full-grown person.

The book treats of the human body in health, and the various changes produced by disease. On Hygiene, or the conditions of health as regards food, drink, clothing, exercise, &c., and the rules to be observed for the promotion of health, both of individuals and communities. An explanation of the nature and mode of action of drugs and other remedial agents. On methods of dealing with Accidents and Emergencies, and on various ailments requiring surgical treatment. Also a chapter on Sick-nursing, and an Appendix containing recipes for Invalid Cookery and medical Prescriptions.

---

In 15 parts, super-royal 8vo, 2*s.* each; or 4 vols., cloth elegant, burnished edges, 9*s.* 6*d.* each.

*NEW EDITION, Continued to 1890.*

# Gladstone and His Contemporaries:

Sixty Years of Social and Political Progress. By Thomas Archer, f.r.h.s., Author of "Pictures and Royal Portraits," &c. Illustrated by a series of 34 authentic and beautifully executed Portraits.

"*This work is not so much a biography of Mr. Gladstone as a political History of England during his lifetime. It is a book which has evidently been compiled with no ordinary pains and care, and with a praiseworthy desire to be impartial.*"—Daily News.

"*It is probably true that the biographical form of history is the best in dealing with times within the memory of men yet living. The life of a man, prominent in affairs during a particular period, may be taken as a central point round which matters of more general history group themselves.*"—Standard.

